# CANWYLL Y CYMRY

Ficer Pritchard

Argraffiad y Bobl
(Cyflawn)

Pris Haner-Coron






Y

# Seren Foreu

NEU

# GANWYLL Y CYMRY;

SEF

## Gwaith Prydyddol

Y

PARCH. RHYS PRICHARD, M.A.,

GYNT FICER LLANYMDDYFRI;

YNGHYD A

NODIADAU EGLURHAOL, A BYWGRAPHIAD YR AWDWR.

GAN Y DIWEDDAR

BARCH. RICE REES, B.D.

O GOLEG DEWI SANT, LLANBEDR, AC AELOD O GYMDEITHAS GOLEG YR IESU, RHYDYCHEN.

---

TRYDYDD ARGRAPHIAD.

---

WREXHAM:

HUGHES AND SON, 56, HOPE STREET.

LLUNDAIN: SIMPKIN MARSHALL AND CO.

AR WERTH HEFYD

GAN HOLL LYFRWERTHWYR Y DYWYSOGAETH.

I'R

# Cymry,

YM MHOB PARTH O'R BYD,

Y CYFLWYNIR

**Yr Argraphiad hwn**

O WAITH Y DIWEDDAR

BARCHEDIG RHYS PRICHARD, M.A.

GYNT FICER LLANYMDDYFRI.

GAN

Mawrth 1, 1867. Y CYHOEDDWR.

# HILIOGAETH FICER PRICHARD.

Y Parchedig Rhys Prichard, Ficer Llanymddyfri, a briododd Gwenllian, yr hon a fu byw ar ol ei farwolaeth ef yn 1614. Yr oedd ganddo y pryd hynny dri brawd, Morris, William, a Richard; a nai, Samuel William. Ei unig fab oedd

Y Parchedig Samuel Prichard, yr hwn a briododd Frances, merch Mr. Hardinge, o Rhydychain. Bu farw o flaen ei dad, a gadawodd ddau o blant,

Rice Prichard, Uchelwr, o Stroudwater, Sir Gaerloew. Bu farw yn 1643 neu 1644, yn weddw.

Elizabeth, gwraig Thomas Mainwaring, Ysw. mab Roger Mainwaring, Esgob Tŷ-Ddewi.

Roger Mainwaring, Ysw., o Lanymddyfri, a briododd Anne, merch George Gwynne, Ysw., o Lwynhowel, yn Llandingad. Ei mham oedd Sybil, merch Rhydderch Gwynne, Ysw., o Lanbrân, a'i mham hithau oedd Mary, merch Syr Thomas Johnes, Marchog, o Abermarlais. Ei ddwy ferch oeddynt

Sybil, gwraig Syr Humphrey Howarth, Marchog, Aelod Seneddol dros Sir Faesyfed; mab i Edward Howarth o Gabalfa, Ysw., gwraig yr hwn oedd merch Charles Lloyd, Ysw., yr hwn a briododd Miss Vaughan, Etifeddes Maesllwch, yn y sir uchod.

Mary Mainwaring, Bu farw yn weddw.

Anne, gwraig y Parch. Chamberlain Davies, Priodwyd yn Llanfair-ar-y-bryn, Mehefin 29, 1743.

Sarah Howarth, Bu farw yn weddw.

Susan, gwraig yr Anrhydeddus James Howe, o Lantowy, pummed mab Arglwydd Chedworth, a brawd gwraig Roderic Gwynne, o Lanbrân. Bu farw yn ddi-blant.

Edward Mainwaring Davies Howarth, priododd Mary, merch Mathew Griffiths, o Lwynybrain, yn 1770.

Chamberlain Davies.

Anne Davies, Bu farw yn weddw.

Merch arall. Enw yn anhyspys.

Maria Howarth, Bu farw yn weddw.

Caroline, gwraig Offeiriad yn Lloegr.

Matthew Mainwaring Hughes Howarth, Bu farw yn 182— yn weddw.

# RHAGYMADRODD.

---

Y MAE agos i ddau can' mlynedd o ddarlleniad cysson a chyffredinol ar "LYFR y FICER," wedi gwneuthur ei gynnwysiad mor adnabyddus, ac wedi sefydlu ei glod i'r fath raddau, fel nad oes achos yn awr i ddywedyd dim mewn ffordd o gymmeradwyaeth a chanmoliaeth iddo; gan hynny ni wneir yma ond crybwyll yn fyr am y gwahaniaeth a wnaed rhwng yr argraphiad presennol a'r rhai blaenorol.

Argraphwyd y Llyfr hwn gyntaf, yn bedair Rhan, yn Llundain, dan olygiad y Parch. Stephen Hughes, yn y flwyddyn 1672; ond achwyna fod yr ysgrif a gafodd efe o'r caniadau yn dra ammherffaith, ac iddo fethu cael gafael yn llyfr penaf yr Awdwr, yr hwn a gollwyd yn sir Frycheiniog, yn amser y rhyfel rhwng Oliver Cromwell a'r Brenhin Charles y Cyntaf; er hynny, hwnnw yw y goreu a'r cywiraf o'r holl argraphiadau boreuol; oblegid, yn argraphiadau yr Amwythig, nid yn unig ychwanegwyd llawer o ganau nad ydynt o gyfansoddiad y Ficer, ond hefyd goddefwyd i feiau aneirif ymlusgo i'r gwaith; etto, yn ol cynllun yr Amwythig y mae yr argraphiadau diweddaraf wedi eu dwyn allan.

Yn y flwyddyn 1770, cyhoeddwyd argraphiad newydd o'r Llyfr hwn yn Llanymddyfri, gan Rhys Tomas, yr hwn a ddywed ei fod wedi cael y llyfr colledig y sonia Mr. Hughes am dano, gan gyfaill yn Aberhonddu. O herwydd bod hwn yn gyflawnach nag un o'r lleill, defnyddiwyd ef fel cynllun o'r argraphiad presennol; ond bu-

wyd yn dra gofalus i ddiwygio y gwallau lliosog a adawodd efe, yn enwedig yn y cyfeiriadau yn ymyl y dail. Gwnaed hefyd ychydig o gyfnewidiad yn llythyraeth y geiriau, i'w dwyn yn nes at y dull presennol o ysgrifenu. At y caniadau a gynnwysir yn Llyfr Rhys Tomas, ychwanegwyd y rhai a gasglwyd gan y Parch. Griffith Jones, o Landdowror, ac a argraphwyd yn Llundain yn y flwyddyn 1758; felly, y mae hwn yn gyflawnach o waith y Ficer nag un llyfr a gyhoeddwyd o'r blaen. Yn y Nodiadau, ymdrechwyd egluro pob peth a ymddangosai yn y gradd lleiaf yn dywyll, yn gystal geiriau a phyngciau, er gwneuthur gwir feddwl yr Awdwr yn hollol ddealladwy, ac ychwanegwyd pob amrywiaeth o bwys mewn argraphiadau eraill, yn gystal ag mewn hen lyfr, yn cynnwys llawer o ganau y Ficer, a ysgrifenwyd yn ei oes ef ei hun; ac hefyd, rhoddwyd yma hanes helaethach o fywyd ac amgylchiadau Mr. Prichard nag a gyhoeddwyd erioed o'r blaen, ynghyd â darlun y tŷ y bu yn preswylio ynddo.

Hyderir y rhydd yr argraphiad hwn o'r gwaith foddlonrwydd cyffredinol i'r Cymry; ac ar iddo fod yn fuddiol ac adeiladol i'r oes hon a'r rhai dyfodol, fel y bu i oesoedd a aethant heibio, yw dymuniad gwresog a gweddi daer

Y CYHOEDDWR.

# RHAGYMADRODD

I'R TRYDYDD ARGRAPHIAD.

---

WRTH ddyfod a'r argraphiad hwn o GANWYLL Y CYMRY allan o'r wasg, nid oes gennyf nemmawr i ychwanegu at y Rhagymadrodd yn yr argraphiad cyntaf a gyhoeddais yn y flwyddyn 1841. Dechreuwyd dwyn yr argraphiad hwnw allan o'r wasg, dan olygiaeth fy mrawd, y diweddar Barchedig Rice Rees; ond, cyn iddo orphen y Gwaith, terfynodd angau disyfyd ei yrfa ef, ym mlodau ei ddyddiau, fel y gwelir yn nhu dalen 60. Ar ol ei farwolaeth, cwblhawyd y Llyfr dan olygiaeth y diweddar Mr. W. Saunders, o Lanymddyfri.

Casglodd fy mrawd, yn ysbaid llawer o flynyddau, gymmaint a allasai o hanes yr Hen Ficer, ym mha orchwyl cefais yr hyfrydwch o'i gynnorthwyo; ac ar ol ei farwolaeth gwnaethum ddefnydd o'r hyn a gasglwyd, ac ysgrifenais "Hanes Bywyd y Parch. Rhys Prichard," yr hwn a ymddangosodd yn yr argraphiad uchod. Dichon fod ynddo lawer o amherffeithiau, mwy yn ddiau, na phe buasai wedi ei ysgrifenu gan fy mrawd. Yn yr ail argraphiad ychwanegais amryw o Nodiadau eglurhaol a hanesol, rhai o honynt sydd yn awr wedi eu gosod yng nghorph yr Hanes.

Gwelir yn yr argraphiad presennol, hanes helaeth ynghylch y chwedl am argyhoeddiad y Ficer oddiwrth feddwdod trwy offeryngarwch Bwch Gafr, ac yr wyf yn hyderu fod y profion a roddir yn ddigon cryf i symmud ymaith y gwaradwydd a osodwyd ar gefn y Ficer gan Rhys Tomas, Argraphydd, i'r diben o greu rhyw deimlad, trwy roddi ffaith newydd a chyffrös yn ei Hanes. Mae fy niolchgarwch yn ddyledus i Thomas Watts, Ysw, o'r "British Museum," Llundain, am alw fy sylw at y chwedl hon, a dangos bod ei tharddiad cyntefig yn agos i gan' mlynedd cyn amser y Ficer.

Gwelir hefyd yn yr argraphiad hwn amryw Nodiadau newyddion a gwelliadau yn yr Hanes, ynghyd a Thaflen o Hiliogaeth y Ficer, a gesglais o hen ysgrifau a chof-

restrau; ac yr wyf yn dymuno talu diolch gwresog i'r Parchedig W. Basil Jones, A.C., awdwr "Hanes Tŷ-Ddewi," am ei hynawsedd a'i garedigrwydd, pan yn chwilio drwy yr hen gofrestau yn Eglwys Gadeiriol Tŷ-Ddewi, am weithrediadau yr Hen Ficer, yn yr ystod y bu efe yn Ganghellwr yr Eglwys honno.

Yr wyf yn cydnabod fy rhwymau diolchgar i'r Parchedig J. R. Kilsby Jones, am ei Ddarlithiau hyawdl a doniol ar "Ficer Prichard a'i Amserau." Y maent gwedi symmud ymaith lawer o ragfarn yn erbyn "Llyfr y Ficer," fel y mae derbyniad groesawus yn awr iddo yn nhai Ymneillduwyr yn gystal a chan Eglwyswyr, yr hyn nid oedd bum' mlynedd ar hugain yn ol. Ganed Mr. Kilsby Jones yn un o blwyfau yr Hen Ficer, ac ni allasai gyflawni gwell gorchwyl na galw sylw yr oes presennol at werthfawrogrwydd "Canwyll y Cymry." Diolchaf hefyd yn arbenig i un o frodorion yr un Dref â'r Ficer, y Parchedig Thomas Phillips, D.D., o'r Feibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, am ei ymdrechion dibaid a llwyddiannus, pan yn teithio o flwyddyn i flwyddyn trwy y Dywysogaeth, gan annog y Cymry i feddiannu Llyfr y Ficer, yn gystal a'r Ysgrythyrau Sanctaidd.

Ond y mae fy niolchgarwch yn ddyledus yn y modd mwyaf neillduol i'r hybarch Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol, yn Llundain, a'i changenau Cynnorthwyol yng Nghymru, am y nawdd a roddodd, ac am ei bod yn parhau i gynnorthwyo cylchrediad "Canwyll y Cymry" trwy ei gwerthu i'r aelodau ac eraill am bris mor isel, fel y gall braidd pawb ei gyrhaedd.

Gan obeithio y bydd yr argraphiad presennol yn gwbl mor gymmeradwy trwy y Dywysogaeth a'r rhai blaenorol, ac hyderu y caiff "Llyfr y Ficer" ei ystyried bob amser fel "Hufain yr Ysgrythyrau," ac o ganlyniad y derbynia gymmaint o barch o hyn allan ac oedd iddo gan' mlynedd yn ol, yr wyf yn gosod y "Ganwyll" unwaith etto o flaen y Cymry; a bendithied yr Arglwydd y goleu a belydra oddiwrthi er budd a lleshâd anfarwol i fy nghydwladwyr.

WILLIAM REES.

*Tonn, ger Llanymddyfri, Mawrth* 1, 1867.

# Cynghor i'r Llyfr.

GAN MR. S. HUGHES.

---

Dos, O Lyfyr bach, i Gymru,
I ddatguddio ac i ddysgu
Y ffordd union i baradwys,
Ag sy'n myn'd at Dduw yn gymmwys.

Er bod yno rai'n ei gwybod,
Ac yn rhodio ynddi'n wastod,
Etto mae yno rai, er hyny,
Na cherddasant droedfedd ynddi.

Mae yno rai nad yw'n adnabod
Y gwir Dduw, nac ei lân Hanfod,
Ei fab Crist, na'i Yspryd Sanctaidd,
Trwy ddibriso'i eiriau puraidd.

Mae yno rai sy'n anghydnabyddus
O'u drwg ffyrdd, a'u 'stad anhappus,
Trwy ddirmygu a dibrisio
'R moddion sydd i'w cyfarwyddo.

Mae yno lawer yn annuwiol,
Yn tramwyo'r ffordd uffernol;
Rhai ni thro'nt i'r ffordd fendiged,
Gan fyw'n ffromffol a phengaled.

Rhaid yw 'nabod Tad goleuni,
A'r Mab rhad, ein Harglwydd Iesu;
Credu ynddo, a byw'n rasol,
Cyn yr eir i'r deyrnas nefol.

Dos, gan hynny, a goleua
Y rhai tywyll sydd yng Nghambria,
A chyfeiria eu traed yn gymmwys
I'r ffordd union i baradwys.

*Canwyll Cymry* mae d' hen Feistyr,
Yn dy alw mewn rhyw lyfyr;
Gwna dy swydd ar frys, gan hynny,
Trwy oleuo pawb yng Nghymru.

Llawer plwyf, Och Dduw! sydd yno,
Mewn mawr ddiffyg o'u cyf'rwyddo,
Trwy ddallineb neu 'sgeulusdra
Rhai o'r 'ffeiriaid llawn cybydd-dra.

Can's mae rhai o'r prif offeiriaid
Yno'n ddiofal am eu defaid,
Ac yn gadael idd eu dysgu
Rai na fedrant wneuthur hynny.

Tost yw gweled fath guradiaid
Sydd olygwyr ar y defaid,
Dan bersoniaid mawr cyfoethog,
A ficeriaid uchel, enwog.

Deillion, meddwon, a gwatwarwyr,
Rhai heb 'nabod Duw na'r 'Sgrythyr,
(Heb ddim malais 'r wy'n ei ddweud e',)
Sydd fugeiliaid mewn rhyw fannau.

Nid am y *Cofformiaid* grasol
'R wyf fi'n d'wedyd hyn yn hollol;
Nid am Jerem, nid am Eli,
Ond am Phinees a'i frawd Hophni.

Nid wy'n d'wedyd ond a dd'wedodd
Yr hen Ficer, pan lefarodd,
Gan roi allan a chyhoeddi
Hyn o bennill, yn Llanedi:

"Dodi'r dall ar ben disgwylfa,
Dodi'r dwl i ddysgu tyrfa,
Dodi'r diddysg wrth y llyw,
Yw dodiad dyn, nid dodiad Duw."

Dos, gan hynny, a brysia i Gymru,
A chyflawna'r diffyg dysgu
Y sydd yno mewn rhyw fannau,
Ac nac ofna ddyn yn unlle.

Gwir *Gonfformist* oedd dy Feistyr,
Ac am hynny ni'th 'sgymmunir;
Ni throi'r arnat ti yn haerllug,
Waith dy daclu gan ffanatig.

'R wyt ti'n criö fynu'r gwyliau,
'R wyt ti'n dala ffurf weddïau,
'R wyt ti'n gwawdd rhai i'r eglwysydd,
'R wyt ti'n lwo tadau bedydd.

Temlau a thai Duw yw'r llannoedd,
Medd d' hen Feistyr mewn rhyw leoedd
Ynot ti, Paham, gan hynny,
Mae arnat ofn myn'd i Gymru?

Mae d' ail feistyr yntau 'n dala
Holl athrawiaeth y Gymmanfa
O Eglwys Loegr, gan ei thraethu
Ym mhob tyrfa y dêl iddi.

Mae e'n traethu ei hathrawiaeth,
Er na leica mo'i disgyblaeth;
Ond nid yw'n cyhoeddi hynny,
B'le mae'n arfer o bregethu.

Ymwrola, dos yn ebrwydd,
Na phrydera y cei aflwydd,
Am dy fod yn d'od o ddwylo
Un nad ydyw yn *cofformo.*

Can's mae llawer o'r *Cofformiaid*
Grasol, sanctaidd, hwythau'n tybiaid,
Fel mae eraill, fod d' ail feistyr
Yn ceisio llwyddiant ei gydwladwyr.

Ti ge'st roesaw gynt yng Nghymru,
Ac na thebyg na chei hyny
Etto, gan bob sort o bobol,
Oni byddant balch neu ffromffol.

Hwy ddioddefant dy geryddon,
Hwy a hoffant dy gynghorion,
Hwy'th ddarllenant yn awyddus,
Canys trwyddot 'r wyt ti'n felus.

Er y byddi yn fwy costfawr
Nag y buost, ni bydd nemmawr
O deuluoedd yn holl Gymru
Nas derbyniant di er hyny.

Ni bydd 'ffeiriad, ni bydd meistyr,
Ni bydd plantach, na gwas'naethwyr,
Na bugeiliaid ar fynyddau,
Nas groesawant di yn ddiau.

Fe ddioddefir i ti dd'wedyd
Pethau nis baidd eraill 'nganyd;
A phe 'nganent mewn rhyw fannau,
Hwy gaent gerrig am eu pennau.

Fe all y gwan gael ynot gysur,
Ac ychwaneg gras mewn mesur,
I was'naethu Duw yn ddifrad,
Bob un yn ei briod alwad.

Os dyn grasol fydd i'th ddarllen,
Os rhagorol fydd dy berchen,
Mewn pob dawn a gras ysprydol,
Trwy'th gyfeillach f' â'n fwy duwiol.

Ac os drygddyn fydd ddarllenwr,
Meddwyn marllyd, neu watwarwr,
Er ei bleser fe'th fawrha di,
Dal e'n gyfrwys os y gelli.

Gwna iddo alw ar Dduw, ac adde'
Ei ddrwg gyflwr a'i bechodau,
Credu yng Nghrist ac edifaru;
Nid twyll tynnu dyn at Iesu.

Cadw'th fâch mewn gafael ynddo,
N'âd ef fyned a thramwyo
At ei hen gyfeillion ofer,
I fyw'n atgas yn ddibryder.

Ond ymhwedd arno gofio,
Mai gwell ofni Duw nâ'i ddigio;
Can's fe geidw'r rhai a'i hofnant,
Ac fe ddamnia'r rhai 'dirmygant.

Dos, gan hynny, fe'th dderbynir
Gan bob sort, ac fe'th gymmerir
I bob dwylaw yn dra hyfryd,
Fe'th fawrheir di'n anwyl hefyd.

A thra 'Nghymru ddim Crist'nogaeth,
Fe gymmerir dy gwmpeiniaeth;
Fe'th ddarllenir, ac fe gyfyd
Rhai a'th brintiant pan fo anghenyd.

Gan dy fod mewn sut gymmeriad,
Bydd yn fwyn, a dangos gariad,
Yn ddiragrith ym mhob teulu,
A dod allan dy oleuni.

Gwna hwy wybod a chyffesu,
Fod pob pechod brwnt yn haeddu
Melldith Duw, a'r tân uffernol,
Ym mysg diaflaid yn drag'wyddol.

Ac nad oes un ffordd i gadw
Unrhyw ddyn rhag myn'd i ddistryw,
Ond yn unig trwy Grist Iesu,
Ddaeth o'r nef i'r ddae'r i'n prynu.

Ac na cheidw Crist un Cristion,
Ond a gredo ynddo'n ffyddlon,
Gan droi ymaith eu pechodau,
A byw'n ol ei sanctaidd ddeddfau.

Dysg hwy wylied eu meddyliau,
Dysg hwy 'styried eu holl eiriau,
Ac i edrych beth a wnelont,
Pa le bynnag ag y byddont.

Gwna hwy gofio gorfydd cyfri'
Ger bron Crist, ar ddydd eu didri,
Am eu cas a'u drwg weithredoedd,
A'u drwg eiriau ym mhob lleoedd.

Ac nad â drwg feddwl heibio,
Heb ei ddannod, heb ei gofio,
Gan y Barnwr mawr, Crist Iesu,
Os o'r byd eir cyn 'difaru.

Dysg hwy 'ddoli Duw'n eu teiau,
A chyfiawni'u dyledswyddau
Idd eu gilydd yn Grist'nogaidd,
Yn dra diwyd ac yn weddaidd.

Fel y tynnaist gynt i ddarllain
Lawer un yn ddigon cywrain,
Er mwyn Crist gwna hynny etto;
Da fydd hynny i bob Cymro.

Tynn bob rhai at y 'Sgrythyrau,
Dangos iddynt y rhesymmau
Rows dy Feistyr yn dy ddechreu
P'am rhaid darllen y 'Sgrythyrau.

Dysg hwy dreulio'r Sabboth sanctaidd
Yn Grist'nogol ac yn weddaidd,
Gan addoli Duw'n gyhoeddus,
Ac yn ddirgel, fel mae'n weddus.

Hel hwy o'r pebyll, n'âd hwy botian,
Ar y Sabboth, nac i loitran;
D'wed i'th Feistyr feio hynny
Lawer gwaith, yn enw'r Iesu.

Gwna hwy wrando'r gair â gofal,
Gwna hwy arfer gweddi'n ddyfal;
Cym'ryd y communion sanctaidd
Yn dra gweddol a Christ'nogaidd.

Gwna i bob rhai fynych gofio,
Rhaid myn'd ymaith, a rhaid pacio
Bawb oddiyma, can's rhaid marw,
A derbyn barn gan Grist yn hoyw.

Pâr i'nt wybod fod dedwyddwch,
I'r rhai sanctaidd, a rhialtwch
Yn y nef, a bod tost benyd
I'r rhai drwg yn uffern danllyd.

Dysg nad oes, ar ol marwolaeth,
Yn y pwll ddim taledigaeth
Am bechodau ac am fryntì,
Can's dros fyth rhaid yno boeni.

Pâr i'r Cymry fynych gofio,
Mai peth tost yw gorfod trigo
Blwyddyn gyfan mewn tywyllwch
A chadwynau, heb ddiddanwch.

Och! faint dostach a fydd trigo
Fyth yn uffern i boenydio,
Dan law Satan mewn cadwynau,
Am ddibrisio Duw a'i ddeddfau.

Pan y doech i dre' Llan'ddyfri,
Ac i Lanfair, a Llanedi,
'Mofyn yno pwy sydd rasol,
Pwy sydd ffyddlon a 'difeiriol.

Ond cael cwrdd, trwy fawr ymofyn,
A'r rhai sanctaidd sydd yn tarin
Yn y dref a'r plwyfau hynny,
Dywed heddwch wrth y rhei'ny.

Ac yn enw'th Feistr traetha
Lid a bâr y Duw Goruchaf'
I'r troseddwyr ni 'difarant,
Ar anffyddlon ac ni chredant.

Dywed wrthynt, i'r hen Ficer
Wylo'n dost â chalon dyner,
Am eu brynti, a'u rhybuddio
' Wella eu buchedd, a repento.

Dywed iddo ddysgu o'r 'Sgrythyr
Ffordd yr Arglwydd mawr yn eglur
Iddynt hwy, a'u bod er hynny
Fyth yn byw mewn ffiaidd frynti.

D'wed y bydd y dydd diwedda'
Lai o gosp i dre' Gomorra,
Nag a fydd i dre' Llan'ddyfri,
Ac i Lanfair a Llanedi.

Crist a ddangos yn blain ddigon,
Am y rhai sydd dan y moddion,
Y daw arnynt fwy o'r 'storom
Nag a ddaeth o'r nef ar Sodom.

Can's y sawl sy'n pechu'n rhugyl,
Dan bregethiad o'r efengyl,
Sy'n pentyrru eu hanwiredd,
Am droi'u cefnau ar drugaredd.

D'wed na cha's yn nyddiau'r Ficer
Nemmawr iawn yng Nghymru'r hanner
O'r athrawiaeth a'r cynghorion
Gawsant hwy yn eglur ddigon.

D'wed fod Duw yn gofyn llawer,
Ym mhob gwlad, ac ym mhob cwarter,
Lle mae'n rasol yn rhoi amledd
O'i efengyl mewn trugaredd.

A pha fwyaf y ddeallir
O wir 'wyllys Duw o'r 'Sgrythyr,
Mwy o lawer cawn ein curo
Am roi achos i Dduw ddigio.

Gwawdd, gan hynny, hen ac ifangc,
(Os hwynt-hwy a fynnant ddiangc
Llid a bâr yr Arglwydd nefol,)
I fyw'n sanctaidd ac yn dduwiol.

Cofia'r ifangc y dielir
Ar y plant, sydd ddrwg weithredwyr,
Anwireddau'r tadau'n gynghan,
Gyd â'u hanwireddau'u hunain.

Can's o rodio'n ffyrdd eu tadau,
Maent hwy'n dwcud i maes yn oleu,
Eu cydsent yn eu drygioni;
Duw fydd cyfiawn yn eu cospi.

Gwna hwy ddarllen y trwm achwyn
Wnaeth dy Feistyr yn eu herbyn;
Er mwyn Crist bydd yn dra eiriol
Ar i'nt fod yn edifeiriol.

Yn ol traethu hyn ym mhlwyfau
Yr hen Ficer, brysia, dere,
Gwna'r un neges dros d' ail Feistyr,
Ym mhlwyf Meidrim ac ym Merthyr.

D'wed wrth bawb ag sydd yn tarin
Ym mhob plwyf yn sir Gaerfyrddin,
Ac wrth bawb o bobol Cymru,
Y gair a glywsant gaiff eu barnu.

Pan y doech i dai'r bon'ddigion,
Pâr i'nt newid eu harferion,
Gadael balchder, trawsedd, medd'dod,
A gochelyd digio'r Drindod.

D'wed yn blain, pan do'nt i'w barnu
At y barr o flaen Crist Iesu,
Na bydd gwa'n rhwng prins a deiliaid,
Rhwng cyfoethog a begeriaid.

Ac y dylent, herwydd hynny,
Lwyr ymadael â'u holl frynti;
Credu yng Nghrist, a bod 'n edifar,
Cyn ei myn'd hi'n rhy ddiweddar.

Gwna hwy feddwl am eu 'neidiau
Fwy nag am eu cas bleserau,
Fwy nag am eu dâ a'u rhenti,
Eu ffryns, cen'l, a'u holl wegi.

Pan y doech i ddwylo'r ifangc,
Gwna hwy gofio'r bywyd didrangc;
Deisyf arnynt adael heibio
Eu hynfydrwydd, a repento.

Dangos iddynt nad yw pleser
Y byd hwn ond rhywbeth ofer,
Ac y gorfydd ryw ddydd atteb
O flaen Duw am bob ffolineb.

Ni chyflawna pleser bydol
Chwant yr enaid sydd anfarwol;
Nid oes dim all wneuthur hynny,
Ond nawdd Duw trwy waed yr Iesu.

Oh! ymhwedd arnynt adael
Chwant y byd, y cnawd, a'r cythraul,
Ac ymroi, tra gelwir heddy',
I was'naethu'r Arglwydd Iesu.

Can's ni wyddant y cânt amser
I ymadael â diffeithder;
Can's mae'n arfer d'od i'r farchnad
Groen yr oen, fel croen y ddafad.

Dangos iddynt pa fath Feistyr
Yw Crist Iesu i'w was'naethwyr,
Yn rhoi iddynt hedd a bywyd,
Teyrnas nef, a choron hyfryd.

Gwna hwy'n fynych ddyfal gofio,
Nad yw'r cythraul ond eu hudo;
Ac nad oes ond yr aflwyddiant
I'r rhai hynny a'i gwas'naethant.

Can's os byddant heb eu cospi
Gan Dduw yma am ddrygioni,
Cânt ryw bryd, mewn tân uffernol,
Gosp ofnadwy yn drag'wyddol.

Ffarwel, deisyf ar bob Cristion,
Nas derbyniont ond a welon'
Ynot yn gyttun â'r 'Sgrythyr,
Felly plesi dy ddau Feistyr.

Ond cyn myned, un gair gwrando,
Pâr i'th brynwr ddyfal gofio,
Pan dy brynwyd gynt yn rhannau,
Trwy roi'th fenthyg est yn llarpiau.

A thrwy'th osod ar ffenestri,
Tyllau gwlybion, ac ar seldi
Ust, llawn llwydi, est yn ufflon,
Na wnant beth yn awr mor ffinion.

Ond pâr iddynt, herwydd hynny,
'Th gadw'n sych, a'th ymgeleddu,
Fel y byddech hir o amser
Dra gwas'naethgar ym mhob cwarter.

*Llundain*, 1672. STEPHEN HUGHES.

# Llythyr yr Awdwr

AT RYW ARGLWYDD, I'R HWN YR OEDD YN EI FRYD EF GYSSEGRU EI LYFR.

1.

ARGLWYDD uchel, na ryfedda
Wel'd Eglwyswr tlawd i'th goffa,
Ac yn mentro,[A] Urddas[B] Cymry,
A'r fath Lyfran dy anrhegu.

2.

Dy zel[C] at Eglwys Crist a'i hurddas,
Dy was'naeth da i'th Brins[D] a'th deyrnas,
Dy serch a'th garc[E] at gene'l Cymry,
Y bair i bawb dy anrhydeddu.

3.

Ym mhlith miloedd a'th anrhegant
A thalentau mawr eu moliant.
Arglwydd da, cennada finnau
Dy gydnabod â'm dimmeiau.

4.

Cym'rodd Arglwydd yr arglwyddi
Rôdd y weddw dlawd, heb siommi,
Er na thalai'r rôdd ond dimmai,
Am roi'r cwbwl ag a feddai.[F]

5.

Cymmer dithau, Arglwydd serchog,
Rôdd o'r fath gan ŵr dyledog,[G]
Sy'n 'wyllysgar i'th anrhegu
A rhôdd well, pe bai'n ei meddu.

6.

Haeddaist well, Ddiddanwch Cymry,
Cawsit well pe b'asai genny';
Pwysa'r rhôdd yn ol yr 'wyllys,
Hi gydbwysa roddion Prinsys.

# Llythyr arall,

AT Y DARLLENYDD, FEL Y MAE YN DEBYGOL.

1.

GOGONIANT Duw, a lles Brutaniaid,
Canlyniaeth[A] ffryns,[B] a gwaedd y gwein-
Y wnaeth printio[C] hyn o Lyfran.[D] [iaid,
A'i roi rhyngoch, Gymry mwynlan.

2.

Abergofi[E] pur bregethiad,
Dyfal gofio ofer ganiad,
A wnaeth im' droi hyn o wersau,
I chwi'r Cymry, yn ganiadau.

3.

Am wel'd dwfn-waith enwog Salisbury,[F]
Gan y diddysg heb ei hoffi,
Cym'rais fesur byrr cyn blaened,[G]
Hawdd i'w ddeall, hawdd i'w 'styried.

4.

Gelwais hon yn Ganwyll Cymro,
Am im' chwennych brudd[H] oleuo
Pawb o'r Cymry diddysg, deillion,
I was'naethu Duw yn ffyddlon.

5.

Er mwyn helpu[I] 'r annysgedig,
Sydd heb ddeall ond ychydig,
Y cynnullais hyn mor gysson:
Mae gan eraill well athrawon.

6.

Duw oleuo bawb o'r Cymry,
I'w wir 'nabod a'i was'naethu;
Duw a wnel i hyn o Ganwyll
Roi i'r dall oleuni didwyll.

[A] *Venture* anturio. [B] Anrhydedd. [C] *Zeal*, gwresogrwydd yspryd. [D] *Prince*, tywysog. [E] *Care*, gofal. [F] Marc 12. 41–44. [G] Sydd mewn dyled.

[A] Erfyniad deisyfiad. [B] *Friends*, cyfeillion. [C] *Print*, argraphu. [D] Llyfr bychan. [E] Anghoflo. [F] Y cyfansoddiad o'r Salmau ar y mesurau caethion gan William Middleton, a argraphwyd, wedi ei farwolaeth ef, ar draul Thomas Salisbury. [G] *Plain*, eglur, amlwg. [H] Dwys. [I] *Help*, cynnorthwyo.

Y

# Seren Foreu,

NEU

# GANWYLL Y CYMRY.

---

## I.—ANNERCHIAD I'R BRUTANIAID.

1 Hill Brutus fab Silfus,[A]
Brutaniaid brwd hoenus,
Curedig, cariadus,
Cyd-redwch i'm bron,
I wrando'n 'wyllysgar,
A chalon ufuddgar,
Fy llefain a'm llafar hiraethlon.

2 Mae rhôd y ffurfafen
Yn dirwyn y bellen
O'n heinioes, nes gorphen,
Heb orphwys nos na dydd;[B]
A ninnau heb feddwl,
Nes dirwyn y cwbwl,
Yn cwympo i'r trwbwl[C] tragywydd.

3 Fel llong dan ei hwyliau,
Yn cerdded ei siwrnai,[D]
Tra'r morwyr yn chwareu,
Neu'n chwyrnu ar y nen,
Mae'n heinioes yn pasio,
Bob amser, heb stayo,[E]
Beth bynag a wnelo ei pherchen.

4 Mae'r angau glas yntau,
Yn dilyn ein sodlau,
A'i ddart,[F] ac â'i saethau,
Fel lleidir di-sôn;[G]
Yn barod i'n corddi,[H]
Yn nghanol ein gwegi,
Pan fom ni heb ofni ei ddyrnodion.

5 A'n bywyd fel bwmbwl[I]
Ar lynwyn go drwbwl,
Sy'n diffodd cyn meddwl
Ei fod ef yn myn'd;[J]
A ninnau cyn ddŷled
Nad ŷm yn ei weled,
Nes darffo iddo fyned ei helynt.

6 Mae'r byd yntau'r cleirchyn,[K]
Yn glaf ar ei derfyn,
Bob ennyd yn 'rofyn
Rhwyfo i'w fedd;[L]
A'i ben wedi dotio,[M]
A'i galon yn ffeintio,[N]
A'i fustyl yn wastio[O] yn rhyfedd.

7 'R ŷm ninnau blant dynion,
Heb arswyd nac ofon,
Yn trusto[P] gormoddion
I'r gŵr marwaidd hen;
Fel morwyr methedig,
A drustant mewn peryg,'
I'r llongau sigedig, nes sodden'.

8 O! nadwch in' drusto
I'r byd sy'n ein twyllo,
Fel iâ pan y torro,
Gricc, dan ein tra'd,
A'n gollwng heb wybod,
I'r farn yn anmharod,
Cyn ini gydnabod ei fwriad:

[A] Cyfeirio y mae yr Awdwr at chwedl a dderbynid yn ei amser ef megis hanes gwirioneddol, fod cenedl y Cymry yn deillio o Gaer Droia; sef, yn yr oes nesaf ar ol dinystr y ddinas honno, i blant ei thrigolion, y rhai oeddynt mewn caethiwed yn nhir Groeg, ymgynnull dan dywysog o'r enw Brutus ab Silfus, neu Silfius, ac wedi ennill eu rhyddid, iddynt fordwyo i ynys yn y gorllewin, yr hon a orchfygasant, gan ladd y cewri ag oeddynt yn ei chyfaneddu; iddynt alw yr ynys yn Brydain, a'u hunain yn Brutaniaid, oddi wrth enw eu tywysog, ac mai eu hiliogaeth hwy yw y Cymry, y rhai a elwid felly ar ol Camber, un o feibion Brutus; ond er y derbyniad a roddwyd gynt i'r adroddiad hwn, nid oes neb braidd yn awr yn ei gredu, a barn dysgedigion yw ei fod yn hollol ddisail.
[B] Job 7. [C] *Trouble*, trallod. [D] *Journey*, taith. Doethineb 5. 10. [E] *Stay*, aros. [F] *Dart*, piccell. [G] 1 Thes. 5. 2. [H] Curo, maeddu. [I] *Bubble*, cloch neu bothellen o ddwfr. [J] Doeth. 5. 13. [K] Hynafgwr methedig. [L] 1 Cor. 7. 13, a 10. 11. 2 Esdras 4. 26. [M] *Doat*, ynfydu, dyrysu. [N] *Faint*, llesgau, llesmeirio. [O] *Waste*, treulio, darfod. [P] *Trust*, ymddiried.

9 Ond moeswch yn garcus[Q]
In' bawb fod yn daclus,[R]
I fyned yn weddus,
Nis gwyddom pa awr,
O flaen y Messias,
Yng ngwisg y briodas,
A thrwsiad cyfaddas i'r neithiawr.[S]

10 A nadwch ein dala,
Pan ddêl yr awr waetha',
Mewn meddwdod, putteindra,
Rhag rhwystro i'r daith,
Heb *oil*[T] yn ein llestri,
Heb gownt[U] o'n talenti,[V]
A'r cwbwl o'n cyfri' yn berffaith.

11 Mae'r fwyall ar wreiddiau
Y crin-goed er's dyddiau,[W]
Mae'r wyntyll yn dechreu
Dychryn yr ûs;
Mae'r angel, â'r crymman,
Yn bygwth y graban,[X]
I'w bwrw i'r boban[Y] embeidus.[Z]

12 Mae'r farn uwch ein pennau,
Mae'r dydd wrth ein drysau,
Mae'r udgorn bob boreu
Yn barod 'roi blo'dd;
Mae'r môr a'r mynwentydd,
Ac uffern yn ufudd,
Roi'r meirw i fynydd[A] a lyngcodd.

13 A'r Barnwr sydd barod,
A'r saint sy'n ei warchod,
A'r dydd sydd ar ddyfod
I ddifa hyn o fyd;[B]
A galw'r holl ddynion
O flaen y Duw cyfion,
I gyfri' am y gawsom o'i olud.

14 'R ŷm ninnau'n ymbesgi
Ar bechod a brynti,
Heb feddwl am gyfri'
Na gorfod ei roi,
Yn wastio[C] 'n talentau
I borthi'n trachwantau,
Doed barn, a'i dialau, pan delo'i.

15 Fel cewri cyn diluw,[D]
Fel Sodom cyn distryw,[E]
Fel Pharaoh, a'r cyfryw,[F]
Eu cyfri' nid gwaeth,
Yr ydym yn pechu
A'n grym ac â'n gallu,
Heb fedru 'difaru, ysywaeth.

16 Ymbesgi ar bechod,
Fel moch ar y callod,[G]
Ymlanw ar ddiod,
Fel ychen ar ddw'r;
Ymdroi mewn putteindra,
Fel perchyll mewn llacca,
Yw'n crefydd, heb goffa cyfyngdwr.

17 Tyngu a rhegu,
A rhwygo cig Iesu,
Ac ymladd am gwnnu
Y gawnen[H] i gyd;
Cyfreithia'n rhy ddiriaid,
Nes myn'd yn fegeriaid,
A gadael y gweiniaid mewn gofid.

18 Mae'r haul, y mae'r lleuad,
Yn gwel'd ein hymddygiad,
Mae'r ddaear yn beichiad[I]
Fod 'n buchedd mor ddrwg,
Mae'r sanctaidd angylion
Yn athrist eu calon,
O weled Crist'nogion yn gynddrwg.

19 Mae'r 'ffeiriad, mae'r ffermwr,
Mae'r hwsmon a'r crefftwr,
Mae'r baili, a'r barnwr,
A'r bonedd o'r bron,
Bob un am y cynta'
Yn digio'r Gorucha',
Heb wybod p'un waetha'u harferion.

20 Mae'r 'ffeiriaid yn loitran,[J]
A'r barnwyr yn bribian,[K]
Mae'r bonedd yn tipplan[L]
O dafarn i dwlc;
Mae'r hwsmon oedd ochdo'
Heb fedru cwmgnïo,
Yn yfed *tobacco* yn ddidwlc.

21 Puteindra'r Sodomiaid,
A meddwdod y Parthiaid,[M]
Lledrad y Cretiaid,[N]
O credwch y gwir,
Ffalstedd gwlad Græcia,[O]
A gwan-grod Samaria,
Sy'n awr yn llettya 'mmhob rhandir.

[Q] Gofalus. [R] Trefnus, trwsiadus. [S] Mat. 25. 7. [T] Olew. [U] *Count*, cyfrif. [V] Mat. 25. 14, 24. [W] Mat. 3. 10. [X] Mat. 13. 30, 39. [Y] Poban, lle i bobi, ffwrn. [Z] Enbydus, peryglus, dychrynllyd. [A] I fyny. Dat. 20. 10–13. [B] Dat. 22. 20. [C] *Waste*, difa, gwastraffu. [D] Gen. 6. 4, 5. [E] Gen. 18. 20. [F] Exod. 8. 32. [G] Cibau. Luc 15. 16. [H] Cael y goren. [I] Brefu, gwaeddi. [J] Segura, ofera. [K] Derbyn gwobrau *(bribes.)* [L] *Tipple*, diotta. [M] Preswylwyr gwlad yn Asia, tu a'r gogledd-ddwyrain i'r Mediaid a'r Persiaid. [N] Trigollon Creta, ynys yn Môr y Canoldir; crybwyllir am dani yn Actau 27, ac am ei thrigollon yn Titus 1. 12. Gelwir hi yn awr Candia. [O] Groeg.

22 Mae'n anfoes im' draethu
Ein campau ni'r Cymry,
Rhag c'wilydd mynegi
'N hymddygiad i'r byd;
Etto, rhaid meddwl
Y traetha Duw'r cwbwl,[P]
Pan ddelo'r dydd trwbwl yw trefnyd.

23 Gwell i ni 'rwan[Q]
Gael clywed eu datgan,[R]
Er peri ni'n fuan
'Difaru tra fom,
Na gweled ein taflu
I'r tywyll garchardy,
O eisiau 'difaru tra fyddom.

24 Gan hynny mi fynnwn
Gael gennych, pe gallwn,
Ymbilio am bardwn
Yr ennyd y boch;[S]
A gwella'n 'wyllysgar,
Cyn eloi'n ddiweddar,
Rhag bod yn edifar pan deloch.

25 Mae'n ofer 'difaru,[T]
A chrïo, a chrynu,
Pan ddeler i'n barnu
Bawb ar y barr;[U]
Ni cheir ond cyfiawnder,
Er cymaint y grïer,
Pan elo hi'n amser diweddar.[V]

26 Meddyliwn, gan hynny,
Cyn delo Crist Iesu
O'r nefoedd i'n barnu,
Bob un wrth ei ben,
Am fod yn edifar,
A deisyf ei ffafar,
Cyn tafler ni i'r carchar anniben.

YR AIL RAN.

1 PAN ddelo Crist Iesu[A]
Mewn grym ac mewn gallu,
O'r nefoedd i'n barnu
Bawb ar ei ben,
Pa wyneb na lasa,
Pa galon na wywa,
Pan gwelo'r gymmanfa'n yr wybren?

2 Fe ddaw yn dra digllon,
A llu o angylion,
I ddial ar ddynion,
Ei ddirmyg mor ddû,
Yn daran echrydus
I'r bobl anrasus,
Sy 'rwan mor frywus yn pechu.[B]

3 Yna, gan gymmaint
Y fydd y digofaint,
Ei weision, a'i geraint,
A garai mor gu,
A'i sanctaidd angylion,
A grynant yn greulon,
Pan ddelo mor ddigllon i farnu.[C]

4 Yr haul a dywylla,
Y lleuad a wrida,
Y nefoedd a gryna,
Bob modfedd yn grych,
Ar stowta'[D] o blant dynion,
Rhag echryd ac ofon,
A grïa'n hiraethlon wrth edrych.

5 Fe dawdd y ffurfafen,
Fe syrthia pob seren,
Fe losga'r holl ddae'ren
Oddiarni yn boeth;
A'r tŷrau a'r cestyll
A gwympant yn gandryll,
A phob rhyw o bebyll a â'n hil-boeth.

6 Y creigydd a holltant,
Y glennydd a doddant,
Y moroedd a sychant
Ar syrthiad y ser,[F]
A pob rhyw fwystfilod,
Ymlusgiaid, a physgod,
A drengant ar waelod y dyfnder.

7 Pa wasgfa, pa wewyr,
Pa gonffordd, pa gysur,
Y fydd gan bechadur
Na chodo ei bîg,
Pan gwelo'r fath drallod[G]
Ar bob peth yn dyfod,
O barthed ei bechod yn unig?[H]

8 Brenhinoedd cadarn-blaid,
Cewri, capteniaid,[I]
Beilchion, a gwilliaid,[J]
Gwycha'r awr hon,
A grïant ar greigydd[K]
Am bwnian eu 'mennydd,
A'u cuddio rhag cerydd Duw cyfion.

[P] Preg. 12. 14. [Q] Yr awrhon. [R] Mat. 25. 42. [S] Esay 55. 6. 2 Cor. 6. 2. [T] Mat. 25. 11, 12. [U] *Bar*, lle carcharor wrth y frawdle. [V] Luc 16. 24, 25.

[A] Mat. 24. 30. [B] Bywiog, egniol. [C] Mat. 24. 29, 30. [D] *Stoutest*, dewraf, cryfaf. [E] 2 Petr 3. 10. Marc 13. 25. [F] Dat. 21. 1. 2 Petr 3. 7, 10. [G] Marc 13. 19. [H] O achos, o herwydd. [I] Dat. 6. 15, 16. [J] Lladron. [K] Esay 2. 10. Hosea 10. 8.

9 Yn hyn o drafel[L]
Fe gân yr Archangel
Ei udgorn[M] mor uchel,
On'd awchus y cri!
Nes clywo'r rhai meirw,
Yn grai ac yn groyw,
Y llef yn eu galw i gyfri'.

10 A'r meirw a godant,
Ar d'rawiad yr amrant,
O'r llwch, lle gorweddant,
Pan glywant y cri,
A'r byw a newidir,
A phawb a gyrhaeddir
I'r wybren,[N] lle bernir eu brynti.

11 Y Barnwr mawr, yntau,
Yn gyflym â'i gleddau,
A'i dafal a'i bwysau,
A bwysa ddrwg a da;[O]
Gan rannu i'r eneidiau,
Wrth gywir fesurau,
Yn gyflawn i'r goreu a'r gwaetha'.[P]

12 Nid edrych e'n llygad
Yr emprwr na'r abad,
Ni phrisia fe drwsiad
Na galwad un gŵr;
Ond rhannu cyfiawnder
I'r brenhin a'r beger,
Heb ofni displeser[Q] na chryfdwr.

13 Fe egyr y llyfrau,
Fe rwyga galonnau,
Fe ddengys eu beiau
Yn amlwg i'r byd;
Fe deifl anwiredd
Pawb yn eu dannedd,
Fe ddial ar gamwedd y gwyn-fyd.

14 Ni ddiangc gair ofer,[R]
Na'r ffyrling a droulier,
Na'r funud a wastier,
Heb ystyr na phwys;
Na gwagedd, na gwegi,
Na beiau, na brynti,
Nes gorfydd eu cyfri' yn gyfrwys.[S]

15 Putteindra'r gwŷr mawrion,
A'r gwragedd bon'ddigion,
Sy'n arfer y gweision
Heb wybod i'r gwŷr,[T]
A'r mawr-ddrwg a'r mwrddrad.
Y ffalstedd, a'r lledrad,
A wneir i bob llygad yn eglur.[U]

16 Pa wyneb iradus!
Pa galon echrydus!
Pa gonffordd gofidus,
(Gwae 'udo'r fath,)[V]
Y fydd y pryd hynny,
Gan bobl sydd heddy'
Mor ffyrnig yn pechu, ysywaeth!

17 Ni ddiangc na llymmaid,
Na thippyn, na thammaid,
Y roddir i'r gweiniaid,
Er mwyn Iesu gwynn,[W]
Heb ymdâl am dano,
A chyfri', a chofio
Y briwsion a ballo y cerlyn.[X]

18 Yna didolir
Y defaid a'r geifyr,
Ac yna y bernir
Pawb wrth y pôl,[Y]
Y defaid i'r deyrnas,
Mewn harddwch ac urddas,
A'r geifyr i'r ffwrnais uffernol.

19 Yna'r â'r cyfion,
Yn llawen eu calon,
Mewn gŷnau tra gwynnion,
Yn union i'r nef,
I dderbyn goresgyn
O'r deyrnas ddiderfyn,
Y roddodd Duw iddyn' yn artref.[Z]

20 A'r geifyr damnedig,
Y bobol ffleinig,
Sy 'rwan yn dirmyg
Y Barnwr a'r dydd,
Y deflir yn g'lymmau,
Mewn cedyrn gadwynau,
I uffern, a'i phoenau tragywydd.[A]

21 Yn uffern y llefan,'
Gan flined eu llosgfan,
Yn ebrwydd, ar Abra'm,
Am ddafan o ddw'r;[B]
Pe llefent hyd ddiffin,[C]
Ni chânt hwy o'r droppyn,
Na thammaid, na thippyn o swccwr.[D]

L *Travail*, trallod. M Mat. 21. 31. 1 Cor. 15. 52. 1 Thes 4. 16. N 1 Thes. 4. 17. O Mat. 25. 33. P "Y cyflawn o'r goreu," yn yr argraphiadau cyffredin. 1 Cor. 6. 10. Q *Displeasure*, anfoddlondeb. Deut. 32. 25. R Mat 12. 36. S Mat. 5. 26. T Gen. 39. 7. U 1 Cor. 4. 5. V Gwae 'fudo'r fath – R. Thomas; "Gwae feddo ar y fath," yn yr argraphiadau cyffredin. Mat. 24. 30. Luc 21. 26. W Mat. 25. 40. X Gŵr caled, cybydd. Luc 16. 21. Y *Poll*, pen. Mat. 25. 32. Z Mat. 25. 46. Mat. 13. 43. A Mat. 13.40—42. B Luc 16. 24, 25. C Tragywyddoldeb. D *Succour*, cymhorth, ymgeledd.

22 Can's yno'n dragywydd,
Mewn carchar a chystudd,
(Heb obaith y derfydd
Eu dirfawr gur,)
Yr erys anwiredd,
Yn rhingcian eu dannedd,
Heb derfyn na diwedd o'u dolur.

23 Ac yno'r awn ninnau,
I estyn ein gweflau,
Am dreulio ein dyddiau
Mewn pechod mor dàl,
O ddiffyg in' wylio,
A dyfal weddïo,
A gwella, cyn delo'r dydd dial.[E]

24 Meddyliwn, gan hynny,
Tra'r amser yn gadu,
Yn brudd edifaru,
Nid yw foru i neb,
A 'madael â'n brynti,
A'n gwagedd, a'n gwegi,
Cyn delom i gyfri' ac atteb.[F]

25 Duw Iesu dewisol,
A brynaist dy bobol,
O'r ffwrnais uffernol,
Oedd ffyrnig ei phwys,
Cadw'n heneidiau
Pan ddelont i'r frawdle,
A dwg hwy i gadeiriau paradwys.

26 Os gofyn Deheubarth,
Na gwynedd o unparth,
Pwy ganodd y dosparth,[G]
I'ch dispwyll rhag ing,
Eglwyswr, sy'n hoffi
Eich dad'raidd o'ch didri,[H]
A'ch cofio am eich cyfri' cyfyng.

## II.—CYNGHOR I WRANDO AC I DDARLLEN GAIR DUW.

1.

O cais gŵr, na gwraig, na bachgen,
Ddysgu'r ffordd i'r nefoedd lawen,
Ceisied Air Duw i'w gyf'rwyddo,[A]
Onidê fe aiff ar ddidro.[B]

2.

Mae'r nef yn mhell, mae'r ffordd yn ddyrys,
Mae'r tramwy'n fach, a rhwystrau anhapus,
Mae'r porth yn gul i fyned trwyddo,[C]
Heb oleu'r Gair[D] nid eir byth atto.

3.

Mae'r nef uwch law yr haul a'r lleuad,
Mae'r ffordd yn ddieithr i ti ddringad,
Rhaid Crist yn ysgol[E] cyn dringhadech,
A'i Air yn ganwyll cyn canfyddech.

4.

Mae llawer craig o rwystrau cnawdol
Mae llawer môr o drallod bydol;
Cyn myn'd i'r nef, rhaid myned drostynt,[F]
Heb oleu'r Gair nid eir byth trwyddynt.

5.

Mae llawer mil o lwybrau ceimion,[G]
O dd'ryswch blin, o ffosydd dyfnion;
Cyn myn'd i'r nef, 'rwy'n d'wedyd wrthyd,
Heb oleu'r Gair, ni elli eu gweglyd.[H]

6.

Di elli fyn'd i uffern danllyd,
Lwyr[I] dy ben, heb un cyf'rwyddyd;
Ni aiff neb i'r nef, gwnaed allo,
Heb y 'Fengyl i'w gyf'rwyddo.

7.

Nid goleu'r haul, nid goleu'r lleuad,[J]
Nid goleu'r dydd, na'r ser sy'n gwingad;
Ond goleu'r Gair, y 'Fengyl hyfryd,
All dy oleuo i dir y bywyd.[K]

8.

Cymmer lantern[L] Duw 'th oleuo,
A'r Efengyl i'th gyf'rwyddo;
Troedio'r llwybr cul[M] orch'mynwys,
Di âi'n uniawn i baradwys.

9.

Y Gair yw'r ganwyll a'th oleua,[N]
Y Gair yw'r gennad a'th gyf'rwydda,
Y Gair a'th arwain i baradwys,
Y Gair a'th ddwg i'r nef yn gymmwys.

10.

Dilyn dithau oleuni'r Gair,
Gwna beth archodd un Mab Mair,[O]
Gochel wneuthur a w'rafunwys,
Di âi'n union i baradwys.

[E] Luc 12. 58, 59. Mat. 13. 42. Psalm 9. 17. [F] Marc 13. 33, 35—37. [G] Athrawiaeth, wedi ei dosparthu yn ddwy ran. [H] Diwreiddio o'ch anhawsderau.

[A] Psalm 19. 7. Ioan 14. 6. [B] Cyfeiliorn. [C] Mat. 7. 14. [D] Psalm 119. 105. [E] Gen. 28. 12. [F] Mat. 16. 24, a 18. 7. [G] Esay 59. 3. [H] Gochelyd. [I] Yng ngwisg. [J] Esay 60 19. [K] Ioan 12. 46. [L] Lluseern, Psalm 119. 105. [M] Mat. 7. 14. [N] Diar. 6. 23. 2 Petr 1. 19. [O] Mat. 13. 55.

11.
Seren wen yn arwain dyn
O fan i fan at Grist ei hun,
Yw'r Efengyl, i gyf'rwyddo
Pawb i'r nefoedd a'i dilyno.

12.
Bwyd[P] i'r enaid, bara'r bywyd,
Gras i'r corph, a maeth i'r yspryd,
Lamp i'r droed, a ffrwyn i'r genau,
Yw Gair Duw, a'r holl 'Sgrythyrau.

13.
Llaeth i fagu'r gwan ysprydol,[Q]
Gwin i lonni'r trist cystuddiol,
Manna i borthi'r gwael newynllyd,
Ydyw'r Gair, a'r 'Fengyl hyfryd.

14.
Eli gwych rhag pob rhyw bechod,[R]
Olew i ddofi gwŷn cydwybod,
Triagl gwerthfawr rhag pob gwenwyn,
Ydyw'r Gair, a balsom addfwyn.

15.
Morthwyl dur i bario'n[S] cnappau,[T]
Bwyall lem i dorri'n ceingciau,
Rheol gymmwys i'n trwsiadu,
Ydyw'r Gair, ac athro i'n dysgu.

16.
Udgorn pres i'n gwysio[U] i'r frawdle,
Cloch i'n gwawdd[V] i we'la'n beiau,
Herawld yn proclaimio'n[W] heddwch,
Ydyw'r Gair, a'n gwir ddiddanwch.

17.
Y Gair yw'r drych sy'n gwir ddinoethi
Ein holl frychau, a'n holl frynti,[X]
Ac yn erchi in' eu gwella,
Tra fo'r dydd a'r goleu'n pará.

18.
Y Gair yw'r hâd sy i'n hadgenhedlu[Y]
Yn blant i Dduw, yn frodyr Iesu,
Yn deulu'r nef, yn deml i'r Yspryd,
Yn wir drigolion tir y bywyd.

19.
Heb y Gair nid wy'n dychymmyg
Pa wedd y bydd un dyn cadwedig;
Lle mae'r Gair yn benna' o'r moddion
Ordeiniodd Crist i gadw'r Cristion.[Z]

20.
Heb y Gair ni ellir 'nabod
Duw,[A] na'i natur, na'i lân hanfod,
Na'i Fab Crist, na'r sanctaidd Yspryd,
Na rhinweddau'r Drindod hyfryd.

21.
Heb y Gair ni ddichon undyn
'Nabod 'wyllys Duw, na'i gallyn,
Na gwir ddysgu'r ffordd i addoli,
Nes i'r Gair roi iddo cleuni.

22.
Heb y 'Sgrythyr ni ddealla
Undyn byth ei gwymp yn Adda,
Na'i drueni, na'i ymwared
Trwy Fab Duw o'r fath gaethiwed.

23.
Heb y Gair ni all neb gredu[B]
Yng Nghrist Iesu fu'n ei brynu;
Can's o wrando'r Gair yn brudd
Y mae i Gristion dderbyn ffydd.

24.
Heb y Gair nid yw Duw'n arfer
Troi un enaid o'i ddiffeithder;
Ond trwy'r Gair mae'n arferedig
Droi eneidiau fo cadwedig.

25.
A'r Gair y trôdd yr Apostolion
Y Cenhedloedd yn Grist'nogion;[C]
Heb y Gair peth dieithr yw
Troi pechadur byth at Dduw.

26.
A phregethiad un Efengyl
Y trôdd Peder gwedi[D] tair-mil
O Iuddewon i wir gredu,
Ar ol iddynt ladd yr Iesu.

27.
Trwy hâd y Gair yr adgenhedla[E]
Yspryd Duw'r pechadur mwya',
Ac a'i gwna yn oreu ei ryw,
Yn frawd i Grist, yn fab i Dduw.

28.
Y Gair sy'n cynnwys ynddo'n helaeth,
Faint sydd raid i iechydwriaeth:
Chwilia[F] hwn, a chais e'n astud,[G]
Ynddo mae'r trag'wyddol fywyd.

29.
Crist sy'n erchi it' lafurio[H]
Am y Gair, â'th draed a'th ddwylo,
Mwy nag am y bwyd a dderfydd,
O chwennychi fyw'n dragywydd.

30.
Fel y llef dyn bach am fronnau,[I]
Fel y cais tir cras gafodau,
Fel y brefa'r hŷdd am ffynnon,
Llef am eiriau'r 'Fengyl dirion.

[P] Jer. 15. 16. Psalm 119. 103. [Q] 1 Petr 2. 2. Psalm 19. 8. [R] Diar. 4. 22. [S] *Parc*, llyfnhau. [T] Jer. 23. 29. [U] Galw. [V] Gwahodd. [W] Cennad yn cyhoeddi. [X] Rhuf. 3. 20. [Y] 1 Petr 1. 23. Iago 1. 18. 1 Cor. 5. 17. [Z] Rhuf. 10. 8, 9–13. [A] "Er bod llyfr y greadigaeth yn gosod allan fawredd, gallu, a doethineb Duw, etto nid yw yn amlygu ei hun yn Iachawdwr pechaduriaid ond yng ngoleuni ei Air. Rhuf. 1. 16."—R. Thomas. [B] Rhuf. 10. 14–17. [C] Actau 7. 8. [D] Ynghylch. Act. 2. 41. [E] Ioan 3. 5. Iago 1. 18. [F] Ioan 5. 39. [G] Dyfal. [H] Ioan 6. 27. [I] Petr 2. 2.

31.
Gwerth dy dir, a gwerth dy ddodrefn,
Gwerth dy grys oddiam dy gefn,
Gwerth y cwbl oll[J] sydd gennyd,
Cyn y be'ch heb Air y bywyd.

32.
Gwell it' fod heb fwyd, heb ddiod,
Heb dŷ, heb dân, heb wely, heb wasgod,[K]
Heb oleu'r dydd a'r haul garuaidd,
Na bod heb y 'Fengyl sanctaidd.

33.
Tost yw aros mewn cornelyn,
Lle na oleuo'r haul trwy'r flwyddyn;
Tostach trigo yn y cwarter,[L]
Lle na oleuo'r Gair un amser.

34.
Na thrig mewn gwlad heb wlaw ar brydiau,
Mewn glŷn heb haul, mewn tŷ heb oleu,
Mewn tre' heb ddw'r, mewn llong heb gwmpas,
Mewn plwyf heb ryw bregethwr addas.[M]

35.
Gado'r wlad, y plwyf, a'r pentre',
Gado'th dad, a'th fam, a'th draseu,
Gado'r tai, a'r tir yn ebrwydd,
Lle na bytho Gair yr Arglwydd.

36.
Gwell it' drigo mewn gogofau,
A chael gwrando'r 'Fengyl weithiau,
Nag it' drigo mewn gwlad ffrwythlon,
Lle na bytho'r 'Fengyl dirion.

37.
Tost yw trigo mewn tywyllwch,
Lle na chaffer dim diddanwch;
Tostach trigo yn rhy hair,[N]
Lle na chaffer gwrando'r Gair.

38.
Nid gwaeth trigo 'mysg y Twrcod,
Sydd heb ofni Duw na'i 'nabod,
Nag it' drigo'n dost dy dreigyl,
Lle na chlywer Crist na'i 'Fengyl.

39.
Tynn i Loeger, tynn i Lundain,
Tynn dros fôr tu hwnt i Rufain,
Tynn i eitha'r byd ar dreigyl,
Nes y caffech gwrdd â'r 'Fengyl.

40.
Blin it' wel'd yr haul a'r gwlaw,
Mewn plwyfau o ddeutu, yma a thraw,
A'th blwyf dithau, (peth ysgymmun),
Heb na haul na gwlaw trwy'r flwyddyn.

41.
Oni bydd un bregeth dduifing[O]
Yn y plwyf lle be'ch yn taring,[P]
Dos i maes i'r plwyf lle y bytho,
N'âd un Sabboth heb ei gwrando.[Q]

42.
Pan fo eisieu ar dy fola,
Ti âi i'r gêll i geisio bara;
Pan fo newyn ar dy enaid,
Nid âi i unlle i geisio ei gyfraid.

43.
Beth y dâl it' borthi'r corphyn,
O bydd d'enaid marw o newyn?[R]
A all dy gorph di gael difyrrwch,
Pan fo d' enaid marw o dristwch?

44.
Drwg it' ladd y corph â newyn,
' Eisieu bara tro fo'r flwyddyn;
Gwaeth o lawer lladd yr yspryd,
' Eisieu ei borthi â bara'r bywyd.

45.
Llef gan hynny ar y 'ffeiriaid,[S]
Am roi bwyd i borthi d' enaid,
'R wyt ti'n rhoi dy ddegwm iddyn',
Pâr i hwythau dorri'th newyn.

46.
Gwrando'r Gair o enau'r 'ffeiriad,
Fel o enau Crist dy Geidwad,
Crist a roes awdurdod iddo,[T]
I'th gynghori a'th rybuddio.

47.
O' pâr Crist i 'ffeiriad noethlyd
Dy rybuddio i wella'th fywyd,
'Rwyt ti'n rhwym i wneuthur ' archo,
Pe doi asen[U] i'th rybuddio.

48.
Pe doi Suddas i bregethu
'Fengyl Crist, ti dd'lid ei dysgu,
Fe all y 'Fengyl gadw d'enaid,
Er i'th athro dost gamsyniaid.

49.
Os dy fugail sydd anweddaidd,
A'i athrawiaeth yn Grist'nogaidd,
Dysg y wers, na ddysg ei arfer,[V]
Gochel feiau Paul a Pheder.

50.
Na wna bris o'i wedd na'i wisgad,
P'un ai gwych ai gwael fo'i ddillad;
Nid llai grym y 'Fengyl gyngan,[W]
O'r siacced ffris,[X] na'r gassog sidan.[Y]

[J] Mat. 13. 44. [K] Cysgod. [L] Ardal. [M] Rhuf. 10. 15. [N] Hir. [O] Lem-dost. [P] Trigo. [Q] Cymmaint oedd anwybodaeth yr oes, fel ag o ddiffyg cael dynion addas i'r gorchwyl, y gosodid plwyfau weithiau dan Offeiriaid na fedrent bregethu; unig waith y cyfryw oedd darllain y gwasanaeth o'r homiliau, yr hyn yn ddiau a wnaent mewn modd na dderbynid nemmawr o adeiladaeth oddi wrtho. Os oedd nos dywyll Pabyddiaeth wedi myned heibio, nid oedd etto ond goleu'r cyfddydd, ac nis gwyddai neb lawer am athrawiaethau'r Efengyl oddi eithr iddo gael dysgeidiaeth y tu hwnt i'r cyffredin. Iago 1. 19. [R] Mat. 16. 26. [S] Mal. 2. 7. [T] Luc 10. 16. [U] 2 Petr 2. 16. [V] Mat. 23. 2, 3. [W] I lefaru. [X] *Frieze*, brethyn garw tew-ban. [Y] *Cassock*, math o wisg Offeiriad.

51.
Cymmer berl o enau llyffan,
Cymmer aur o ddwylo aflan,
Cymmer win o fottel fudur,
Cymmer ddysg o ben pechadur.

52.
Gwrando'r 'Fengyl, Crist yw ei hawd-
Pa fath bynna' fo'r pregethwr, [wr,
Prisia'r Gair, na phrisia'r gennad,
Crist ei hun a'i helodd[Z] attad.

53.
Cadw'r geiriau yn dy galon,
N'âd eu dwyn gan gigfrain duon;[A]
Hâd yw'r Gair i'th adgenhedlu,
Os i'r galon y derbyni.

54.
Dyfal chwilia di'r 'Sgrythyrau,[B]
Darllen Air Duw nos a borau;
Dilyn arch y Gair yn ddeddfol,
Hynny'th wna di'n ddoeth rhagorol.

55.
Cadw'r Gair bob pryd i'th galon,[C]
Ac hyspysa hwn i'th feibion;
Sonia am dano nos a bore,
Y mewn, y maes, wrth rodio ac eiste'.

56.
Dod e'n gadwyn am dy fwnwg',[D]
Dod e'n rhactal y flaen d'olwg,
Dod e'n signet[E] ar dy fysedd,
Na ddos hebddo led y droedfedd.

57.
Gwna'r Gair beunydd yn gydymaith,[F]
Gwna'n gyd-wely it' bob noswaith,
Gwna e'n gyfaill wrth siwrneia,[G]
Gwna'r peth archo wrth chwedleua.

58.
Gwna fe'n ben cynghorwr iti,[H]
Gwna fe'n athro i'th reoli;
Fe rŷ'r Gair it' gan' gwell cynghor
Nag a rodda un rhyw ddoctor.[I]

59.
N'âd e'i[J] drigo yn yr Eglwys
Gyd â'r 'ffeiriad 'r hwn a'i traethwys,
Dwg ef adref yn dy galon,
Ail fynega rhwng dy ddynion.[K]

60.
Gwna di'r Gair yn ddysglaid benna',[L]
Ar dy fwrdd tra fe'ch yn bwytta;
Gwedi bwytta, cyn cyfodi,
Boed y Gair yn juncats[M] iti.

61.
Rho i'th enaid, nos a borau,
Frecffast fechan o'r 'Sgrythyrau,
Rho iddo giniaw brudd a swpper,
Cyn yr elych i'th esmwythder.

62.
Fel y porthi'r corph â bara,
Portha d'enaid bach â manna;
N'âd i'th enaid hir newynu,
Mwy nâ'r corph sy'n cael ei fagu.

63.
Mae'r Bibl bach[N] yn awr yn gysson,
Yn iaith dy fam, i'w gael er coron;
Gwerth dy grys cyn bod heb hwnnw,
Mae'n well na thref dy dad i'th gadw.

64.
Gwell nag aur,[O] a gwell nag arian,
Gwell nâ'r badell fawr nâ'r crochan:
Gwell dodrefnyn yn dy letty,
Yw'r Bibl bach nâ dim a feddi.

65.
Fe rŷ gonffordd, fe rŷ gynghor,
Fe rŷ addysg[P] gwell nâ doctor;
Fe rŷ lwyddiant a diddanwch,
Fe rŷ it' lawer o ddedwyddwch.

66.
Fe rŷ fara i borthi d'enaid,
Fe rŷ laeth i fagu'th weiniaid,
Fe rŷ win i'th lawenhau,
Fe rŷ eli i'th iachâu.

67.
Pwy na phrynai y Bibl sanctaidd,
Sy mor werthfawr ac mor g'ruaidd?
Pwy na werthai ' dŷ a'i dyddyn,
I bwrcasu'r fath ddodrefnyn?

68.
Dyma'r perl y fynn yr Iesu
I bob Cristion doeth ei brynu,
Fel y marsiant[Q] call a werthai,
I brynu hwn, faint oll y feddai.

69.
Gan i Dduw roi im'r Cymry,
Ei Air sanctaidd i'n gwir ddysgu,
Moeswch ini fawr a bychain,
Gwympo i ddysgu hwn a'i ddarllain.

70.
Moeswch ini wŷr a gwragedd,
Gyd â'n gilydd heb ymhwedd,[R]
Brynu bob un iddo lyfyr,
I gael darllain geiriau'r 'Sgrythyr.

[Z] Danfonodd. [A] Luc 8. 12—15. [B] Ioan 5. 39. [C] Deut. 6. 6—8. [D] Gwddf. [E] Modrwy. [F] Psalm 119. 97. [G] Teithio. [H] Psalm 119. 24. [I] Athraw. [J] Na âd ef i drigo. [K] Gen. 18. 19. [L] Jer. 15. 16. Psalm 119. 103. Dat. 10. 9. [M] Melusfwyd, danteithion. [N] Cyfansoddwyd y Gân hon, wrth bob tebygolrwydd, yn fuan gwedi'r flwyddyn 1630, pan argraphwyd y Bibl Cymraeg y tro cyntaf mewn maintioli bychan at wasanaeth y bobl yn gyffredin; yr unig Fiblau Cymreig cyn hynny oedd-ynt y rhai mawrion unplyg a arferid mewn Eglwysydd, pris y rhai oedd uwch law cyrhaedd y werin; ond am fod y Llyfr sanctaidd i'w gael am bris isel, y mae yma annogaeth daer i'w brynu a'i ddar-llain. [O] Psalm 19. 10. 119. 72. Diar. 8. 19. [P] Rhuf. 15. 4. [Q] Masnachwr. [R] Cymhelliad.

71.
Moeswch ini bawb rhag gw'radwydd,
Ddysgu darllain geiriau'r Arglwydd;
Gan i Dduw ei ddanfon adre',
Attom bawb, yn iaith ein mammeu.

72.
Nadwn fyn'd y gwaith yn ofer,
Y fu'n gostfawr i wŷr Lloeger,[S]
Rhag na fedrom wneuthur cyfri'
Ddydd y farn am gyfryw wrth'ni.

73.
Gwŷr a gwragedd, merched, meibion,
Cym'rwn ddysg oddiwrth y Saeson,
Y rhai fedrant bob un ddarllain
Llyfyr Duw'n eu hiaith eu hunain.

74.
Gw'radwydd blin i ninnau'r Cymry,
Oni cheisiwn weithian ddysgu
Darllain Gair Duw, y 'Sgrythyrau,
Gan eu printio'n iaith ein mammau.

75.
Ni chyst Bibl i ni weithian
Ddim tu hwnt i goron arian,[T]
Gwerth hen ddafad a fydd farw
Yn y clawdd ar noswaith arw.

76.
O medr un o'r tylwyth ddarllain
Llyfr Duw yn ddigon cywrain,
Fe all hwnnw'n ddigon esmwyth
Ddysgu'r cwbl o'r holl dylwyth.

77.
Ni fydd Cymro'n dysgu darllain
Pob Cymraeg yn ddigon cywrain,
Ond un mis-gwaith, (beth yw hynny?)
Os bydd ewyllys gantho i ddysgu.

78.
Mae'n g'wilyddus i bob Cristion,
Na chlyw arno stofi[U] coron,
Ac un mis-gwaith o'i holl fywyd,
Ynghylch dysgu'r 'Fengyl hyfryd.

79.
Mae'r cobleriaid a'u morwynion,
A'r rhai gwaetha' 'mysg y Saeson,
Bob yr un â'r Bibl ganthynt,
Ddydd a nos yn darllain ynthynt.[V]

80.
Mae'r pennaethiaid gyd â ninnau,
A'u tableri[W] ar eu byrddau,
Heb un Bibl, nac un plygain,[X]
Yn eu tai, na neb i'w ddarllain.

81.
Peth c'wilyddus gwel'd cobleriaid
Yn rhagori ar bennaethiaid,
Am gadwraeth eu heneidiau,
A'r peth rheita' mewn neuaddau.

82.
Y cobleriaid hyn a gyfyd,
Ddydd y farn, yn aman aethlyd,[Y]
I gondemnio'r fath bennaethiaid,
Sydd mor ddibris am yr enaid.

83.
Pob merch tingcer[Z] gyd â'r Saeson
Feder ddarllain llyfrau mawrion;
Ni ŵyr merched llawer Sewier
Gyd â ninnau ddarllain pader.[A]

84.
Gw'radwydd tost sydd i'r Brutaniaid,
Fod mewn crefydd mor ddieithriaid,
Ac na ŵyr eu canfed ddarllain
Llyfyr Duw'n eu hiaith eu hunain.

85.
Bellach moeswch in', rhag c'wilydd,
Bob rhai ddysgu pyngciau crefydd,
Ac ymroi i ddysgu darllain
Llyfyr Duw'n ein hiaith ein hunain.

86.
Felly gallwn ddysgu 'nabod[B]
Y gwir Dduw, a'i ofni'n wastod,
Ac o'i 'nabod, a'i wir ofni,
Fe rŷ ddidrangc[C] fywyd ini.

87.
Duw, rho ras a grym i Gymru
'Nabod Duw, a'i wir was'naethu;
Crist a nertho bob rhai ' ddarllain
Llyfyr Duw'n eu hiaith eu hunain.

[S] Argraphwyd y Bibl bychan ar draul amryw o ddinasyddion Llundain, ym mhlith y rhai enwir Mr. Rowland Heylin, henadur, *(alderman,)* o Lundain, ac yn neillduol Syr Thomas Middleton, henadur arall o Lundain, eithr yn enedigol o Gymru; am yr olaf Stephen Hughes, yn ei argraphiad cyntaf o Ganwyll y Cymry, a goffâ yn y modd canlynol :—

"Syr Thomas Middleton oedd yr hwn yn anad neb arall, a ddangosodd y trugaredd hyn yn gyntaf i'n gwlâd, sef i fôd mewn côst i brintio'r Bibl yn llyfr bychan, er budd i'r cyffredin bobl; (er ei fôd ef o'r blaen yn llyfr mawr yn yr Eglwysydd.)

"Y mae coffadwriaeth o Syr Thomas Middleton am y gwaith hynny yn anrhydeddus, ac yn fendigedig yng Hymru, ac a fydd felly tra bo crefydd Cristionogawl ynddi."

[T] Er nad oedd pris Bibl ond coron, yr oedd y swm yn fawr mewn cymhariaeth â gwerth nwyddau eraill. Pa sawl Bibl a brynir yn awr am bris dafad? [U] *To stow or hoard*, dodi heibio. [V] Y mae'r Awdwr, er mwyn cymmhell ei gydwladwyr i ddysgu darllain, yn helaethu tu hwnt i'r gwirionedd. Cyfaddefir bod y Saeson yn bresennol yn fwy gwybodus a dysgedig nag y buont erioed o'r blaen, etto y mae llaweroedd o honynt na fedrant ddarllain. Diau fod dysgeidiaeth y Cymry yn ei oes ef yn dra isel, ond, diolch i Dduw, trwy offerynaeth yr Ysgolion Rhad a Sabbothol y mae pobl gyffredin ein gwlad yn awr gan mwyaf yn darllain yr Ysgrythyrau, ac yn hynod o wybodus ynddynt. [W] Offer cerdd, medd R. Thomas. Esay 5. 12. Amos 6. 5, 6. [X] Plygain, y ddyledswydd neu weddi foreuol, gyferbyn â gosper neu'r weddi brydnhawnol. [Y] Alaethus. [Z] Eurych. [A] Pater noster, neu Weddi yr Arglwydd. [B] Ioan 17. 3. [C] Diddiwedd.

## III.—ADRODDIAD O DOST A THRUENUS GYFLWR DYN TRWY BECHOD.

1.

ADDA werthodd bawb o'r byd,[A]
I'r hen sarph, am afal drud;
Ni ddaw un o grampau[B] Satan,
Nes dêl Crist i'w dynnu allan.

2.

Y mae Satan yntau'n cadw
Pob pechadur, gwrryw a benyw,
Yn ei garchar tonnog, tywyll,
Nes dêl Crist i'w dorri'n gandryll.[C]

3.

Y mae'r carchar cyn dywylled
Ag nad ŷm yn abal gweled
O'n tost gyflwr a'n gofidi,
Nes dêl Crist â goleu ini.[D]

4.

'R ŷm ni'n aros heddyw, heno,
Mewn tywyllwch dan ein dwylo;[E]
Ac heb weled ein trueni,
Nes dêl Crist i'w ddangos ini.

5.

'R ŷm ni'n feirw yn ein pechod,[F]
'R ŷm heb wel'd ein câs,[G] na'i ganfod,
'R ŷm ni'n gorwedd mewn tywyllwch,
Ac heb gofio gwell diddanwch.

6.

'R wyt ti'n ymladd ym mhlaid Satan,
'R wyt ti'n elyn it' dy hunan,
'R wyt ti'n myned byth ar ddidro,[H]
Nes dêl Crist i'th droi a'th rwystro.[I]

7.

'R wyt ti eisioes wedi'th golli,
A'th gondemnio cyn dy eni;[J]
Oni cheisi Grist i'th helpu,
Yn golledig yr arhosi.[K]

8.

Mae'r sarph â'i cholyn wedi'th frathu,
Mae d'enaid bach o'r brath yn g'ryddfu;[L]
Cais Grist yn feddyg i'th iachâu,
Onis ceisi, marw a wnai.[M]

9.

Mae d' enaid gwedi'r diawl ei 'speilio
O'r holl ddoniau roes Duw iddo;
Cais gan Grist ei ail ddilladu,[N]
Onis ceisi'n siwr[O] di syrthi.[P]

10.

Mae'r fall â'r follt o bechod tanllyd,
Gwedi'th glwyfo yn wenwynllyd;
Cais gan Grist iachâu dy glwyfau,
Onis ceisi'r fall a'th biau.

11.

Mae d' enaid bach, fel dafad wirion,
Rhwng palfau'r llew, a'r bleiddiaid digllon;
Cais Grist ym mhryd[Q] i'w ddwyn o'i grampau,
Onis ceisi'r blaidd a'th biau.

12.

Mae'r diawl fel ffowler[R] wedi dala[S]
D' enaid bach â rhwyd o'r cryfa';
Ni ddoi byth o rwydau Satan,
Nes dêl Crist i'th dynnu allan.

13.

'R wyt ti'n ufudd was i bechod,[T]
'R wyt ti'n pechu bob diwrnod;
Cais gan Grist roi gras a chryfder,
I'w wrth'nebu mewn cyfiawnder.

14.

'R wyt ti'n blentyn i'r digofaint
Wrth naturiaeth,[U] fel dy geraint;
Cais gan Grist dy adgenhedlu,
Rhag dros fyth it' aros felly.

15.

'R wyt ti'n slaf[V] i'r cythraul aflan,
'R wyt ti'n byw ym meddiant Satan;[W]
Cais ym mhryd gan Grist dy dynnu
O law'r fall, rhag aros felly.

16.

Mae'r gŵr cadarn[X] yn heddychlon,
Yn cadw'i gastell yn dy galon;
Nes cael Crist i ddwyn ei arfeu,
Nid â'r cadarn byth o'th asgre.[Y]

17.

'R wyt ti'n gangen wyllt anffrwythlon,
Heb ddwyn ffrwyth, ond grawnwin surion;
Oni wella Crist dy natur,
I dân uffern boeth y'th deflir.

18.

Fe wnaeth y diawl di'n elyn Duw,
O blentyn grasol, goreu ei ryw;
Cais gan Grist dy reconsilo,[Z]
Rhag aros byth yn elyn iddo.

19.

'R wyt ti'n un o'r cywion bychain,[A]
Y sy'n pori rhwng y cigfrain;
Os Crist Iesu ni'th adeinia,[B]
Cigfrain uffern a'th 'sglyfaetha.

[A] Rhuf. 5. 12. [B] Crafangau. [C] Esay 42. 7. [D] Ioan 8. 12. Act. 26. 18. [E] Tywyllwch a ellir ei deimlo. Exod. 10. 21. [F] Eph. 2. 1. [G] *Case*, cyflwr. [H] Ar gyfeiliorn. [I] Mat. 18. 11, 12. [J] Sef, yn lwynau Adda. [K] Ioan 3. 17, 18. [L] *Writhing*, gwryddu gan boen. [M] Ioan 3. 36. [N] Dat. 3. 18. [O] Sicr. [P] Tydi a syrthi. [Q] Mewn pryd. [R] Adarwr. [S] 2 Tim. 2. 26. [T] Ioan 8. 34. [U] Eph. 2. 3. [V] Caethwas. [W] Act. 26. 18. [X] Luc 11. 21, 22. [Y] Mynwes. [Z] Cymmodi. [A] Mat. 23. 37. [B] Casgla dan ei adenydd.

20.
'R wyt ti'n gorwedd mewn tywyllwch,
Heb wir 'nabod llwybrau heddwch;
Oni oleua Crist ein llwybrau,
Awn i uffern ar ein pennau.

21.
'R wyt ti'n haeddu pob gofidi,
Wedi'th ddamnio cyn dy eni;
Oni chei gan Grist dy helpu,
Yn golledig yr arhosi.

22.
'R wyt ti'n elyn i'r Goruchaf,
'R wyt ti'n slaf i'r cythraul pennaf,
'R wyt ti'n dewyn uffern isod,
Nes dêl Crist i olchi'th bechod.

23.
'R wyt ti'n euog o bob tramgwydd,[C]
O bob nychdod, o bob aflwydd,
O bob gofid, o bob trallod,
Nes cael Crist i olchi'th bechod.

24.
Drwg tu fewn, a drwg tu fa's,
Llawn o bechod,[D] tlawd o ras;
Aflan, oflyd,[E] dwl, diwybod,
Nes dêl Crist i olchi'th bechod.

25.
Dyma gyflwr pob rhyw Gristion,
Medd y 'Sgrythyr yn blain[F] ddigon,
Hyd nes delo Crist ein Prynwr,
I'n hail-eni, i wella'n cyflwr.

26.
Oni chawn gan Grist ein helpu,[G]
A'n hail-weithio, a'n gwaredu,
Ni all dyn o'i rym ei hunan,[H]
Wella'i gyflwr mwy na Satan.

27.
Ni all Peder, ni all Pawl,
Ni all angel, ni all diawl,
Ni all neb, ond Crist yn unig,[I]
Gadw enaid dyn colledig.

28.
Chwilia'r nef, a'r ddae'r, a'r awyr,
Chwilia'r môr, a phob creadur,
Di gei weled nas gall un,
Ond Crist,[J] i gadw enaid dyn.

29.
Oni cheisi Grist ein Prynwr,
Gan ei Dad, i wella'th gyflwr,
I bwll uffern yr âi i drigo,
Eisieu ceisio cymhorth gantho.

30.
Ni bydd undyn yn gadwedig
O'r holl fyd, er maint eu rhyfyg,
Ond y dyn y gaffo ei gadw
Er mwyn Crist, ein Ceidwad croyw.

31.
Ac ni cheidw Crist un Cristion
O'r holl fyd, er maint a grïon',[K]
Ond y dyn a gredo'n brudd
Yng Nghrist,[L] trwy wir a bywiol ffydd.

32.
Y neb a gredo yn Nghrist yn gywir,
Fe gaiff hwnnw ei gadw yn sicir;
Y neb ni chredo ynddo'n syth.[M]
Ni chaiff hwnnw ei gadw byth.[N]

## IV.—GENEDIGAETH, BYWYD, A MARWOLAETH CRIST IESU EIN HIACHAWDWR.

1.
Pob rhyw Gristion ag sy'n caru
'Nabod Crist, y fu'n ein prynu,
Clywch fi'n adrodd genedigaeth
Prynwr cred, a'i brudd farwolaeth.

2.
Y Gair (Mab Duw) oedd o'r dechreu-
ad,[A]
Cyn bod nef, na dae'r, na adeilad,
Yn ail berson o'r glân Drindod,
'R hwn a wnaeth y byd mor barod.

3.
Yr oedd e'n Arglwydd cuwch a'i Dad,
Yn y nef yn llawn o rad,
Yn rheoli'r holl angylion,
Cyn ei ddyfod at blant dynion.

4.
'R oedd e'n Dduw[B] galluog, grymmus,
'R oedd e'n Arglwydd anrhydeddus,
'R oedd e'n Frenhin mawr ei rad,
'Roedd e' ym mhob pwynt cuwch a'i
Dad.

5.
Pan ddaeth o'r nef i brynu dyn,
Fe gymmerth arno'n lliw a'n llun;[C]
A'n gwir gnawd[D] o Fair ei fam,
'R hon oedd wyryf bur ddi-nam.

6.
Hi feichiogodd arno'n rhyfedd,
O rad yr Yspryd Glân,[E] a'i rinwedd,
Heb fod iddi wnel na 'nabod
Gŵr erioed er bod yn briod.

[C] Deut. 28. 15. [D] Rhuf. 3. 10—19, a 7. 18. [E] Yn troi yn llwch. [F] Eglur. [G] Rhuf. 5. 17. [H] 2 Cor. 3. 5. [I] 1 Tim. 2. 5, 6. [J] Act. 4. 12. [K] A lefont. [L] Ioan 6. 29. [M] Yn ddiysgog. [N] Ioan 3. 36.

[A] Ioan 1. 1—3. Diar. 8. 22. [B] Rhuf. 9. 5. [C] Phil. 2. 6, 7. Ioan 3. 13. [D] Heb. 2. 14. [E] Mat. 1. 18.

7.
Ac felly'r aeth Mab Duw yn ddyn,[F]
O naturiaeth Mair ei hun,
(Heb ei halogi â dim pechod.)
Yn y groth, trwy waith y Drindod.

8.
Dwy naturiaeth amlwg ŷn',[G]
Sydd i'n Prynwr, (Duw a dyn,)
Un o'i Dad, a'r llall o'i fam,
Dwy wahanol, dwy ddi-nam.

9.
Mab i Dduw, a Mab i ddyn,[H]
Heb un person iddo ond un,[I]
Mab i ddyn, o fam heb dad,
Mab Duw mawr, heb fam y ca'd !

10.
O ran ei ddyndod, mae'n fy mryd
I ddangos ich' ar hyn o bryd,
Y dull a'r modd y ganed Iesu,
Pan y daeth o'r nef i'n prynu.

11.
Pan ddaeth Mair i Fethle'm hygar,
I dalu treth i'r Emprwr Cesar,[J]
Daeth ei hamser i esgori,
Fel y traetha'r 'Fengyl ini.

12.
Ond gan gymmaint oedd y cwm'ni
Oedd yn gorwedd yn mhob ostri,[K]
F' orfu ar Fair, yn fawr ei gofal,
Fyn'd i orwedd hwnt i'r 'stabal.[L]

13.
Yno'm mhlith y mud 'nifeilod,[M]
Heb ddim 'stâd,[N] Duw yn ei wybod,
Fe esgorodd Mair wen ddiddig
Ar ein Prynwr ddydd Nadolig.

14.
Gwedi geni'n Prynwr hyfryd,
Heb fod arni boen na gofid,
Yn dra llawen hi a rwymai
Frenhin nefoedd mewn cadachau.[O]

15.
Gwedi ei rwymo hi roi i orwedd
Yn y preseb yn dra rhyfedd,
Ac a fyddai boddlon ddigon
I bob peth oedd Duw'n ei ddanfon.

16.
Yna cyn i'r wawr gael torri,
Fe ddanfonai Duw gwmpeini
O fugeiliaid, mewn gwirionedd,
I'w addoli e'n y preseb ![P]

17.
Y rhai ddanfonwyd gan angylion,
Yn dra llawen iawn eu calon,
I dref Fethle'm, o wir bwrpas,
I gael gweled y Messias.

18.
Ac i fyneg[Q] i bawb hefyd,
Fel y d'wed'sai'r angel hyfryd,
Mai fe oedd Crist, y gwir Geidwad,
'R hwn addawsid o'r dechreuad.

19.
Ac y byddai fawr lawenydd
I'r holl fyd, o'r chwedel newydd,[R]
O ran geni y boreu hwnnw
Yr Iachawdwr ddeuai'n cadw.

20.
Yna y deuai lu o angylion,
Ac y ganent hymnau mwynion,[S]
I'r Tad nefol o'r uchelder,
Am roi i ddynion y fath fwynder.

21.
Ar hyn fe ymddangosai seren[T]
Rymmus, rasol, yn yr wybren,
'R hon a dd'wedai â'i goleuni,
Fod y Prynwr wedi'i eni !

22.
Yno deuai hen wŷr doethion,[U]
O'r dwyrein-dir yn dra union,
I Judea wrth y seren,[V]
I ymofyn Crist yn llawen.

23.
Y rhai a geisient gael copinod,[W]
Gan y brenhin creulon Herod,
B'le ganesid Crist y cyfion,
Brenhin grasol yr Iuddewon.

24.
Yna y d'wedai'r 'ffeiriaid mwya',
Mai ym Methle'm, tref o Juda,[X]
Yn siwr y genid y Messias,
Meddai'r Prophwyd hen Micheas.[Y]

25.
Pan y clywai'r doethion hyn,
Aethant yn faith ac yn dynn,
I dref Fethle'm, wrth y seren,
Gan ymofyn Crist yn llawen.

26.
Ond pan ddaethant hwy yn agos
I'r tŷ lle'r oedd Crist yn aros,
Fe ddisgynai'r seren dlws,
Ac arhosai uwch ben y drws.

[F] Ioan 1. 14. [G] Ydynt. [H] Rhuf. 1. 3, 4. Act. 13. 33. [I] Y mae'r Duwdod yn dri pherson, ond yr ail Berson a gymmerth atto natur dyn, ac a'i hunodd yn y fath fodd â'r Duwdod, fel nad yw'r ddwy natur ond un person. [J] Luc 2. 1, 3. [K] *Hostelry*, Hetty. [L] Luc 2. 7. [M] Anifeiliaid. [N] *State*, gwychder, rhodres. [O] Luc 2. 7. [P] Luc 2. 15, 16. [Q] Cyhoeddai. Luc 2. 17. [R] Luc 2. 10, 11. [S] Luc 2. 13. [T] Mat. 2. 2. [U] Mat. 2. 1. [V] Num. 24. 17. [W] Cyfarwyddyd. [X] Mat. 2. 5—11. [Y] Mic. 5. 2.

27.

Yna'r aent i mewn yn llawen,
Lle'r oedd Mair â Christ yn fachgen,
Ac a gwympent ar eu deulin
I addoli'r grasol Frenhin.

28.

Rhoddent hefyd rial[Z] roddion,
Y berthynai i Grist yn gysson,
Aur a ffrancinsens[A] o'r gorau,
A myrr gwerthfawr, têg ei 'roglau.

29.

Herod yna pan y clywas
Eni Crist, y gwir Fessias,
Efe a fynnai'i ladd yn blentyn
Bach, yn sugno yn ei rwymyn.

30.

Ac fe helodd[B] lu o fwytswyr[C]
Gwaedlyd, creulon, dig difesur,
I ladd yr holl blant bach o ddeutu,
Cyn y methai ladd yr Iesu.

31.

Hwyntau ladd'sant yr holl fechgyn
Oedd ym Methle'm etto'n egin
Fach a mawr dan ddwy-flwydd oedran,
A mab Herod gas ei hunan.[D]

32.

Yno y gorfu ar Fair fyned
Ganol nos i ddechreu cerdded
Tu a'r Aipht, â'i phlentyn ganthi,
Lle'r archasai'r angel iddi.[E]

33.

Yno y bu Crist yn aros,
Gyd â'r Sibswns[F] lawer wythnos,
Nes cael clywed marw Herod,
Oedd yn ceisio ei ladd heb wybod.

34.

Yn ol marw Herod greulon,
Fe ddoi Crist i wlad Iuddewon,
Ac y fyddai ostyngedig
I Fair ac i Joseph ddiddig.

35.

Pan yr oedd e'n ddeuddeg oed,[G]
Peth rhyfedda' y fu erioed,
Efe ymbyngciai â'r doctoriaid,
Nes bo'r doethion arno'n syniaid.[H]

36.

Yno'n ddeg ar hugain oedran,
Pan bedyddiwyd ef gan Ioan,
Fe ddisgynai arno'r Yspryd,
Ar lun c'lommen hygar hyfryd.

37.

Ac fe lefai Duw ei hunan,
Fry o'r nef, lle clywai'r cwmpan,[I]
Hwn yw f'unig Fab aberthwyd,
Ynddo ef y'm llwyr foddlonwyd.

38.

Gwedi'r Yspryd ddisgyn arno,
Fe ddoi'r cythraul yntau i'w demptio;
Ond er maint oedd cyrch y cythraul,
Rhoes Crist iddo ffwyl[J] ddiogel.

39.

Yn ol hyn fe âi i bregethu
Yr Efengyl wen o ddeutu,
Ac i ddechreu gwneuthur gwyrthiau
Ym mhob tir y ffordd y cerddai.

40.

Fe droes y dw'r yn gynta'n win,[K]
Fe lwyr iachâ'dd bob clefyd blin,
Ac fe wnaeth i'r deillion weled,
Ac i'r byddar clust-drwm glywed.[L]

41.

Fe wnaeth i'r cripliaid[M] yn ddifraw
Neidio a thripio[N] yma a thraw,
Ac fe wnaeth i'r wreigyn grocca
Godi ei chefen o'r uniawna'.[O]

42.

Rhodiodd hefyd ar y môr,[P]
Gan ostegu ei rwyf a'i rôr;[Q]
Ac fe wnaeth i'r storom wynt
Beidio a chwythu yn ei hynt.

43.

I ddangos in' ei fod yn Dduw,
Fe gododd dri o feirw i fyw;
Merch i Jairus,[R] mab i'r weddw,[S]
Lazar wedi drewi a marw.[T]

44.

Porthodd bum' mil â phum torth,
Mawr ei bwer,[U] da o'i borth,
Llanwodd ddwy long o'r pysg mwya',[V]
Pan y methai ar bawb eu dala.

[Z] Rhagorol. [A] Thus. [B] Danfonodd. [C] *Butchers*, ond cam ddefnyddiad o'r gair ydyw; dihenyddwyr. [D] Macrobius, ethnig, a ddywed i Herod ladd ei fab ei hun yr amser y lladdodd efe'r plant bychain; ac oddi wrth hyn y mae rhai yn casglu fod ganddo fab dan ddwy flwydd oed. yr hwn, fel y tybir, a feithrinid ym Methlehem, ac a gollwyd yn y lladdfa, gan nad oedd y dihenyddwyr yn gwybod am dano. Eraill a haerant mai camsynied yw hynny, a bod Macrobius yn crybwyll am farwolaeth Antipater, mab i Herod, yr hwn a laddwyd o gylch yr un amser yn ei lawn oedran drwy orchymyn ei dad. [E] Mat. 1. 13. [F] *Egyptians*. Paham na ddywedasid yr Aiphtiaid ar unwaith, yn lle rhoddi iddynt enw cyffredin y crwydriaid twyllodrus hynny a gredir fod eu dechreuad o'r Aipht? [G] Luc 2. 42—46. [H] Rhyfeddu. [I] Cwmpeini. [J] *Foil*, codwm, cwymp. [K] Ioan 2. [L] Mat. 11. 5. [M] *Cripples*, cloffion. [N] Cerdded yn ysgafn. [O] Luc 13. 13. [P] Mat. 14. 25. [Q] *Roar*, rhuad. [R] Luc 8. 41. [S] Luc 7. 11. [T] Ioan 11. [U] *Power*, gallu. [V] Luc 5. 7.

45.
Bwriodd lawer cythraul allan,
O'r rhai cleifion, lloerig, egwan;
A chlust Malchus, gwedi'i dorri,[W]
A iachâ'dd ef toc[X] heb eli.

46.
Llawer gwyrthiau gyd â hyn,
Y wnaeth ein Prynwr, Iesu gwynn,
Cyn i Suddas frwnt ei werthu
I'r Iuddewon, a'i fradychu.

47.
Ni chaed twyll erioed o'i enau,[Y]
Nid oedd undyn a'i harg'oeddai;[Z]
'R oedd e'n ddiddrwg fel yr oen,
Yn fach ei barch, yn fawr ei boen.

48.
Pan ddaeth yr awr oedd Duw'n ei osod,
I'w aberthu dros ein pechod,
Fe ddoi Suddas ac a'i gwerthai
I'r Iuddewon am geiniogau.[A]

49
Ni cha'dd ddim ond hanner coron
Am ei roi yn llaw'r Iuddewon,
I fyn'd âg ef yn rhwym at Gaiaphas,
Gwedi ei holi yn dost gan Annas.

50.
Yn y man y daeth at Gaiaphas,
Fe ddoi tystion gau o'i gwmpas,
Ac a fynnent brwfio[B] arno
Lawer peth nas gwyddai oddiwrtho.

51.
Caiaphas yntau a'i hecsamnai[C]
Yn galed iawn ar fil o bethau,
Ac a'i tyngai trwy'r Duw byw,[D]
I adde' ai fe oedd Fab i Dduw.

52.
Ac am i'r Iesu adde'n glir,[E]
Mai fe oedd Crist, Mab Duw yn wir,
Braidd na fynnai pawb ei lethu
A'i labyddio cyn ei farnu.

53.
Yna y poerwyd yn ei wyneb,
Bwbachwyd, dallwyd, mewn ffolineb,[F]
Ffustwyd ei ben â gwïelyn,
A chernodiwyd e'n ysgymmun.

54.
Ar y boreu yr holl Iuddewon,
A'r offeiriaid, a'r gwŷr mawrion,
Y ddoent â Christ gwedi ei g'lymmu,
At Bilatus iddo ei farnu.

55.
Pilat gwedi ei holi'n galed,
Heb gael ynddo fai na niwed,
Dan lanhau a golchi ei ddwylo,[G]
Y rhoes farn marwolaeth arno.

56.
Cynta' peth y farnai Pilad.
Oedd ei chwipio heb ei ddillad,
Yn ol hynny ei groeshoelio
Ar y crog-bren nes departio.[H]

57.
Felly chwipiwyd Crist yn dost,
O heol i heol, o bost i bost,
Ac ni adawyd modfedd arno
O'i ben i'w draed heb ei sewrgio.[I]

58.
Gwedi'n deuai filwyr Pilad,
Ac hwy stripent[J] Grist o'i ddillad,
Ac a'i gwisgent ef cyn frafed[K]
Mewn hen fantell goch o scarled.

59.
Yn ol hyn fe blethai rhai'n
Anfad goron fawr o ddrain,
Ac a'i gwisgent ar arleisiau
Crist, nes rhedai'i waed yn bibau.

60.
Rhoddent hefyd yn ei law
Gorsen, gan ymgrymmu draw,
A'i watwaru â geiriau mwynion,
Dydd da'wch Brenhin yr Iuddewon.

61.
Gwedi diosg Crist drachefen,
Rhoisant y groes ar ei gefen,
Iddo'i llusgo i'r Benglogfa,[L]
Lle'i croeshoeliwyd ar ei hucha'.

62.
Pan yr aethant i'w groeshoelio,
Tyllwyd ei draed ef a'i ddwylo,
Ac hwy hoeliwyd yn fileinig,
A thair hoel o haiarn ffyrnig.

63.
Er maint oedd ei boen a'i loesau,
Etto er hyn ni agorai ei enau,[M]
Ac ni ynganai wrth y poenwyr,
Mwy na'r ddafad dan law'r cneifwyr.

[W] Luc 22 50. [X] Yn ebrwydd. [Y] 1 Petr 2. 22. [Z] Ioan 8. 46. [A] Ceiniogau arian a feddylia y Ficer, y rhai oeddynt mewn cylchrediad cyn bathu rhai o bres neu gopr; deg ar hugain o honynt a wnant hanner coron yn ol cyfrif Lloegr. Y geiniog Rufeinaidd, sef yr un a sonir am dani yn fynych yn y Testament, oedd gyfartal i saith ceiniog a thair ffyrling; ond yr esponwyr cywreiniaf a fynegant mai sicl'au Iuddewaidd, ac nid ceiniogau, oedd y deg ar hugain arian a roddwyd i Judas, pob un o honnyt yn gyfartal â hanner coron, ac felly fod y swm i gyd yn dair punt a phymtheg swllt Yn ol Exod. 21. 32, deg sicl ar hugain o arian oedd y taliad am was a laddwyd trwy ei gornio gan ych; ac yn y modd hwn geillir dywedyd i'n Harglwydd gymmeryd arno agwedd gwas. Zach. 11. 12, 13. Mat. 26. 15. [B] *Prove*, profi. [C] *Examine*, holi. [D] Mat. 26. 63. [E] *Clear*, eglur. [F] Marc 14. 65. [G] Mat. 27. 24. [H] Ymadael â'i einioes, marw. [I] Fflangellu. [J] Diosgent. [K] Cyn wyched. [L] Ioan 19. 17. [M] Act. 8. 32,

64.
Ond fe offrymmai ar y groes,
Pan oedd chwerwa' a blina'r loes,
Ei enaid gwynn, a'i waed i gyd,
Yn aberth dros bechodau'r byd.

65.
Ac orch'mynai ei enaid gwirion,
I law ei Dad, y Barnwr cyfion,
Dan ymhwedd[N] arno am faddeu
I'r Iuddewon a'i croeshoeliai.[O]

66.
Felly y bu farw'r Iesu
Ar y pren-croes wrth ein prynu,
Ac y rhoes ef waed ei galon
Dros eneidiau'r gwir Grist'nogion.

67.
Felly rhoddes Duw ei anwylyd,
I'w groeshoelio trwy fawr benyd,
Er mwyn prynu ein heneidiau,
A'u gwaredu o'u holl boenau.

68.
Rhoddwn ninnau foliant iddo,
Ddydd a nos, heb ddim diffygio,
Am ei gariad a'i drugaredd,
Yn prynu enaid dyn mor rhyfedd.

69.
Diolch mawr, a moliant hyfryd,
Y fo i'r Tad, y Mab, a'r Yspryd,
Am brynu enaid dyn mor ddrutted,
A'i ddwyn i'r nef o dost gaethiwed.

## V.– ADRODDIAD O GARIAD CRIST AT Y BYD.

1 Clywch adrodd mawr gariad
Mab Duw at y byd,
Pan ddaeth ef o'r nefoedd
I'n prynu mor ddrud,
Er peri i chwi gofio
Am gariad Mab Duw,
A'i foli'n wastadol
Tra fyddoch chwi byw.

2 Pan twyllodd y cythraul
A'r afal y wraig,[A]
I dorri'r gorchymyn
Trwy demptiad y ddraig,
Fe'n gwerthwyd am afal
I'r diawl cymmain un,[B]
Heb neb allai'n prynu
Ond mab Duw ei hun.

3 Mab Duw pan y gwelodd
Ein cyflwr mor dost,
Fe ddaeth yn ei unswydd
O'r nefoedd yn bost,[C]
O blith yr angylion,
I groth y wen Fair,
I gym'ryd ein natur,
A'n gwared o'r pair.

4 Mair a feichiogodd
Ar unig Fab Duw,
O rad y Glân Yspryd,
(Ond tra rhyfedd yw.)
Pan 'r oedd hi'n bur forwyn,
Tra ieuangc mewn oed,
Heb fod iddi anffawd
Ag un gŵr erioed.

5 Pan ddaeth amser esgor,
Fe aned Mab Mair,
Mewn stabal ym Methle'm,
Ar fottel[D] o wair,
Lle'i trow'd ef mewn cadach,
A'i osod i lawr
I orwedd mewn preseb,
On'd happus yr awr.

6 Pan ganed ein Prynwr
Fe helwyd[E] o'r nef
Angylion rhial-wych,[F]
Tra llawen eu llef,
I fyneg[G] dan ganu
Yr amser a'r pryd
Y ganed Crist Iesu,
Iachawdwr y byd.

7 A'r doethion o'r dwyrain,
Pan god'son' eu pen,
A gweled ei seren
Mor wych ac mor wen,
Hwy ddaethant o'r dwyrain
I Fethle'm yn bost,
I addoli'r dyn bychan,
Mewn llawer o gost.

8 Herod pan clywodd
Ef eni Mab Duw,
Fe helodd ei fwytswyr[H]
I fwrddro[I] fe'n fyw;
A rhag iddo ddiangc,
Fe laddodd bob un
O fechgyn bach Bethle'm
A'i blentyn ei hun.[J]

[N] Deisyf [O] Luc 23. 34 a 46.
[A] Gen. 3. 4—6. [B] Pob un. [C] Yn ebrwydd. [D] *Bottle or bundle*, soppen. [E] Danfonwyd. [F] Ardderchog. [G] Fynegi. [H] Danfonodd ei ddihenyddwyr. [I] *Murder*, llofruddio. [J] Gwel y Gan flaenorol, pennill 31.

9 Mair hithau gododd,
Ar hyd nos heb ddim trwst,
Ac aeth at y Sibswns[K]
A'i phlentyn ar ffrwst,
Lle bu hi'n hir aros,
Nis gwn i pa hyd,
Nes darfod am Herod
A'i fwytswyr i gyd.

10 Pan ddarfu am Herod,
Daeth Crist yn ei ol,
O'r Aipht i Judea,
At gene'l ry ffol,
Lle bu e'n pregethu'r
Efengyl yn hir,
I bobol bengaled
Na chreden' mo'r gwir.

11 Gwyrthiau tra gwerthfawr
Wnaeth ef lawer pryd,
I ddangos mai'r Iesu
Oedd Ceidwad y byd;
Ni chredai'r Iuddewon
Na'i wyrthiau na'i wir,
Ond ceisio'i fradychu
Ar fôr ac ar dir.

12 Suddas fradychus,
A chusan tra chas,
A'i gwerthodd e'n nwylo'r
Iuddewon di-ras;
Trachwant yr arian
A'i gyrrodd e'n bost,
I ymgrogi mewn cebyst',
Ei fforten[L] oedd dost.

13 Y nos y bradychwyd
Fe chwysodd y gwaed,[M]
Yn daran dosturus,
O'i ben hyd ei draed,
With feddwl cyn chwerwed,
A blined o'r loes,
Orfyddai arno oddef
Am bechod pob oes.

14 Fe'i daliai'r Iuddewon
A fflaglau ac â ffynn,
Pan oedd e'n gweddio
Ar ol swpper yn synn;
Hwy rhwyment â chordau,
Hwy llusgent trwy fraw,
At Annas a Chai'phas,
I'w holi dan law.

15 Pilat yn fynych
A'i holodd e'n chwai,[N]
Heb allael cael ynddo
Na phechod na bai;
Ond dan olchi'i ddwylo,
Fe wnaeth âg ef gam,
Fe'i barnodd i farw,
Heb wybod paham.

16 Fe farnodd ei chwipio
O'i ben hyd ei draed,
Nes bod ei gorph purwyn
Yn lliwio gan waed,
A chwedi'n ei hoelio
Ar grog-pren trwy gur,[O]
Trwy ei ddwylaw a'i ddwydroed,
A hoelion o ddur.

17 Coronwyd Crist hefyd
A choron o ddrain,
Fe wisgwyd mewn mantell
O scarled coch main,
F' addolwyd mewn gwatwar,
Dan blygu pob glin,
Fe gurwyd â chorsen
Dan estyn eu min.

18 Fe row'd ar ei ysgwydd
Y groes idd ei dwyn,
Nes myn'd i Benglogfa,[P]
Heb nemmawr o gŵyn,
Ar honno'n fileinig
Fe'i hoeliwyd e'n fyw;
Ac felly ar grog-pren
Fe grogwyd Mab Duw.

19 Er maint oedd ei gystudd,
A'i gamwedd, a'i gur,[Q]
Pan hoeliwyd ef felly
A hoelion o ddur,
Ni 'gorodd ei enau,
Ni ofynodd paham,
Mwy na'r oen dan law'r cneifiwr,
Er maint oedd ei gam :[R]

20 Ond llefain yn irad[S]
O'r groes ar ei Dad,[T]
Am faddeu i'r Iuddewon
A sugnent ei wa'd,
O achos na wyddent,
Ar hynny o bryd,
Eu bod hwy'n croeshoelio
Iachawdwr y byd.

[K] *Egyptians*, Aiphtiaid. [L] *Fortune*, tynged. [M] Luc 22. 44. [N] Llym. [O] Curo, ffusto, medd S. Hughes. [P] Golgotha, yr hyn o'i gyfieithu yw Llo'r Benglog. [Q] Blinder. [R] Esay 53. 7. Marc 14. 61. [S] Tost. [T] Luc 23. 34.

21 Ac felly bu farw
Fab Duw ar y groes,
Wrth ddwyn ynddo'i hunan
Y blinder a'r loes;
A'r poenau, a'r penyd,
A'r dial i gyd,[U]
Oedd Duw yn ei ofyn
Am bechod y byd.

22 Trwy angau tra phoenfawr
A phridwerth ei wa'd,
Fe wnaeth heddwch hyfryd
Rhwng dynion a'i Dad,
Fe'n dygodd ni eilwaith
Mewn ffafar â Duw,[V]
Moliannwn yr Iesu
Tra byddom ni byw.

23 Fe ddygodd ar grog-bren
Ein pechod bob un,
Fe'n golchodd o'n beiau
Trwy wir waed ei hun,
Fe'n gwnaeth ni'n frenhinoedd
A 'ffeiriaid i Dduw,
Moliannwn yr Iesu
Tra byddom ni byw.

24 Cyflawnodd y gyfraith,
Boddlonodd ei Dad,
Fe brynodd ein pardwn,
Fe'i seliodd â'i wa'd,
Fe'n tynnodd o'r carchar,
Fe rwygodd ein sach,
Moliannwn yr Iesu
Yn fawr ac yn fach.

25 A'i angau, fel Samson,
Fe droediodd i lawr
Gyhuddwr ein brodyr,
Y wiber[W] goch fawr,
Fe rwygodd ei deyrnas,
Fe sigodd ei siol,
Moliannwn yr Iesu,
Fe ennillodd y gòl.[X]

26 Fe ddofodd lidiowgrwydd
A digter ei Dad,
Fe'n gwnaeth yn blant iddo
Trwy fabwys a rhad,
Fe rodd i ni gyfran
O deyrnas ein Duw,[Y]
Moliannwn yr Iesu,
Tra byddom ni byw.

27 Coronau gorauraidd
Ar benau pob un,[Z]
A gynau gwych gwynnion
Tra lluniaidd eu llun,
A brynodd ef ini,
A theyrnas gwlad nef,
Moliannwn yr Iesu
Yn llawen ein llef.

28 Gogoniant, a gallu,
A diolch bob pryd,
A fytho i'r glân Drindod
Am ein prynu mor ddrud,
A mawr-glod, a moliant,
I'n Prynwr a'n Pen,
A d'weded pob Cristion
Yn wastad—Amen.

## VI.—CYMHELLIAD I FETHLEHEM.

1.

Awn i Fethle'm bawb dan ganu,
Neidio, dawnsio, a difyrru,
I gael gwel'd ein Prynwr c'redig,
A aned heddyw, ddydd Nadolig.

2.

Mae e'm Methle'm wedi'i eni,
Yn y stabal tu hwnt i'r ostri;[A]
Am bob Cristion i gyflwyno,[B]
Ac i roddi golwg arno.

3.

Dyma'r Ceidwad a ddanfonwys
Tad tosturi o Baradwys,
I'n gwaredu rhag marwolaeth,
Ac i weithio'n hiechydwriaeth.

4.

Awn i Fethle'm bawb i weled
Y dull, a'r modd, a'r man y ganed,
Fel y gallom ei addoli,
A'i gydnabod gwedi'i eni.

5.

Ni gawn seren i'n goleuo,
Ac yn serchog i'n cyf'rwyddo,
Nes y dycco hon ni'n gymmwys,
I'r lle sanctaidd lle mae'n gorphwys.

6.

Mae'r bugeiliaid wedi blaenu,
Tua Bethle'm dan lonychu,
I gael gwel'd y grasol Frenhin;
Ceisiwn ninnau bawb eu dilyn.

[U] Eph. 2. 15. [V] Col. 1. 20, 21. [W] *Viper*, sarph. [X] *Goal*, y gamp. [Y] 1 Petr 1. 3, 4. [Z] 2 Tim. 4.
[A] *Hostelry*, lletty. [B] I offrwm iddo.

7.

Y mae'r plentyn yn y stabal,
Gwedi' ddrin gan Mair yn rial,[C]
A'i roi i orwedd yn y preseb,
Rhwng yr ŷch a'i dad-maeth Joseb.

8.

Fe aeth y doethion i'w gyflwyno,
Ac i roi anrhegion iddo,—
Aur, a thus, a myrr o'r gorau,
A'u presentio[D] ar eu gliniau.

9.

Rhedwn ninnau i'w gorddiwes,
I gael clywed rhan o'u cyffes;
Dysgwn ganddynt i gyflwyno,
A rhoi clod a moliant iddo.

10.

Yn lle aur, rhown lwyr-gred ynddo,
Yn lle thus, rhown foliant iddo,
Yn lle myrr, rhown wir 'difeirwch,
Ac fe'u cymmer drwy hyfrydwch.

11.

Mae'r angylion yn llawenu,
Mae'r ffurfafen yn tywynnu,
Mae llu'r nef yn canu hymnau,
Caned dynion rywbeth hwyntau.

12.

Awn i Fethle'm i gael gweled
Y rhyfeddod mwya' wnaethped,[E]
Gwneuthur Duw yn ddyn naturiol,
I gael marw dros ei bobol.

13.

Awn i wel'd yr Hen ddihenydd,[F]
A wnaeth y nef, a'r môr, a'r mynydd,
Alpha oediog, Tad goleuni,
Yn ddyn bychan, newydd eni!

14.

Awn i weled Duw y Gair,
Brenhin nef, ar arffed Mair,
Gwedi cym'ryd cnawd dyn arno,
Yn fab bach yn dechreu sugno.

15.

Awn i weled y Mab rhad,
Hŷn[G] na'i fam, cyf-oed â'i Dad;
Mab a Thad,[H] y fam a'r ferch,
Yn lleia' eu sôn, yn fwya' eu serch.

16.

Awn i Fethle'm i gael gweled
Mair â Mab Duw ar ei harffed;
Mair yn dala rhwng ei dwylo
Y mab sy'n cadw'r byd rhag cwympo![I]

17.

Awn i wel'd congcwerwr[J] angau
Gwedi ' rwymo mewn cadachau,
A'r mab a rwyga deyrnas Satan,
Yn y craits,[K] heb allu crippian.[L]

18.

Awn i weled y Messias,
Prynwr cred, ein hedd a'n hurddas,
Unig Geidwad ein heneidiau,
Ar fraich Mair yn sugno bronnau.

19.

Awn i weled Hâd y wraig,
Y bwyntiodd Duw i bwnio'r ddraig,
Ac i 'sigo ei siol wenwynig,
Am beri bwytta'r ffrwyth gwa'rddedig.

20.

Awn i wel'd y Mab a ga'd
Yn rhyfedd iawn o'i fam heb dad!
A'i fam yn wyryf ieuangc oed,
Mam heb 'nabod gŵr erioed.

21.

Awn i wel'd y ferch yn fam,[M]
A'r fam yn ferch[N] ddi-nwyf, ddi-nam;
Y ferch yn magu'i Thad o'i rwymyn,
A'r Tad yn sugno bronnau'r plentyn!

22.

Awn i wel'd y Pen-saer gorau,
Y wnaeth yr haul a'r holl blanedau,
Y nefoedd fawr a'i rhŵm[O] mor rhial,
Yma'n gorwedd mewn ystabal!

23.

Awn i weled Duw'r gogoniant,
'R hwn sy'n mesur nef a'i rychwant,
Yn y preseb heb un gadeir,
Yr Oen mwyn yn sal ei biner.[P]

24.

Awn i wel'd yr Oen bendigaid,
Ni bu'i fath o flaen bugeiliaid;
Oen i Dduw y ddaeth mewn pryd,
I dynnu ffwrdd bechodau'r byd.

25.

Awn i wel'd ein Prynwr hoyw,
Y sydd i farnu byw a meirw,
'R hwn a'n dwg i'r nefoedd dirion,
Ar adenydd yr angylion.

26.

Dyma, gwelwch e'n ddi-stŵr,
Y gorau i gyd yn wanna' gŵr,
Duw yn ddyn, a dyn yn Dduw,
A'i gwelo'n llyn,[Q] tra dedwydd yw.

[C] Rhagorol. [D] Offrymmu. [E] Wnaethpwyd. [F] Un nad yw yn heneiddio. Dan. 7. 9, 13, 22. [G] Fel yr oedd ef yn Dduw. [H] Tad fel Duw, a Mab fel dyn. [I] Heb. 1. 3. [J] Gorchfygwr. [K] *Cratch*, preseb. [L] *Crop* ymlusgo. [M] I Grist fel yr oedd ef yn ddyn. [N] I Grist fel yr oedd ef yn Dduw. [O] *Room*, a'i hystafelloedd mor rhagorol. [P] Yn wael ei wisgiad. [Q] Felly.

## VII.—CRIST SYDD OLL YN OLL.

1.
Crist ei hun sydd oll yn oll[A]
Yn cadw dyn rhag myn'd ar goll;
Nid neb, nid dim, ond Crist ei hun,[B]
Y ddichon gadw enaid dyn.

2.
Y sarph â'r afal gynt a'n twyllodd,[C]
Y sarph â phechod a'n gwenwynodd,
Y sarph a'n tynnodd o Baradwys,
Y sarph i uffern boeth a'n gyrrwys.

3.
Mae mor siwr[D] i bob dyn fyned
I bwll uffern i gaethiwed,
A phyt faem[E] ni eisioes ynddo,
Oni cheidw Crist ni rhagddo.[F]

4.
Crist y ddaeth o'r nef[G] i'n prynu,
Crist a'n cadwodd gwedi'n damnu,[H]
Crist o'n cystudd a'n gwaredodd,
Crist a'n dwg i deyrnas nefo'dd.[I]

5.
O gramp[J] y llew, o enau'r wiber,
O rwyd y fall, o balfau'r teiger,
O'r pwll, o'r pair, a'r deyrnas aflan,
Y tynnodd Crist ei ddefaid allan.[K]

6.
Ni all Satan ladd a mwrddro
Mwy nag all Mab Duw ddadfywio;[L]
Y laddo'r ddraig â'i cholyn gau,
Gwaed yr Oen all ei iachâu.

7.
Iesu Grist yw Hâd y wraig,
Y bwyntiodd Duw i droedio'r ddraig,
I ysigo ei siol,[M] i rwygo'i theyrnas,
I dynnu dyn o'i chrampau atgas.

8.
Ni orchfyga neb o'r ddraig,
Ond trwy gymhorth Hâd y wraig;[N]
Ni ddaw dyn o'i theyrnas aflan,
Nes y tynno Crist ef allan.

9.
Crist yn unig yw'r Hâd dinam,
Y bromeisiodd[O] Duw i Abra'm,[P]
I'n rhyddhau oddiwrth y felldith,
A rhoi ini'r nefol fendith.

10.
Crist yn unig ydyw'r Silo,[Q]
Y ddanfonodd Duw i'n ceisio,
O gaethiwed pob rhyw bechod,
I was'naethu'r sanctaidd Drindod.

11.
Crist ei hun yw pren y bywyd,
Sy'n rhoi maeth i bawb o'r holl-fyd;
Ni bydd marw yn drag'wyddol,
Neb y fwytto'r ffrwyth sancteiddiol.[R]

12.
Crist yw'r arch, y llonges esmwyth,
Gadwodd Noe rhag boddi, a'i dylwyth;[S]
Crist yw'r arch sy'n cadw ninnau
Rhag pob diluw a dialau.

13.
Crist ei hun yw ysgol Iago,[T]
Oedd o'r nef i'r ddae'r yn pheicio,[U]
Ar yr hwn y mae in' ddringad,
Os i'r nef y mynnwn ddwad.[V]

14.
Y sarph a laddodd ddyn â phechod,
Y sarph a'n troes i uffern isod,
Crist a'i Yspryd a'n dadfywiodd,
Crist o uffern a'n gwaredodd.[W]

## VIII.—CRIST SYDD OLL YN OLL.

### YR AIL RAN.

1.
Crist ei hun sydd oll yn oll[A]
Yn cadw dyn rhag myn'd ar goll;
Nid neb, nid dim, ond Crist ei hun,[B]
Y ddichon gadw enaid dyn.

2.
Crist sydd bob dim sydd anghenraid[C]
O flaen Duw i gadw'r enaid;
Ni fynn Duw ond Crist ei hun
Yn iawn dâl am enaid dyn.[D]

3.
Crist yn unig, Crist ei hunan,
Crist, heb neb mewn rhan a chyfran,
Crist, heb neb ond Crist ei hun,[E]
Yw unig Geidwad enaid dyn.

4.
Crist yw'n rhanswm,[F] Crist yw'n haberth,
Crist yw'n hoffrwm,[G] Crist yw'n cyfnerth,
Crist yw'n trysor, Crist yw'n golud,
Crist yw'n gwir Iachawdwr hefyd.

[A] Col. 3. 11. [B] Esay 43. 11. [C] Gen. 3. 4. [D] Sicr. [E] A phe baem. [F] Ioan 3. 18. [G] Ioan 6. 38. Eph. 4. 10. [H] Rhuf. 8. 1. [I] Mat. 25. 34. [J] Crafangc. [K] Esay 49. 9. [L] 1 Ioan 3. 8. 1 Cor. 15. 22. [M] Gen. 3. 15. [N] Dat. 12. 11. [O] Addawodd. [P] Gen. 13. 3, a 22. 18. [Q] Gen. 49. 10. [R] Gen. 3. 22. Dat. 22. 2. [S] Gen. 7. 1. [T] Jacob. Gen. 28. 12. [U] *Pitched*, wedi ei tharo yn y llawr. [V] Ddyfod. [W] Gadewir y pennill hwn allan, ac y mae amrywiaeth yn nhrefniad y Gân ganlynol yn yr Argraphiadau cyffredin.

[A] Col. 3. 11. [B] Esay 43. 11. [C] Col. 1. 19, a 2. 10. [D] 1 Ioan 2. 2. [E] Esay 43. 11. Hosea 13. 4. [F] Pridwerth. [G] Heb. 9. 14.

5.

Crist sydd gyflawn[H] o bob doniau
Angenrheidiol i'n heneidiau;
Mae pob peth yn Nghrist ei hun
Ag sydd raid i gadw dyn.

6.

Crist ei hunan yw'n cyfiawnder,
A'n sancteiddrwydd a'n gwir ddoeth-
A'n hymwared, a'n holl bryniad, [der,
Crist yw'n conffordd, Crist yw'n Ceid-
wad.

7.

Crist, heb ddim ond Crist ei hunan,
Sy'n dad-ddigio Duw yn fuan;
Crist, heb ddim ond Crist yn unig,
Sy'n cyfiawnu dyn colledig.

8.

Crist, heb help na sant na santes,
Crist, heb gymhorth dyn na dynes,
Crist, heb neb ond Crist ei hun,[I]
Yw unig Geidwad enaid dyn.

9.

Crist yn unig ymdrabaeddodd
Yn y winwryf[J] pan y'n prynodd;
Ni bu neb o blant yr holl-fyd
Yn ei helpu i gadw ein bywyd.

10.

Ni wnaeth Peder ond ei wadu,[K]
Na'r 'postolion ond diflannu,[L]
Ni wnaeth Mair ond wylo'n irad,
Tra fu Crist yn chwareu'r Ceidwad.

11.

Ni ddug neb ond Crist ei hunan
Bwys a baich ein pechod aflan; [au,
Ni chwysodd neb o'r gwaed yn ddagr-
Ond Mab Duw, dan bwys ein beiau.

12.

Ni chroeshoeliwyd ond Crist Iesu
Am ein pechod,[M] wrth ein prynu;
Ni fu neb ond Crist ei hun
Yn boddhau Duw, yn iachâu dyn.

13.

Ni bu neb ond Crist ei hunan
Yn ein dwyn o feddiant Satan;[N]
Ni bu neb yn lladd, yn llyngcu,
Angau didrangc, ond Crist Iesu.

14.

Crist ei hun y lyngcodd angau,
Crist y 'speiliodd awdurdodau,
Crist y gwnnodd ein 'bligasiwn,[O]
Crist y dalodd werth ein pardwn.

15.

Crist yw'r prophwyd[P] mawr a helodd[Q]
Duw o'i fynwes, fry o'r nefoedd,
I fynegi ei 'wyllys hyfryd,
Gwrandawn arno dan boen bywyd.

16.

Crist yw'r sarph[R] o efydd breslyd,
Sy'n iachâu brath neidir danllyd;
Aw'n bob rhai â'n dolur atto,
Fe'n hiachâ ond edrych arno.

17.

Crist yw'r 'ffeiriad[S] mawr offrymmwys
Waed ei galon dros ei eglwys,
Ar y groes i'w Dad sancteiddiol,
Dros y byd i gadw'i bobol.

18.

Crist yw'n brenhin[T] grymmus, grasol,
Sydd trwy ras yn llywio ei bobol,
Ac yn gostwng eu gelynion,
Fel y gallont gael y goron.

19.

Crist yw'r bugail[U] sy'n bugeilia
Enaid Cristion rhag ei ddifa;
Ni chaiff llew, na blaidd, na llwynog,
Ddwyn o'i braidd nac oen na mam-
mog.

20.

Crist yw'n prins,[V] ein gwir dangnef-
A ddiffoddodd bob ddigllonedd; [edd,
A gwaed y groes, yn Dduw, yn ddyn,
Y gwnaeth o'r ddwyblaid ddig yn un.[W]

21.

Crist yw'r rhosyn[X] coch o Saron,
Sydd â'i liw'n confforddi'r[Y] galon,
Ac â'i arogl yn rhoi bywyd
I'r trwm feddwl a'r gwan yspryd.

22.

Crist ei hun yw'r balm[Z] o Gilead,
Sy'n iachâu pob archoll ddisprad,[A]
A roes Satan â dart[B] pechod
I'n heneidiau a'n cydwybod.

23.

Crist yw'r manna[C] ddaeth o'r nefo'dd,
Duw ei hun o'i ras a'i rhoddodd;
Y neb yn ffyddlon a'i bwyttao,
Ni ddaw byth ddim newyn arno.

24.

Crist yw oen[D] y pasg aberthwyd
Dros ein pechod pan groeshoeliwyd,
'R hwn sy â'i waed yn cadw'r enaid
Rhag i'r angel drwg ei 'sglyfiaid.

[H] Col. 1. 19, a 2. 10. [I] Esay 43. 3. Hosea 13. 4. [J] Esay 63. 3. [K] Mat. 26. 74. [L] Mat. 26. 56. [M] Esay 53. 5. [N] Heb. 2. 14, 15. [O] Rhwymedigaeth, sef ysgrifen-law yr ordinhadau. [P] Actau 7. 37. [Q] Ddanfonodd. [R] Num. 21. 9. Ioan 3. 14. [S] Heb. 9. 11—14. [T] Psalm 2. 6. Jer. 23. 5. [U] Mat. 2. 6. Ioan 10. 11—28. [V] Tywysog. Esay 9. 6. [W] Eph. 2. 14. [X] Esay 35. 1, 2. [Y] Cysuro. [Z] Jer. 8. 22. [A] *Desperate*, anobeithiol. [B] Picell. [C] Exod. 16. 15. Ioan 6. 31—58. [D] Exod. 12. 8—11. Ioan 1. 29.

25.

Crist yw'n hallor [E] arogldarthu,
Ar yr hon y mae aberthu
Pêr aroglau, mawl a gweddi,
Foreu a hwyr i Dad goleuni.

26.

Crist yw meddyg [F] y Crist'nogion,
'R hwn â gwerthfawr waed ei galon
Sy'n iachâu archolion pechod,
Pan na'll dim amgenach gydfod.

27.

Crist yn unig yw'n cyfryngwr,[G]
Sy'n cymmodi â'n Creawdwr;
Nid oes neb ond Crist ei hun
All gymmodi Duw a dyn.

28.

Crist yw'r twrnai [H] sydd yn dadleu
O flaen Duw am faddeu'n beiau,
Pan bo Satan yn cyhuddo,
Ac yn canlyn grawnt [I] i'n plagio.[J]

29.

Crist yw'n brenhin, Crist yw'n 'ffeiriad,
Crist yw'n prophwyd, Crist yw'n ceidwad,
Crist yw'n bugail, Crist yw'n barnwr,
Crist yw'n pen, a Christ yw'n prynwr.

30

Crist cyn cynfyd ydyw'r Alpha,[K]
Crist heb derfyn yw'r Omega;
Dechreu, diwedd iechydwriaeth
Meibion dynion, a'u dyrchafiaeth.

31.

Crist yw dewr gongcwerwr angau,
Crist a'i 'speiliodd o'i holl arfau,
Crist a lyngcodd angau melyn,
Crist a dynnodd ffwrdd ei golyn.

32.

Crist sy'n cadw'r holl allweddau
Sydd ar uffern ac ar angau;
Ni faidd diawl nac angau dwtsio [L]
Neb, nes cael gan Grist ei lwo.[M]

33.

Crist yw'r pelican cariadus,
Sydd â gwaed ei galon glwyfus [N]
Yn iachau ei adar bychain,
Gwedi'r sarph eu lladd yn gelain.

34.

Crist yw'r pelican trugarog,
Sydd â gwaed ei galon serchog
Yn iachâu ei frodyr priod,
Gwedi'r diawl eu lladd â phechod.

35.

Nid oes eli ag a wnaethpwyd,
Nac un fetswn [O] a ddych'mygwyd,
All iachâu un archoll pechod,
Ond gwaed Crist, gwir eli'r Drindod

36.

Crist yw'r perl [P] a ddylem 'mofyn,
Nid tlawd perchen cyfryw berlyn;
Dos dros fôr a thir i'w geisio,
Gwerth sydd gennyt cyn bod hebddo.

37.

Crist ei hun a wnaeth ein heddwch,[Q]
Crist a brynodd ein dedwyddwch,
Crist a'n gwnaeth yn feibion Duw,
Crist a'n cadwodd oll yn fyw.

38.

Crist ei hun a wnaeth y cwbwl
Y dynnodd enaid dyn o'i drwbwl;[R]
Nid neb, nid dim, ond Crist ei hun,
Gan Dduw a gadwodd enaid dyn.[S]

39.

Ni bu angel, ni bu prophwyd,
Ni bu sant, na dyn a fagwyd,
Ni bu neb ond Crist ei hun
Yn gweithio iechydwriaeth dyn.

40.

Ni fynn Duw na chymhorth angel,
Cyfrwng sant, na'i draul, na'i drafel,[T]
Gwaed merthyri, na gwaith dynion,
Ond gwaith Crist i gadw Cristion.

41.

Crist yw'r iawn sydd am ein pechod,[U]
Iawn amgenach ni all gydfod;
Ni fynn Duw am bechod drewllyd
Iawn sydd lai nâ gwaed ei Anwylyd.

42.

Na ddod waed na gweithred undyn
Gyd â gwaed dy Brynwr purwyn;
Ni chyttuna, tra fe'ch byw,
Waed pechadur â gwaed Duw.

43.

Gwaed yr Iesu, gwaed y cymmod,
Ydyw'r gwaed sy'n golchi pechod;[V]
Ni all gwaed yr holl ferthyri
Olchi ffwrdd y lleia' o'th frynti.

[E] Exod. 30. 1. [F] Marc 2. 17. [G] 1 Tim. 2. 5. [H] *Attorney or advocate*, dadleuwr, eiriolwr. [I] *Grant*, cennad, caniattad. [J] *Plague*, blino, poeni. [K] Dat. 1. 11, a 21. 6. [L] *Touch*, cyffwrdd. [M] *Allow*, caniattau. [N] Credwyd gynt fod yr aderyn hwn yn clwyfo ei hunan, ac â'i waed ei hun yn iachâu ei gywion, wedi eu brathu gan sarph; ac os yw hynny yn chwedl wrachïaidd mewn perthynas â'r aderyn, y mae yn wirionedd anwadadwy yn ei chymhwysiad at Grist. [O] *Medicine*, meddyginiaeth. [P] Mat. 13. 45, 46. [Q] Eph. 2. 14. Col. 1. 19. [R] Trallod. [S] Esay 43. 11, a 45, 22. [T] *Travail*, trafferth. [U] 1 Ioan 2. 2. [V] 1 Ioan 1. 7.

44
Nid gwaith saint, nid gwaith angylion,
Ydyw cadw enaid Cristion,
Gwaith ein Prynwr Crist yn unig [W]
Sydd yn cadw dyn colledig.

45
Gwaith dwy natur mewn un person
Sydd yn cadw enaid Cristion;
Rhaid i'n Prynwr Duw a dyn [X]
Weithio'r gwaith cyn cadwer un.

46
Nid gwaith Duw na dyn neillduol,
Ond gwaith Duw a dyn cyssylltiol,
O ddwy natur mewn un person,
Sydd yn cadw enaid Cristion.

47
Rhaid i'th Brynwr fod yn Dduw,
Ac yn ddyn, (er tolwg [Y] clyw,)
Cyn y galler cadw d' enaid,
Na'i ryddhau o boen afrifaid.

48
Rhaid ei fod e'n Dduw galluog,
I ddad-ddigio d' Arglwydd llidiog,
A'th ryddhau o feddiant Satan,
A'th elynion fawr a bychan.

49
Rhaid ei fod e'n ddyn difrychau,[Z]
I gael marw dros dy feiau,
A'i farwolaeth yn cystadlyd
A marwolaeth pawb o'r holl-fyd.

50
Nid oes yn y nef na'r ddaear,
O'r fath Brynwr perffaith hygar,
Ond y gair a wnaed yn gnawd,
Iesu Grist, ein Duw [A] a'n brawd.[B]

51
Nid oes neb gan hynny ddichon
Gadw enaid unrhyw Gristion,
Ond y Prynwr mawr, Crist Iesu,[C]
Duw a dyn a fu'n ein prynu.

52
Nid oes iechydwriaeth ddiwall
I ni gaffael mewn neb arall,[D]
Ond y gaffom yng Nghrist Iesu,
'R hwn ordeiniodd Duw i'n prynu.

53
Nid oes enw tan y nefoedd [E]
Gwedi'i roddi i ni'r bobloedd,
All ein gwneuthur yn gadwedig,
Onid enw'r Iesu'n unig.

54
Ni fynn Duw ond Crist ei hunan,[F]
Ni fynn Duw un partner [G] aflan,
I gydweithio gyd â'i Anwylyd
Yn y gwaith sy'n cadw'r holl-fyd.[H]

55
Ni fynn Mab Duw neb yn bartner
I gydweithio gwaith dau-hanner;[I]
Yn y gwaith o'n hiechydwriaeth,
Nid neb teilwng o'r gwmpnïaeth.

56
Fe fynn naill ai bod yn hollol
Yn Iachawdwr idd ei bobol,
Neu ni fwrw byth ynghŷd
A chreadur sy'n y byd.

57
Ni fynn Crist roi i sant nac angel,
Dyn, na delw o un fettel,
Bart na pharsel, rhan na chyfran,
O'r gogoniant sy iddo'i hunan.[J]

58
Os bydd unrhyw ddyn mor anghall
Ag ymofyn Ceidwad arall,
Cym'red hwnw yn achubydd,
A gadawed Grist yn llonydd.

59
Ceisied eraill saint a delwau,
A'u gwaith gwael i gadw eu 'neidiau,
Ni chais f' enaid archolledig
Geidwad byth ond Crist yn unig.[K]

60
Duw rho imi dy Anwylyd,
Crist yw'r arch 'rwy'n ceisio gennyd,
Rho imi fynnech gyd â hynny,
Rhoist im' ddigon os rhoi'r Iesu.

61
Duw rho imi Grist yn geidwad,
Crist yn frenhin, Crist yn 'ffeiriad,
Crist yn brophwyd, Crist yn brynwr,
Crist yn help ym mhob cyfyngdwr.

62
Os caf ddim ond Crist ei hunan,
Gan fy nefol Dad i'm cyfran,
Mi gaf ddigon yn fy nghist,
Er na chaffwyf ddim ond Crist.

63
Os caf fi Grist, fe dry fy rhyw
O fab i'r fall yn blentyn Duw,
O ddyn ar goll, o slaf [L] i Satan,
Yn wir aelod iddo ei hunan.

[W] Esay 43. 11. Act. 4. 12. [X] 1 Tim. 2 5. [Y] Attolwg. [Z] Heb. 7. 26. [A] Rhuf. 9. 5. [B] Heb. 2. 11. [C] Esay 45. 21. Act. 4 12. [D] Hos. 13. 10. [E] Act 4. 12. [F] Mat. 17. 5. [G] Cyfrannog, cydymmaith. [H] Ioan 1. 29. [I] Esay 42. 8. [J] Esay 42. 8. [K] Hos 13. 4. [L] Caethwas.

64.
Er cael aur, ac er cael arian,[M]
Er cael tai a thiroedd llydan,
Beth wyf nes er cael pob cyfraid,
Nes cael Crist i gadw f' enaid?

65.
Tynn fy llygaid, tynn fy nghalon,
Tynn fy ngolud, a'm cyfeillion,
Tynn y cwbwl oll sydd gennyf,
Cyn y tynnech Grist oddiwrthyf.

66.
Sonied milwyr am ryfela,
Sonied morwyr am dda'r India,
Sonied carl[N] am lanw'i gist,
Sonied Cristion byth am Grist.

## IX.—CRIST YN CAEL EI BORTREIADU TRWY Y CYSGODAU IUDDEWIG.[A]

### Y DRYDEDD RAN.

1.
Arglwydd Ceidwad seliau'r[B] nefoedd
Ydyw Crist, a Duw y lluoedd,
Privy Couns'lor Duw gorucha',
Meistyr grymmus meirch Jehofah.

2.
Ni ddaw un o'r meirch i ma's,
Na'r dû, na'r gwyn, na'r coch, na'r glas,
Nes selio Crist gommissiwn[C] iddynt;
Hwy ânt, hwy ddônt, pan dd'wetto wrthynt.

3.
Ni ddaw rhyfel, ni ddaw newyn,
Ni ddaw angau glas â'i derfyn,
Ni faidd uffern fyn'd na dwad,[D]
Ond wrth bermissiwn[E] Crist a'i gennad.

4.
Brenhin nef, Creawdwr daear,
Rheolwr mawr y pwll anhygar,
Rheolwr rhwysg a thonnau'r moroedd,
Yw Crist, ac Arglwydd mawr y gwyntoedd.

5.
Y mae'r diawl yn rhwym wrth gadwyn,[F]
Crist osododd arno drwynffrwyn;
O hyd y lein[G] fe all ein crafu,
Ni faidd er hyn ein cnoi na'n llyngcu.

6.
Congcwerodd Crist ein holl elynion,
Y byd drwg a'i chwantau bryntion,
A'r angau glas[H] a'r bedd lludylyd,[I]
Y diawl a'i blant, ac uffern danllyd.

7.
Crist yw'r oen a ga's ein pardwn,
A'r allor sy'n cyssegru'n hoffrwm,
Y lafer[J] aur sy'n golchi'n brynti,
A'r arch a'n cadwodd rhag ein boddi,

8.
Crist yw bywiol bren y bywyd,
Sy'n rhoi i'r saint drag'wyddol iechyd,
Crist yw'r manna sy'n eu porthi,
A'r dw'r bywiol sy'n eu llonni.

9.
Crist yw'r demel sy'm mharadwys,
Crist yw'r haul sydd ynddi heb orphwys,
Crist yw ei llewyrch a'i goleuni;
Lle bo Crist ni bydd tywyllni.

10.
Crist yw'r oen,[K] a'i wraig yw'r eglwys,
Swpper Crist yw gwledd paradwys;
Y cann a'r gwin, y manna a'r ffrwythau,
Yw Crist ei hun, y penna' o'r seigiau.

11.
Crist yw'r cann, a fflŵr[L] y gwenith,
A falodd Duw dan faen y felldith,
I'w roi drosom yn fwyd-offrwm,
Ac yn iawn i dalu'n rhanswm.[M]

12.
Crist yw'r anner goch ddi-nam
Offrymmai'r bobol dros eu cam,
Gwaed a lludw'r hon a burai
Bob dyn ffyddlon a'u derbyniai.

[M] Jer. 9. 23, 24. [N] *Carl*, cybydd.

[A] Gadewir y Gân hon allan yn hollol yn yr Argraphiadau cyffredin. [B] Cyfeirir yma at brif swyddogion y deyrnas, ym mhlith y rhai un o'r pennaf gynt oedd Arglwydd Ceidwad y Sêl Fawr, *(Lord Keeper of the Great Seal,)* yr hon swydd a weinyddir yn bresennol gan yr Arglwydd Ganghellwr. *Privy Councillor* sydd aelod o Ddirgel Gynghor y Brenhin; a Meistr y Meirch yn un o'r swyddogion a berthynant i'r Llys. [C] Awdurdod, yr hon a roddir yn fynych ar femrwn neu bapur, ac nid yw mewn grym nes ei selio. [D] Dyfod. [E] Caniattad. [F] Dat. 20. 1. [G] *Line*, llinyn, hyd ei gadwyn. [H] Psalm 68. 20. [I] Llawn o lwch a lludw. [J] *Laver*, noe, golchfa. [K] Dat. 19. 7. [L] *Flour*, peilliaid. [M] Pridwerth.

13.
Crist yw'r deryn bach a laddwyd
Drosom ni, oedd glaf o'r 'nafwyd,[N]
Ac a gawsom lwyr ddihangyd,
Am i'r 'deryn golli'i fywyd.

14.
Crist yw pennaeth yr angylion,[O]
Crist yw unig geidwad dynion,
Crist yw barnwr y cythreuliaid,
Crist yw pen yr holl greaduriaid.

15.
Crist yw'r dechreu, Crist yw'r Alpha,[P]
Crist yw'r diwedd, yr Omega,
Crist yw'r cwbwl oll ei hun,
Dechreu a diwedd iechyd dyn.

## X.—HYMN I'W CHANU AR WYLIAU NADOLIG, YN LLE OFEREDD.

1 Hil Adda[A] gamweddus,
Plant Efa drafaelus,
A deiliaid gofidus Gehenna,[B]
Dihunwch, dihunwch,
O'ch trymder a'ch tristwch,
Daeth i chwi ddiddanwch o'r mwya'.[C]

2 Can's heddyw, (medd Gabriel.
Tra geirwir ei chwedel,
Negeswr o gwnsel[D] Jehofah,)
Y ganed[E] y Prynwr,
Crist Iesu'u Hiachawdwr,
Mab Duw, ein Hachubwr yn benna.'

3 Gan hynny crechwenwch,
A gwir orfoleddwch,
A chenwch, a seiniwch Hosanna
I Dduw'n yr uchelder,
I'r ddaear esmwythder,
I ddynion y mwynder o'r mwya'.[F]

4 Can's hwn ydyw'r hedyn,
Yr helpwr, a'r himpyn,[G]
Addawyd o'r wreigyn i Adda,
I 'sigo siol Satan,
A'r sarph dan ei wadan,
Pan helwyd[H] o'r berllan bar'dwysa'.

5 A dyma'r Messias
Addawodd Micheas,[I]
O Fethlehem, dinas Ephratah,
Y genid i'r bobol,
Yn frenhin trag'wyddol,
I'w harwain i'r nefol arosfa.
Gan hynny crechwenwch, &c.

6 Chwi glywsoch i Satan
Gynt dwyllo'n y berllan,
A'i hocced, y wreigan, hen Efa,
I fwytta'n rhy flysig
Yr afal gwa'rddedig,
A chwedi'n rhoi 'chydig i Adda.[J]

7 Pan demtiodd y gelyn,
A'r afal y ddeu-ddyn,
I dorri gorchymyn Jehofah,
F' aeth Adda a ninnau
Yn euog o angau,
Ac uffern a'i phoenau diffeitha'.

8 O uffern ac angau,
Nid oedd neb a allai
Ein prynu trwy boenau, pwy bynna',
Ond unig Fab calon
Yr Ustus[K] tra chyfion,
Ddigiasom mor greulon o'r cynta'.

9 Na'r Mab hwnnw yntau,
Heb iddo ddioddo',
Ar grog-pren yr angau diffeitha',
Gan wir gym'ryd arno
Gnawd dyn i'w groeshoelio,
A throsom ddad-ddigio Jehofah.

10 Ac os Duw ni fynnai
Roi'i Fab i ddioddo',
I gadw'n heneidiau rhag poenfa;
Mewn carchar uffernol,
A phoenau trag'wyddol,
Y buasai'r holl bobol pwy bynna'.

11 Pan welodd Duw grasol
Ein 'stad[L] mor dosturiol,
O'i gariad rhagorol yn benna',
F' addawodd ein helpu,
Trwy ddanfon i'n prynu
Ei un Mab Crist Iesu anwyla'.

[N] Anafod, gwahanglwyf pechod. [O] Phil. 2. 10. Dat. 5. 11. [P] Dat. 21. 6.

[A] S. Hughes, yn ei Ragymadrodd, a achwyna fod y Gân "Hil Adda" yn ammherffaith yn yr holl gopiau ag a welodd efe, a'r cynllun o honi a orfu arno ei argraphu, yw yr un a ddilynir yn gyffredin: rhoddir hi yma yn y dull y gadawyd hi gan y Ficer. [B] Uffern. [C] Esay 49. 9. [D] *Council*, cynghor. [E] Luc 2. 11. [F] Luc 2. 14. [G] Zech. 6. 12. [H] Gyrrwyd. [I] Micah 5. 2. Mat. 2. 6. [J] Gen. 3. 6. [K] *Justice*, ynad, barnwr. [L] *State*, cyflwr.

12 A chymmaint oedd cariad
Y grasol Uchel-dad
Tu ag attom blant anllad hen Adda,
Ag y rhoi ei Anwylyd.
I'w grogi'n anhyfryd,
I brynu ein bywyd o boenfa.

13 Ac felly pan gwelas
E'r amser yn addas,
Fe helodd[M] o'i deyrnas bar'dwysa',
I'r ddae'ren anhyfryd,
Ei unig Anwylyd,
Ein cnawd i gymmeryd yn gynta'.

14 A chnawd dyn y gymmerth
Ein Prynwr yn brydferth,
O Fair wen, yr eneth anwyla',
Yn daran rhyfeddol,
Trwy'r Yspryd sancteiddiol,
Heb weithred dyn cnawdol, na'i goffa.
Gan hynny crechwenwch, &c.

15 Chwi welwch bawb weithian
Mai dattod[N] gwaith Satan,
A'n cynnull o'r gorlan dywylla',
Y daeth Mab yr Arglwydd
O'r nef yn ei unswydd,
I'n cadw rhag gw'radwydd a phoenfa.

16 Hen Adda a'n taflwys
I uffern heb orphwys,
O berllan Baradwys esmwytha';
Crist yntau a'n cododd
O uffern i'r nefo'dd,
I dario[O] yn llysoedd Jehofah.

17 Y goll'som yn warthus
Trwy Adda drachwantus,
Yn ddigon anhappus o'r cynta',
Ni gawsom drachefn,
On'd gwych oedd y fforten,[P]
Pan anwyd y bachgen Messiah.

18 Can's Satan orchfygwyd,
Ac angau gonewerwyd,
Ac uffern a 'speiliwyd yn 'spwylfa,[Q]
Eneidiau plant dynion,
O grampau[R] 'r gwŷr duon,
A gariodd[S] y gwirion Fessiah.

19 Duw Dad a ddad-ddigiwyd,
Ein rhanswm[T] a dalwyd,
A'n pardwn a seliwyd o'r siwra';
Crist a'i pwrcasodd,
A'i fywyd fe'i prynodd,
A'r byd fe'i gwaredodd o boenfa.
Gan hynny crechwenwch, &c.

YR AIL RAN.

1 DYMA'R Had dinam
Addawyd i Abra'm,
Mor fynych o'n hen fam ni Sarah;
A'i heppil lin-o-lin,
Hyd Ddafydd y brenhin,
O Jesse y gwreiddyn[A] rhiala'.[B]

2 A thyma i chwi'r Silo,
Oedd Jacob yn sonio,
A ddeuai i'n bendithio o Judah,[C]
Pan ddygid y goron
Oddiar yr Iuddewon,
A'i rhoddi i estron[D] 'Dumea.

3 A thyma i chwi'r prophwyd,
A'r brenhin addawyd,
A'r 'ffeiriad a 'bwyntiwyd yn benna',
I offrwm ei hunan
Yn aberth bereidd-lan,
I ddattod gwaith Satan fileina'.

4 A thyma'r prins[E] addfwyn,
Emmanuel irfwyn,
Mab grasol y forwyn Fariah,
Addawyd i Achas,
Trwy'r prophwyd Esaias,[F]
I'n harwain i deyrnas bar'dwysa.'
Gan hynny crechwenwch, &c.

5 Ond rhyfedd, rhyfeddod!
Fe aned heb bechod,
O forwyn yn gwrtaod â gŵra,
Yn berffaith ddyn cnawdol,
(Heb weithred gorphorol,)
Trwy'r Yspryd sancteiddiol gorucha'.

6 Can's merch wrth feichiogi,
A merch wrth esgori,
A merch wedi geni'r mab cynta',
Oedd Mair pan y magodd,
A merch pan briododd,
A merch pan ddepartiodd[G] oddiyma.

[M] Danfonodd. [N] 1 Ioan 3. 8. [O] *Tarry*, trigo, preswylio. [P] *Fortune*, llwydd, tynged dda. [Q] Anrhaith. [R] Crafangau. [S] *Carry*, dwyn, cludo. [T] Pridwerth.

[A] Rhuf. 15. 12. [B] Boneddiccaf. [C] Gen. 49. 10. [D] Sef Herod, gŵr o Idumea. [E] Tywysog. [F] Esay 7. 14. [G] Ymadawodd.

7 O waith i Grist gym'ryd
Ein poenau a'n penyd,
Fe aned i'r trist-fyd yn llwmma',
Mewn 'stabal anghymmen,
Yn mhreseb yr ychen,
Lle trow'd ef mewn gwlanen o'r [tlotta'.

8 Ac etto er peri
I'r byd ei addoli,
Er maint oedd ei dlodi a'i lwmdra,
Fe wnaeth Duw i seren,
Mor ddisglaer a'r haulwen,
I'w waitio [H] 'n yr wybren isela'.
Gan hynny crechwenwch, &c.

9 Daeth hefyd wŷr doethion,
*Astronomers* [I] mawrion,
Brenhinoedd o galon Caldea,
Bob un ar ei ddeulin,
I'w 'ddoli'n ei rwymyn,
Eu gwir Dduw a'u brenhin arbenna'.

10 Tair anrheg ragorol,
Yn gweddu'n berth'nasol
At swyddau neillduol Messiah,
Offrym'sant hwy hefyd
I'r brenhin bach hyfryd,
Aur, thus pereroglyd, a myrrha.

11 Daeth hefyd angylion
I fyneg' i ddynion,
Mai ef oedd yr union Fessiah,
A'r Ceidwad, a'r Prynwr,
A'r unig Iachawdwr,
Addawsai'r Creawdwr o'r cynta'.

12 Y nefoedd agorodd,
A'r ddaear oleuodd,
A'r angel a lefodd yn lewa',
*Gloria in excelsis,*
*Pax et in terris,* [J]
Pan ganed prins [K] happus Ewropa. [L]
Gan hynny crechwenwch, &c.

13 Can's dyma'r Oen gwirion
A laddai'r Iuddewon,
Etifedd gwynn tirion Jehofah;
Dymuniad tra hyfryd
Cenhedloedd yr holl-fyd,
Ein conffordd a'n hiechyd gorucha'.

14 A thyma'r maen sicir
Wrthodai'r adeilwyr, [Judea;
Maen tramgwydd, craig rwystyr
Ein perl a'n prins ninnau,
Yr holl genhedlaethau,
Grist'nogion sy'n adde'r Messiah.

15 A chymmaint oedd cariad
Crist attom yn wastad,
Ei frodyr tra irad eu poenfa,
Ag y rhoi yn daubaid
Ei fywyd a'i enaid,
I farw dros ddefaid ei borfa.

16 Yr angau haeddasom
Fe'i talodd ef drosom,
A'r ddyled adawsom heb gwpla,
Y 'sgrifen fe'i torrodd,
Y fforffet [M] fe'i talodd,
A'n pardwn fe'i prynodd o'r pritta'. [N]
Gan hynny crechwenwch, &c.

17 Gwaed gwerthfawr ei galon,
A'i fywyd gwynn, gwirion,
Offrymmodd ef drosom yn fwyna',
Yn aberth i'r Drindod,
Trwy g'wilydd a dannod,
Yn rhanswm [O] dros bechod pwy [bynna'.

18 Dros bechod yr holl-fyd
Offrymmodd ei fywyd,
I'w prynu o'u penyd a'u poenfa;
Os ynddo y credwn,
Mae'n siwr [P] i ni bardwn,
Heb ddansier [Q] o ddwnsiwn [R] Gehen- [na. [S]

19 Er bod ein pechodau
Heb fesur na phwysau,
A'n brynti fel pentre' Gommorrah,
Etto os credwn,
A gwella tra gallwn,
Fe bair i ni bardwn i bara.

20 Un droppyn sancteiddlon
O wir waed ei galon,
All olchi'n holl ffinion [T] ddiffeithdra,
Po baent hwy cyn goched
A'r pwrpwl [U] neu'r sgarled,
A'u gwneuthur cyn wynned a'r eira.
Gan hynny crechwenwch, &c.

[H] Disgwyl. [I] Seryddion. [J] Gogoniant yn y goruchaf, ac ar y ddaear tangnefedd. [K] Tywysog. [L] Pan ysgrifenwyd y geiriau hyn, yr oedd teyrnas y Messias wedi ei chyfyngu o fewn Ewropa; ac, oddi eithr yn America, nid yw wedi ei helaethu ond ychydig wedi hynny. Prysured y dydd pan gymmero Efe y cenhedloedd yn etifeddiaeth iddo, a therfynau'r ddaear i'w feddiant. [M] Dirwy. [N] Druttaf. [O] Pridwerth. [P] Sicr. [Q] *Danger*, perygl. [R] *Dungeon*, carchar dan y ddaear. [S] Uffern. [T] Ffieidd, atgas. [U] Porphor.

21 Weithian os credu
A wnawn ni i'r Iesu,
A chwympo i'w was'naethu'n ufudda',
Fe ddwg ein heneidiau
I'r nef lle mae yntau,
I ganu hoff hymnau Jehofah.

22 Lle mae mwy hyfrydwch
A nefol rialtwch,[v]
Llawenydd a heddwch o'r hwya',
Nag allodd clust glywed,
Na llygad ei weled,
Na chalon ystyried pwy bynna'.

23 Moliannwn gan hynny
A'r eithaf o'n gallu,
Ein Prynwr, Crist Iesu anwyla',
Am brynu'n heneidiau
Drwy chwerw loes angau,
O uffern a'i phoenau diffeitha'.

24 A molwn yn wastod
Bob person o'r Drindod,
Mewn Undod, mor barod er Adda,
I'n prynu mor rasol,
O'r carchar uffernol,
A'n tynnu i'r nefol orphwysfa.

25 Ac felly crechwenwn,
A chyd-orfoleddwn,
A chanwn, a seiniwn Hosanna
I Dduw'n yr uchelder,
I'r ddaear esmwythder,
I ddynion y mwynder o'r mwya'.

26 Os gofyn rhai'n unlle,
Pwy wnaeth hyn o hymnau,[w]
Er cofio mawr ddoniau'r Messiah;
Bugail Eglwysig,
O galon garedig
At ddefaid cadwedig y borfa.

## XI.—CYNGHOR I BECHADUR I DDYFOD AT GRIST.

1 Dewch bawb sy'n drwm-lwythog
Dan bechod a bai,
Dewch at eich Iachawdwr
Sy'ch gwahodd bob rhai,
I laesu'ch trwm-lwythau,
A'ch blinder, a'ch cryd;
Mae'n addo'ch reffressio,[A]
Dewch atto mewn pryd.

2 Dewch bawb at eich Ceidwad,
Eich Prynwr, a'ch Pen,
A'ch Brenhin, a'ch Prophwyd,
A'ch 'Ffeiriad, a'ch Llen,
A'ch Meddyg, a'ch Bugail,
A'ch Castell, a'ch Craig,
A'ch unig Iachawdwr,
Congcwerwr y ddraig.

3 Dewch bawb at Grist Iesu,
Sy'n gwawdd pawb mor fwyn
I ddyfod hyd atto
I wneuthur eich cŵyn;
Ond dangos eich dolur,
Bid fawr, bydded fach,
A deisyf ei gymhorth,
Fe'ch hela[B] 'n holl iach.

4 Fe'ch dad-ddrys o'ch tristwch,
Fe'ch gwna yn wŷr rhydd,
Fe dâl eich holl ddyled,
Fe'ch cymhorth yn brudd,
Fe laesa'ch trwm lwythau,
A'ch dagrau fe'u sych,
Fe g'weiria'ch archollion,
Fe'ch gwna chwi'n holl wych.

5 Fe wna heddwch rhyngoch
A'r Barnwr, ei Dad,
Fe fynn i chwi bardwn
Trwy bridwerth ei wa'd,
Fe'ch dwg chwi drachefen
Mewn ffafar â Duw,
Fe'ch ceidw mewn cariad
Tra fyddoch chwi byw.

6 Fe'ch gylch o'ch pechodau
A'i waed bob yr un,
Fe esyd byth ynoch
Ei Ysbryd ei hun;[C]
Fe'ch gwna chwi yn feibion,
Yn ferched, i'w Dad,
A chyd-etifeddion
O'i deyrnas yn rhad.

7 Fe droedia'ch gelynion,
Fe'u teifl i'r llawr,
Fe ddwg eu holl arfau,
Fe'u dylud[D] fel cawr,
Fe dynn eu holl gryfder,
Fe ddadwraidd eu nŷth,
Fe'ch gwna yn gongcwerwyr
Ar Satan dros byth.

[v] Gogoniant, gorfoledd. [w] Sef y ddwy ran o'r Gân. [A] Dadflino, adfywio. [B] Gwna. [C] Ezec. 36. 27. [D] Erlid.

8 Pe gwypech blant dynion
Mor dost ydyw'ch câs,
A'ch cyflwr colledig,
Heb nerth Duw a'i ras,
Ni chysgech, ni fwyttech,
Nes dyfod at Grist,
I wella'ch tost gyflwr,
A chalon drom drist.

9 Beth ŷm ni'r rhai goreu
Wrth natur a rhyw,
Ond plant i'r digofaint,
Heb gyfnerth Mab Duw,
A gweision i bechod,
A slafiaid i'r fall,
A thanwydd i uffern,
Plant angau di-ball?

10 Mae pawb wedi 'nurddo [E]
Gan bechod, Och! Och!
Cyn ddued a'r Moyrys,[F]
Cyn frynted a'r moch;
Rhaid dyfod at Iesu
I newid ein grân,[G]
I olchi'n haflendid,
Cyn gwneler ni'n lân.

11 Fe wnaeth yr hen Adda
Ni'n 'lynion i Dduw,
Yn blant i'r digofaint,
Heb ddim modd i fyw;
Rhaid dyfod at Iesu
I'n cymmod â'i Dad,
Cyn gwneler ni'n feibion
Trwy fabwys a rhad.

12 Fe dynnodd y gelyn
Bob dyn idd ei rwyd,
A'r afal gwa'rddedig,
Trwy wall Efa lwyd;
Ni thorrir y groglath,
Ni'n tynnir ni ma's,
Nes tynno'r hael Iesu
A'i rym ac â'i ras.

13 Mae'n henaid fel dafad
Yn safan y blaidd,
Yng nghrafangc y gelyn,
A diangc nis baidd;
Rhaid cymhorth y bugail
Crist Iesu, a'i ras,
Cyn tynner un enaid
O'i grafangc i ma's.

14 Mae'r angel dinystriol
Goruwch ein holl dai,
Yn ceisio'n distrywio,
Waith cymmaint ein bai,
Rhaid iro'n cynnorau [H]
A gwaed un Mab Duw,
Cyn passio [I] 'r dinystrydd
A'n gadael yn fyw.

15 Y mae holl blant dynion
Dan feddiant y fall,
Mewn dwnsiwn dû tywyll,
Yn gorwedd yn ddall,
Wrth gadwyn o bechod,
Nes delo Mab Mair
I'n tynnu o'r carchar
A'i ras ac â'i air.

16 Ni thynnir dyn allan
O deyrnas y fall,
A'r pechod, lle'r erys,
Gwnaed pawb oreu ag all,
Nes rhwymo Crist Satan
Trwy gryfder a ffors,[J]
A thynnu dyn allan
Fel 'nifail o'r gors.

17 Mae pawb mewn tywyllwch
Wrth natur yn byw,
Yng nglynn cysgod angau,
Heb 'nabod o Dduw;
Mae'n rhaid i Grist Iesu'n
Goleuo â'i ras,
A'n tynnu o'r t'wyllwch
Cyn deler i ma's.

18 Mae pechod mor freulyd,
Mor ddrewllyd, mor grai,
Yn 'nurddo, yn 'nafu,
Yn 'ffecto [K] pob rhai;
Ni olchir, ni thynnir,
Ni flottir [L] i ma's,
Nes golcho gwaed Iesu,
Mae'i frynti mor gas.

19 Mae pechod fel mynydd
O blwm ar ein gwarr,
Mae'n gwasgu cyn drymmed
Nes plygu pob garr,
Fe'n hola [M] trwy 'r ddaear
I uffern yn grwn,
Oni ddown at Grist Iesu
I laesu'r fath bwn.

20 Mae'r fall fel gŵr cadarn,
Yn arfog heb grŷn,
Yn cadw goresgyn
O galon pob dyn;

[E] Wedi eu hanurddo. [F] *Moors*, dynion duon Affrica. [G] Gwedd. [H] Pyst y drysau. Exod. 12. 7—13.
[I] Cyn elo'r dinystrydd heibio. [J] *Force*, nerth. [K] *Infect*, rhoddi haint glynol iddynt. [L] Dileir. [M] Gyrr.

Ni ddichon yr holl-fyd
Ei daflu o'i blas,[N]
Nes delo Crist attom,
I'w dwmblan[O] i ma's.

21 Mae'r fall wedi'n clwyfo
A'n brathu bob rhai,
Mae'n harcholl yn rhedeg
Bob amser heb drai;
Ni ddichon un meddyg
Dan haul ein hiachâu,
Nes delo Crist attom
A'i waed i'n glanhau.

22 Fe ddygodd y gelyn
Ein trwsiad a'n gras,
Fe'n gadodd yn groenllwm,
Yn noeth ac yn gas;
Dewn at ein brawd hynaf,
Crist Iesu, bob un,
Fe guddia'n holl noethder
A'i ddillad ei hun.

23 Mae pawb gwedi marw
Mewn pechod bob pryd,
Heb allu i wneuthur
Daioni'n y byd,
Nes delo'r bywiawdwr,
Crist Iesu, i'n bywhau,
A'n codi o bechod,
Ac felly'n cryfhâu.

24 Dewch at y sarph efydd,
Dangoswch eich clwyf,
Lle brathodd y neidir
Chwi'n fynych trwy'r nwyf,
Edrychwch yn graffus
At Grist ar y groes,
Fe red yr holl wenwyn,
Fe ddofa'r holl loes.

25 Danghoswch eich dolur
I'ch Prynwr heb a'th,[P]
Ni fu dan y nefoedd
Un meddyg o'i fath,
Pob archoll, pob dolur,
Pob pechod, pob crach,
A phur waed ei galon
Fe'u gyrr yn holl iach.

26 Ni ddichon nac eli,
Na medswn,[Q] na maeth,
Na physyg, na phlastar,
Na llysiau, na llaeth,
Na dim ag a enwir,
Ond gwaed Iesu Grist,
Iachâu archoll pechod,
Mae'r archoll mor drist.

27 Mae llawer all hela[R]
Cornwydion yn iach,
A'r frech fawr, a'r crygau,
A'r claf-gwa'n, a'r crach;
Ni ddichon meddygon
Y byd cymmain[S] un
Iachâu archoll pechod,
Ond Mab Duw ei hun,

28 Ni ddichon angylion
Er amled eu rhi',
Er cymmaint eu cryfdwr,
Er cystal eu bri,
Gadw un enaid
Rhag myned ar goll,
Nes cadwo Crist Iesu,
Ein helpwr ni oll.

29 A'r saint a'r santesau,
Pet faent[T] oll ynghyd,
Er amser hen Adda
Hyd ddiwedd y byd,
Ni allent hwy gadw
Un enaid tra'nt[U] byw,
Rhag myned i uffern,
Heb gymhorth Mab Duw.

30 Pe rhoddit yn offrwm
'Nifeiliaid y byd,
Afonydd o olew,
A'th olud i gyd,
A'th gyntaf-anedig,
A'th fywyd, a'th wa'd,
Ni chedwit di d' enaid
Heb help y Mab rhad.

31 Pe chwilit ti'r nefoedd,
A'r ddaear ynghyd,
A'r awyr, a'r moroedd,
Hyd ddiwedd y byd,
Ni elli di ganfod
Tra fyddit ti byw,
Un ceidwad i'th enaid,
Ond unig Fab Duw.

32 Nac ymgais am geidwad
Heb law Crist ei hun,
Mae'n Geidwad galluog,
Yn Dduw, ac yn ddyn,
Nid oes iechydwriaeth,
Nac enw tan nef,
I gael mewn neb arall,
Ond sydd ynddo ef.

[N] *Palace,* neuadd. [O] *Tumble,* taflu. [P] Aeth, blinder. [Q] *Medicine,* meddyginiaeth. [R] Gyrru, gwneuthur. [S] Pob un. [T] Pe baent. [U] Tra fyddent.

33 Ni chedwir un enaid
O'r oes hon y sydd,
Na'r oesoedd a basiodd,[v]
Na'r oesoedd a fydd,
Ond unig eneidiau
A gadwo Mab Duw,
Y lleill, eisieu credu,
A gollir pob rhyw.

## XII.—IECHYDWRIAETH YN UNIG YNG NGHRIST.

1 Ymafael yn dy Brynwr
Yn ffast[A] â llaw dy ffydd,
O mynni gael dy gadw,
Dal d' afael yntho'n brudd;
Na choll o'th afael arno
Nes caffech rym a gras
Oddiwrtho i gadw d' enaid,
A fydd byth iddo'n was.

2 Na 'ymddiried i'th weithredoedd,
Na'th ddysg, na'th dda, na'th ryw,
Ni all dim gadw d' enaid
Ond ffydd yn un Mab Duw;
Os rhoi d' ymddiried ynddo,
Ni chollir d' enaid byth;
Heb Grist os ceisi ei gadw,
Di colli ef dros byth.

3 Mae pawb o feibion dynion,
Er Adda hyd ddiwedd byd,
Gan bechod wedi llygru,
A'u damnio bawb ynghyd;
Ni chedwir un o honynt
Rhag angau ac uffern drist,
Gwnaed pawb y goreu ag allont,
Nes cadwer hwy gan Grist.

4 Dewch bawb gan hynny'n gyfain
At Geidwad yr holl fyd,
I gadw'ch trist eneidiau,
A gollwyd oll ynghyd;
Yr un a ddelo atto,
Fe'i dwg i'r nefoedd wen,
Yr un a beidio à dyfod,
F' â i uffern ar ei ben.

5 Na fydded neb mor anghall
Mor ddwl, mor ddall, mor ffol,
A throi oddiwrth eu Ceidwad
Sy'n galw yn eu hol;
Ni ddiangc neb rhag angau,
Ni ddringa un i'r nef,
Ni bydd un dyn cadwedig,
Nes caffo'i gymhorth ef.

6 Ni chedwid Noe, na Daniel,
Nac Abra'm, Job, na Phawl,
Na Mair, nac Ann,[B] na Martha,
Na neb, o rwydau'r diawl,
Na'r plentyn newydd eni,
Nac un o eppil dyn,
Trwy'u nerth a'u gallu'u hunain,
Ond trwy nerth Crist ei hun.

7 Ni chedwir neb tra gantho,
O hyn hyd ddiwedd byd,
Ond y rhai gadwo'r Iesu,
Mae pryniad dyn mor ddrud;
Ni fynn y Barnwr cyfiawn
Sarhad[C] am bechod dyn,
Lai nag angau gwerthfawr
A gwaed Mab Duw ei hun.

8 Gan hynny ofer ceisio
Help angel, sant, na dyn,
Na phardwn Pab, na 'fferen,[D]
I gadw enaid un,
'D oes dim ag ellir enwi,
Beth bynnag fytho'i ryw,
All gadw enaid Cristion,
Ond angau un Mab Duw.

9 Ni chymmer Duw'r dialau
Iawn lai am bechod dyn
Nag angau holl blant dynion
Neu angau'r cyfryw un
Y fai â'i angau cystal
Ag angau pawb o'r byd,—
Nid oes un angau felly
Ond angau'r Prynwr drud.

10 Ni ddichon neb foddloni
Cyfiawnder Duw wrth hyn,
Heb angau ac ufudd-dod
Ein Prynwr, Iesu gwynn;
Y neb ni cheisio'i gymhorth,
Er cymmaint fo ei sgil,[E]
Ni bydd e'n abal atteb
I Dduw am un o fil.

[v] Aethant heibio.

[A] Yn dynn. [B] Mam y Forwyn Fendigedig; ond gan nad oes son am honno yn yr Ysgrythyr, fe allai mai Anna, merch Phanuel, a feddylir. Gwel Luc 2. 36. [C] Iawn. [D] Offeren, *(mass,)* sef cyssegriad yr elfennau yn ol athrawiaeth Eglwys Rufain, yr hon a ddysgai, fod sylwedd y bara a'r gwin yn cael ei droi i gorph a gwaed Crist ac yn ganlynol fod yr offeiriad wrth fwytta ac yfed y moddion, yn aberthu Crist yn ei wir berson ei hun drachefn, yr hyn a allai wneuthur megis offrwm dros bechodau pwy bynnag a fynnai, y meirw yn gystal a'r byw! Nid yw'r dychymmygion hynny ond chwedlau cablaidd, canys yr Ysgrythyr a ddengys fod aberth Crist, a offrymmwyd unwaith ar y groes, yn berffaith brynedigaeth, boddhad, ac iawn dros bechodau'r holl fyd; "a lle y mae maddeuant am y rhai hyn, nid oes mwyach offrwm dros bechod." Heb. 10. 18. [E] *Skill*, cyfrwysdra, medrusrwydd.

11 Mae rhai yn credu gallant,
Trwy'u gwaith a'u gweddi eu
A'u hympryd, a'u cardodau, [hun,
Wir haeddu cymmain un
Gael diangc poenau uffern,
A dringo chwip[F] i'r nef,
Heb help y gwir Iachawdwr;
Ffei, ffei, beth wnant âg ef?

12 Ond pan fo rhai'n yn tybied
Y dringant uwch y ser,
I uffern boeth y cwympant,
Lle syrthiodd Luciffer;[G]
Yn uffern y cânt weled,
Heb Grist na ddichon dyn
Fyn'd byth i deyrnas nefoedd
Trwy'i rym a'i allu ei hun.

13 Ni ddichon undyn haeddu
Trugaredd ar law Duw,
Ni bu 'rioed arno ddyled
I neb o ddynol ryw;
Mae pawb yn rhwym i'w 'ddoli,
A'i foli âg uchel lef,
Heb ddyled arno er hynny,
Pawb yn ei ddyled ef.

14 Ni ddichon gweddi undyn
Na'u cardod o un rhyw,
Na'u hympryd, na'u 'difeirwch,
Foddloni'r cyfion Dduw,
Nes darffo i Grist yn gyntaf
Cymmodi'r dyn â'i Dad,
A golchi a sancteiddio
Y weithred dda â'i wa'd.

15 Mae'n rhaid i Grist ail greu
Pechadur ar ei lun,
A'i droi'n greadur newydd,
Ar ddelw Duw ei hun,
A newid ei feddyliau,
A'i rân, a'i rym, a'i ryw,
Cyn gallo dyn feddiannu,
Na gweled teyrnas Dduw.

16 Mae'n rhaid i Grist heddychu
Rhwng dyn a Duw ei Dad,
A'i olchi o'i bechodau
Trwy rym ei werthfawr wa'd,
A'i wisgo â'i sancteiddrwydd,
A'i holl rinweddau'i hun,
A dodi yspryd ynddo
Cyn galler cadw'r dyn.

17 Mae'n rhaid i Grist ein gwared
O law a gallu'r fall,
Sy'n cadw â chaethiwed
Mewn carchar tywyll dall,
Yn rhwym ein traed a'n dwylo
Mewn cadwyn pechod cas,
Yng nglynn a chysgod angau,
Cyn delom byth i ma's.

18 Mae'n rhaid i Grist ddi-arfu
Y fall sy'n cadw'r llys,
Yng nghalon pob pechadur,
A'i rwymo'n ffast â'i fys,
A'i daflu o'i neuadd allan,
A chadw'r llys ei hun,
Cyn elo'r fall o'i gastell,
Na'r ddraig o galon dyn.

19 Mae'n rhaid i Grist ein gwneuthur
Yn blant i Dduw ei Dad,
A'n hadgenhedlu'n feibion,
Trwy fabwys prudd a rhad,
A'u gwneud yn etifeddion
I'r Hollalluog Dduw,
Cyn gallom gael paradwys,
Er cystal y bom byw.

20 Mae'n rhaid i Grist ein tynnu
O bob trueni ma's,
O rwydau'r fall uffernol,
A gweflau'r angau glas,
A'n gwneuthur yn gyfrannog
O ffafar Duw a'i rad,
Cyn gallo neb feddiannu
Y deyrnas lle mae'r Tad.

21 Ammhosib' yw, gan hynny,
I unrhyw fath o ddyn
Feddiannu teyrnas nefoedd
Trwy'i rym a'i allu'i hun,
Na diangc o law Satan,
Na gweflau'r angau glas,
Na dial Duw a'i felldith,
Heb gymhorth Crist a'i ras.

22 Pa wedd y diangc undyn
Rhag dial Duw a'i fâr,[H]
Rhag melldith drom y gyfraith,
Rhag carchar pechod ta'r,
Rhag gallu prins[I] tywyllwch,
Rhag dannedd angau trist,
Trwy'i nerth a'i rym ei hunan,
Heb gymhorth Iesu Grist?

[F] Yn ebrwydd. [G] Enw yr Yspryd drwg cyn ei fwrw allan o'r nefoedd. Esay 14. 12—17.
[H] Llid, digofaint. [I] Tywysog.

23 Mae'n rhaid i ninnau ddynion,
Repento[J] â chalon brudd,
A chredu'n Nghrist ein Ceidwad,
Trwy wir a bywiol ffydd,
A pheunydd wella'n buchedd,
Trwy nerth ei Ysprvd ef,
A bod yn bobol newydd,
Cyn dycco Crist ni i'r nef.

24 Dewn bawb gan hynny'n gyfain,
At Grist ein Ceidwad prudd,
Trwy alar a 'difeirwch,
A gwir a bywiol ffydd;
Yr un a ddelo atto,
Fe'i dwg i'r nefoedd wen,
A'r dyn a beidio â dyfod,
F' â i uffern ar ei ben.

## XIII.—CYNHYRFIAD I FOLI'R ARGLWYDD IESU.

1 Cyffredin a bonedd,
Trowch heibio bob maswedd,
A moeswch o'r diwedd gyttuno,
Ar foli'n garedig,
Y boreu Nadolig,
Ein Prynwr arbennig, a'i gofio.

2 Pan wnaeth Duw mor gymmen,[A]
Y ddeuddyn o'r ddae'ren,
Fe'u rhôdd hwy'n y berllan i dario;[B]
I gym'ryd eu pleser,[C]
Mewn heddwch a 'smwythder,
O'r ffrwythau melusber oedd yno.

3 Pan welodd ein gelyn
Ni gyflwr y ddeuddyn,
A'u bod hwy mor gyttun yn rhodio,
A'r ddaear mor ffrwythlon,
Yn rhoi iddynt ddigon,
Heb drafael[D] ar ddynion lafurio;

4 Ac yno daeth Satan,
Mewn meddwl ac amcan,
Ar gaffael ymddiddan a'u hudo;
Yn union at Efa,
Fel llester o'r gwanna',
A gadael hen Adda fyn'd heibio.

5 Pe bwyttech di dammaid
O'r afal goreuraid,
Nad ydych yn meiddied[E] ei dwtsio,[F]
Eich llygaid agorai,
Chwi fyddech fel duwiau,
Wel dyma'r rhinweddau sydd arno.

6 Yr afal hi gym'rodd,
A'r tammaid hi bwytt'odd,
Ac Adda ni pheidiodd â'i dasto,[G]
Nes caffael an'smwythder,
(On'd yw'n beth ysgeler?)
Yn dâl am y pleser aeth heibio.

7 Hwy aethant ill dauwedd,
Oblegid eu balchedd,
Yn euog o'r diwedd boenydio,
A ninnau lin-o-lin,
Sy'n dyfod o'r gwreiddyn,
Heb allu ond eu dilyn hwy yno.

8 Pan welodd Duw cyfion
Y poenau mor greulon,
A ninnau mor weinion yn singco,[H]
Rhôdd ini Gyfryngwr,
Wrth weled ein cyflwr,
Crist Iesu'n Iachawdwr i'n swccro.[I]

9 Hwn a aned yn unig
Y boreu Nadolig,
(Hwn ydyw'r gwir feddyg i'w gofio,)
Mewn preseb anghymmen,
On'd gwych oedd ein fforten,[J]
Pan cawsom fath Gapten i'n ledio.[K]

10 Dwy natur neu rinwedd,
(Heb gymmysg eu sylwedd,)
Sydd ynddo heb ddiwedd i'w cofio,
Y Duwdod, y dyndod,
Ynghyd i'w cydnabod,
Ac felly mae'n gorfod conffesso.[L]

11 Mae'i Dduwdod cyn uch'led
A'i Dad y gogoned,
Bob amser i'w weled yn rhaino,[M]
A'i ddyndod heb allel
Cyrhaeddyd mor uchel,
Os credwn ni chwedel[N] ein credo.

[J] Edifarhau.

[A] Gweddaidd, cyfluniaidd. [B] *Tarry*, trigo, preswylio. [C] *Pleasure*, hyfrydwch. [D] *Travail*, trafferth. [E] Beiddio. [F] *Touch*, cyffwrdd. [G] *Taste*, profi. [H] *Sink*, soddi. [I] *Succour*, cymhorth, cynnorthwyo. [J] *Fortune*, tynged dda. [K] *Lead*, arwain, tywys. [L] Cyffesu, cyfaddef. [M] *Reign*, teyrnasu. [N] Geiriau.

12 On'd mawr oedd y cariad
Pan rhoddai'r Ucheldad,
O fenyw'r fath Geidwad i'n swccro?
Yn berffaith ddyn cnawdol,
Fel pob un o'i bobol,
Ond pechod yn hollol excepto?[O]

13 Pan oeddem yn barod,
Oblegid ein pechod,
I fyn'd i'r pwll isod i drigo,
Mewn ffwrnais uffernol,
A chystudd anfeidrol,
Heb obaith ymwrthol[P] oddiyno;

14 Fe redodd yn feichiau,[Q]
Fe seliodd ein bandau,[R]
Fe'n unig a fedrai ddad-ddigio;
Fe'n dygodd o'r gofid,
Fe roddodd i'n rydd-did,
Fe barodd in' iechyd a baro.

15 Nid aur o'r melyna,
Nid cyfoeth o'r India,
Allasai bwrcasu bardyno,[S]
Ond bywyd y plentyn,
Y gwir Dduw a'r gwir-ddyn;
Da iawn ydyw 'mofyn am dano.

16 Trwy hwn y boddlonwyd,
Trwy hwn y dad-ddigiwyd,
Ac heb hwn ni allwyd ei blesio;[T]
Er mwyn hwn yn union,
Mewn pob rhyw anghenion,
Y gwrendy pob Cristion a geisio.

17 F' offrymmodd ei hunan
Yn aberth bereidd-lân,
Rhag ofon i Satan gongcwero;[U]
Fe sigodd ei sawdwl,
Fe wnaeth wrth fy meddwl,
Fe gadwodd y cwbwl a gretto.

18 Er bod ein drwg weithred
Yn amal i'w gweled
Mewn moddion afrifed i'w cownto,[V]
O ddiffyg ffydd hynod,
Bob amser yn barod,
Nid ydynt ond pechod i'w swmmo.[W]

19 Trwy ffydd y'n ddiddenir,
Trwy ffydd y'n perffeithir,
Trwy ffydd y'n hennillir ni'n gyfrdo;[X]
O ras trwy ffydd fywiol,
Medd Paul yr apostol,
Mae Crist yn ein dethol ni atto.

20 Ni cheisiodd un bridwerth
Gan undyn yn aberth,
Er cymmaint y cymmerth ei blago,[Y]
Ond yspryd drylliedig,
A chalon buredig,[Z]
O dewch yn garedig i wrando.

21 Trwy ffydd y derbyniwn
Bob peth ag ofynwn,
Nid oes dim ag allwn ddymuno,
Nas ceffir, ond credu,[A]
Yn hael gan yr Iesu,
Can's ef sydd â'r gallu lle mynno.

22 Trwy ffydd yng ngwaed gwirion
Ein Prynwr gwynn, graslon,
Fe olchir ein beion pan orffo
Rhoi cownt am ein gweithred
O flaen y Gogoned,
Ond iddo gael gweled repento.[B]

23 O! byddwch yn addas
Trwy fynych gymdeithas,
A gwisg y briodas yn gryno,
I fyn'd i'r llawenydd,
Ym mhell o'r aflonydd,
Yn barod pan orfydd appiro.[C]

24 A byddwch fel seintiau
Ag oil i'ch lanternau,[D]
Bob nos a phob boreu i'ch goleuo;
Rhag dyfod y Priod,
Heb rybudd nac arfod,[E]
Mewn amser heb wybod, i gnocco.[F]

25 A gwnewch eich gwasanaeth
I'r Drindod yn helaeth,
Tra'r dydd iechydwriaeth heb bassio,[G]
Rhag dyfod tywyllwch,
Rhesymmol y gwelwch,
Pryd hwnnw ni ellir mo'r gweithio.

26 Gweddïwch yn dduwiol
Eich cadw'n ddihangol,
A bod yn wastadol yn effro,
Can's agos yw'r amser,
Medd Matthew dafod-ber,[H]
Fe orfydd ar fyrrder ymado.

[O] *Excepted,* wedi ei adael allan. [P] Dychwelyd. [Q] Machnïydd. Heb. 7. 22. [R] *Bonds,* rhwymedigaethau, mach-ysgrifau. [S] *Purchase pardon,* prynu maddeuant. [T] *Please,* boddhau. [U] *Conquer,* gorchfygu. [V] *Count,* cyfrif. [W] *Sum,* rhifo, cyfrif. [X] Cyfan-gwbl. [Y] *Plague,* blino, poeni. [Z] Psalm 51. 17. [A] Marc 11. 24. [B] Edifeirwch. [C] *Appear,* ymddangos. [D] Ac olew yn eich lampau. Mat. 25 1—13. [E] Oedfa. [F] *Knock,* curo. [G] Fyned heibio. [H] Mat. 25. 13.

27 Os byddwch gariadus,
Wrth fodd Duw a'i 'wyllys,
Chwi gewch fod yn ddilys yn rhaino,[I]
Mewn 'smwythder, dedwyddwch,
Llawenydd, llonyddwch,
A phethau na fedrwch ystyrio.

28 Nid oes yno glefyd,
Na thristwch, nac adfyd,
Na gofal, na gofid, i'w gofio;
Ond miwsig[J] pereiddlcn
Gan sanctaidd angylion,
Na ddichon un galon fyfyrio.

29 Gan hynny, blwyfolion,
Chwi gwympwch yn ffyddlon,
O ddyfnder eich calon weddïo,
Ar Dduw, o'i wir fawredd,
A'i amal drugaredd,
I'n dwyn yno o'r diwedd i drigo.

## XIV.—GWAHODDEDIGAETH ARALL I FOLI IESU GRIST.

1 Dewch bawb yn garedig,
Yn ffres,[A] ac yn ffrolig,[B]
Yn awr y Nadolig i foli Mab Duw,
A Psalmau a Hymnau,
Yn hwyr ac yn foreu,
Am gadw'n heneidiau rhag distryw.

2 Dewch, cenwch yn llafar,
Nes dadsain y ddaear,
A dringed eich trydar[C] i'r drydedd nef,
I gyffro'r angylion
I gyd-ganu â dynion,
I Dduw am ei dirion dangnefedd.

3 Pan na allai dynion,
Na saint, nac angylion,
Na dim daearolion, mewn daear na
Ein cymhorth na'n helpu, [dw'r,
Fe helodd[D] Duw'n prynu,
Ei unig Fab Iesu'n Iachawdwr.

4 Pa dad a fai perchen
Deg plentyn ar hugain,
Y rhoddai'n aflawen y gwaethaf i'w
Ar grog-pren echryslon, [ladd
I gadw ei elynion,
A'i gyrrai yn greulon i ymladd ?

5 Duw nid arbedodd
Roi'r un Mab a feddodd,
A'r mwyaf a garodd o'r holl fyd i gyd,
I farw dros ddynion,
Ar grog-pren echryslon,
Pan oeddym elynion gwenwynllyd.

6 Gan hynny'n enwedig
Trwy wyliau'r Nadolig, [Dad,
Rhown ddiolch caredig i'n cariadus
Am roddi mor rasol
Ei etifedd naturiol,
I fod i ni'n nerthol wir Geidwad.

7 A molwn yn nesaf,
A moliant o'r mwyaf,
Fab Duw goruchaf, gwir iechyd y byd,
Am ddyfod o'i fawredd,
A'i nefol anrhydedd,
I'n tynnu mor rhyfedd o'n gofid.

8 O'r nefoedd orucha',
O fynwes Jehofah,
Daeth Mab Duw anwyla' yn olud i ni,
I gym'ryd ei ddyndawd
O Fair at ei Dduwdawd,
A'i wneuthur yn gyd-frawd glân ini.

9 I'r 'stabal anghymmen,
O'r nefoedd ddisglaerwen,
I breseb yr ychen, o'i oruchaf lys,
O blith yr angylion,
I gadw blant dynion,
Y daeth yr Oen tirion cariadus.

10 Mab Duw gorucha',
Duw'r Gair mi a'i henwa',
Etifedd Jehofah, Duw'r Mab, y Duw
Y wnaed yn ddyn cnawdol[mawr,
O Fair yn rhyfeddol,
I achub ei bobol drallod-fawr.

11 Y Duw'r hwn y greodd
Nef, daear, a dyfro'dd,
Y Duw'r hwn a luniodd yr haul yn y
A wnaethpwyd yn blentyn, [nef,
Yn fachgen, yn fwydyn,[E]
A'r milwyr cyffredin a'i lladdef![F]

[I] *Reign*, teyrnasu. [J] Cerdd.
[A] *Fresh*, bywiog, heini. [B] *Frolicsome*, chwareugar, llawen. [C] Trwst. [D] Danfonodd. [E] Abwydyn. Job 25. 6. [F] Lladdasant ef.

12 Dewn bob rhai gan hynny,
Clodforwn yr Iesu, [mawl,
Ymrown bawb i ganu gogoniant a
Ar dafod, ar dannau,
Yn hwyr ac yn forau,
I'n Prynwr mewn Hymnau pur nefawl

13 A galwn y nefoedd,
A'r ddaear, a'r moroedd,
A phawb o'r holl luoedd sydd ynddynt
I gyd-ganu moliant, [yn llon,
A chlod, a gogoniant,
I Awdwr ein ffyniant, yn ffyddlon.

14 Fel Sadrach o'r ffwrnes,
Fel Zachri [G] o'i gyffes,
Fel Miriam a Moses ar lann y coch
Clodforwn yr Iesu [fôr,
A ddaeth i'n gwaredu,
O'r ffwrn a'r carchardy hyll cadgor.[H]

15 A treuliwn ei wyliau
Er cof am ei ddoniau,
Y modd ag a gweddai i wyl Iesu
Mewn nefol hyfrydwch, [gwynn,
A duwiol ddifyrrwch, [nyn.
A phrudd ddiolchgarwch boed gen-

16 Mae'r Arglwydd yn peri
In' bawb fod yn firi,[I] [llys,
Yn llawen, a llonni mewn llan ac mewn
Yn Awdwr ein heddwch,
A Thad ein diddanwch
Trwy fod ein difyrwch yn weddus.

17 Gan hynny'n enwedig
Yn awr y Nadolig,
A'r galon yn ffrolig,[J] ar wyneb yn
Gwir orfoleddwch [ffres,[K]
Yn Awdwr eich heddwch, [nes.
Rhowch ymaith bob triswch anghyn-

18 Trwsiwch eich teiau,
Arlwywch eich byrddau,
A phob sîr [L] o'r gorau o gariad at Grist,
Gwahoddwch eich gilydd,
I gynnal llawenydd,
Na chedwch ei wyl-ddydd yn athrist.

19 Cwnnwch [M] eich calon,
Cymmerwch eich digon, [yn gas,
Gwachelwch[N] ormoddion, mae meddwi
Na cheisiwch lawenydd
Mewn diod a bwydydd,
Ond yn eich Achubydd mawr addas.

20 A chenwch trwy'r gwyliau
Wir dduwiol ganiadau, [Sant,[O]
Na soniwch am senau ar wyliau'n gwir
Ond siriwch [P] eich hunain
Ar Fab Duw, sy'n darllain
Fod ynddo i'wch' gywrain faddeuant.

21 Nac ewch i'r tafarnau,
A'r aflan ystywdeiau,[Q] [gwaith;
I lolian [R] y gwyliau, mae'n g'wilydd y
Ammherchi Duw'n Prynwr,
Boddloni'n gwrthnebwr,
Mae'r cyfryw â'u dwndwr cas diffaith.

22 Ymaith a'r cardiau,
A'r dwndran, a'r disiau [S][yn glaf,
A'r gloddest, a'r gwleddau bair Gristion
A'r meddwdod a'r tyngu,
Sy'n 'nurddo a 'nafu
Nadolig Duw Iesu anwylaf.

23 Cym'rwch y Psalmau
A'r 'Fengyl wen oleu, [ddig,
Yn lle y pâr cardiau, os gwyr ŷch heb
Ffittach [T] i Gristion,
Na'r pâr cardiau brithion,
Yw'r 'Fengyl wen dirion Nadolig.

24 Gan hynny ymsiriwch,
A gwir orfoleddwch,[Duw mawr,
A neidiwch, a molwch eich Prynwr
Cenwch glod iddo,
A churwch eich dwylo,
Ymhyfrydwch ynddo yn ddirfawr.

25 Rhowch foliant rhagorol
I'r Yspryd sancteiddiol,
Sy'n dangos i'r bobol, o'r Bibil yn rhad,
Fod pardwn a iechyd,[U]
A heddwch, a bywyd,
I'w gael yn ein hyfryd wir Geidwad.

26 I'r Tad 'r hwn a'n creodd,
I'r Mab 'r hwn a'n prynodd,
I'r Yspryd a'n gloywodd â'r Gair a'r
Y bytho bob ennyd, [dw'r glân,
Gogoniant tra hyfryd,[gynghan.[V]
Ym mhob man o'r holl fyd yn

[G] Zacharias. Luc 1. [H] Gwangcus. [I] *Merry*, llon. [J] Llawen. [K] Siriol. [L] *Cheer*, arlwy, ymborth. [M] Codwch. [N] Gochelwch. [O] Crist. Act. 2. 27. [P] *Cheer*, cysuro, diddanu. [Q] Putteindai. [R] Ofer siarad. [S] *Dice*. [T] Cymhwysach. [U] Iachawdwriaeth. [V] Cydsain.

## XV.—ANNOGAETH I DDIOLCHGARWCH AM EIN PRYNEDIGAETH TRWY GRIST.[A]

1.
Curwch bawb eich dwylo 'nghyd,[B]
Bendithiwch Dduw o bryd i bryd,
Am roi'i unig Fab i'n prynu,
Pan yr oeddem wedi'n damnu.

2.
Cwympwch bawb ar ben eich gliniau,
Aberthwch iddo nos a borau,
Glod a moliant, nerth a gallu,
Am roi'i unig Fab i'n prynu.

3.
Ped ystyriem faint yw'r ddyled,
Y sydd arnom iddo o'r parthed,[C]
Ni wnaem swydd y nos na'r borau,
Ond ei foli ar ein gliniau.

4.
Pan yr oeddem gwedi myned
Dan law Satan i gaethiwed,[D]
Fe rodd Duw ei Fab i'n prynu,
Pan na allai neb ein helpu.

5.
Carcharorion dan law Satan,[E]
Yn y dwnsiwn[F] mawr yn cwynfan,
Byth y bu'som bawb yn g'ryddfu,[G]
Oni bu'sai'r Iesu ein prynu.

6.
Nid oedd lun i reconsilo[H]
Duw'r cyfiawnder gwedi'i ddigio,
Oni bu'sai ei un Mab Iesu
Farw drosom er ein prynu.

7.
Nid oedd lun gwaredu enaid
Un pechadur o'r pwll tanbaid,
Oni bu'sai'r Iesu cyfion
Dalu drosto waed ei galon.

8.
Crist a roes ei werthfawr wa'd[I]
Yn bridwerth drosom idd ei Dad,
Ac a'n tynnodd trwy fawr gryfder,
O law Satan oedd y siailer.[J]

9.
Adar oeddem wedi'n dala
Yn rhwyd Satan, idd ein difa,
Crist a dorrodd y rhwyd drosom,
Ninnau'r adar a ddihang'som.[K]

10.
Dafad oeddem aethai ar ddidro,[L]
I blith bleiddiaid i gyrwydro,
O'r wir gorlan ym Mharadwys,
Ar ol Satan pan ein temptiwys.

11.
Crist yw'r bugail[M] y ddoi i 'mofyn
Hon, o blith bwystfilod 'sgymmun,
Ac y ddygai'r ddafad adre',
O safn y llew ar ei ysgwyddeu.

12.
Ni yw'r gwŷr y ga's eu 'speilio,[N]
A'n harcholli wrth dramwyo,
O Jericho i Gaersalem; [oeddem.
Neb a'n cwnnai[O] o'r clawdd lle r

13.
Crist yw'r mwyn Samaritan,
Y rwymai'n harcholl yn y man,
Ac a'n dygai hyd yr ostri,[P]
Yno i'n swccro[Q] a'n confforddi.

14.
Y sarph a'n brathodd ym Mharadwys,
A chol[R] pechod gan ein twyllwys;
Crist elîodd ein harchollion
Yn fwyn iawn â gwaed ei galon.

15.
Nid oedd dim a allai helpu
Israel gwedi'r sarph eu brathu,
Ond golwg hyll ar sarph o bres,[S]
Dim amgenach a wnai les.

16.
Nid oedd dim a'n helpau ninnau,
Gwedi'n brathu â chol pechodau,
Ond Crist Iesu gwedi hoelio,[T]
Oedd y sarph yn representio.[U]

17.
Tebyg oedd ein cyflwr gwan
I adar bach y pelican,
Y fai'r neidr wedi 'nafu,
Nes caent waed eu mam i'w helpu.[V]

18.
Pan y gwelodd Crist ein cysur,
Megis pelican twym-natur,
Fe roes i ni waed ei galon,[W]
I elïo ein harchollion.

[A] Hen ysgrifen ym meddiant y Cymreigydd clodwiw, Mr. Taliesin Williams, o Ferthyr Tydfyl, a esyd o flaen y Gan hon yr enw "Y Nadolig" yn lle y geiriau uchod, ac a ddengys iddi gael ei chyfansoddi yn y flwyddyn 1616. Y mae'r all bennill yn eisiau yn yr ysgrifen, ac y mae rhai amrywiaethau eraill nad oes achos eu crybwyll. [B] Psalm 47. 1. [C] O herwydd hynny. [D] Act. 26. 18. 1 Ioan 3. 8. [E] Eph. 2. 2. Luc 4. 18. [F] *Dungeon*, daeardy. [G] *Writhing*, gwryddu gan boen. [H] Cymmodi. Col. 1. 20. [I] Eph. 2. 13. [J] *Jailer*, ceidwad carchar. Heb. 2. 14. [K] Psalm 124. 7. [L] Ar gyfeiliorn. [M] Ioan 10. 16. [N] Luc 10. 30. [O] Codai. [P] *Hostelry*, lletty. [Q] Succour, cymhorth, cynnorthwyo. [R] Colyn. [S] Num. 21. 6—9. [T] Ioan 3. 14, 15. [U] Arwyddo. [V] Gwel y sylwad, Cân VIII, pennill 33. [W] Heb. 9. 12.

19.
O considrwn[X] ninnau'n cas, [Y]
A'r daioni mawr a'r gras,
Y ddaeth i ni'r byd colledig,
Trwy ddioddefaint Crist yn unig.

20.
Slafiad[Z] Satan, gweision pechod,[A]
Plant digofaint, bwyd bwystfilod,
Oeddem bawb oni bu'sai'r Iesu,
Ddaeth o'r nef i'r groes i'n prynu.

21.
Beth yw dyn heb gyfnerth Crist,
Ond gwas a slaf i'r cythraul trist,
Gwedi i Dduw ei farnu eisiwys,[B]
Fyn'd i uffern o Baradwys.

22.
Nid oes dyn a ddichon gadw
Ei enaid bach rhag iddo farw,
Nes y caffo gyfnerth Iesu,
A'i waed gwerthfawr idd ei olchi.

23.
Nid oes dyn a ddichon wneuthur
Iawn i Dduw am bechod budur,
Nes y caffo waed yr Oen,
I dalu'r pris, i ddofi'r poen.

24.
Crist yw'r Oen difrychau i gyd,[C]
Sy'n tynnu ffwrdd bechodau'r byd,[D]
Ac yn dofi llid ei Dad
A'i fywyd gwynn a'i werthfawr wa'd.

25.
Crist yw'r 'ffeiriad sy'n y nef,[E]
Yn gwneuthur drosom weddi gref,[F]
Gwedi offrwm gwaed ei galon,
Ar y groes yn bridwerth drosom.

26.
Crist yw gwir oleuni'r byd,
Crist yw'n bywyd oll i gyd, [wad,
Crist yw'n conffordd, Crist yw'n Ceid-
Crist yw'n helpwr o'r dechreuad.

27.
Heb Grist nid ydym ond colledig,
Trwy Grist yr ydym yn gadwedig,[G]
Heb Grist ni chawn ni weled Duw,
Trwy Grist ni a gawn ynddo fyw.

28.
Pob dyn aiff i uffern drist,
Ond y gretto'n Iesu Grist,
Ac heb Grist ni ddichon undyn,
Fyn'd i'r nef, er maint ei 'rofyn.

29.
Dysgwn bawb gan hynny gredu
Yn ein Prynwr mawr Crist Iesu,
A meddyliwn wrando arno,[H]
Os yn y nef y mynnwn dario.[I]

30.
Prynodd Crist a gwaed ei galon,
Yr holl fyd o'u poenau trymion;
Llawer mil o'r byd er hynny,
Ant i uffern eisiau credu.[J]

31.
Er croeshoelio'r Iesu drosom,
A rhoi taliad llawn am danom,
Etto ni bydd neb cadwedig,
Ond y gretto ynddo'n unig.

32.
Credwn yn Nghrist, ac fe'n cedwir,
Oni chredwn, yna'n collir;
'R hwn a gretto gaiff ei gadw,
'R hwn ni chretto, collir hwnnw.[K]

33.
Nid aiff un, na mawr na bach,
Byth i uffern i roi gwâch,[L]
Ond y dyn y beidio â chredu
Yn y Prynwr mawr Crist Iesu.

34.
Porth y nef sydd led agored,[M]
Ddydd a nos heb arno gaued,
I bob gradd o gywir Gristion,
Ag y gretto ynddo'n ffyddlon.

35.
Ni bydd sôn byth am ein beiau,
Na'n drwg natur, na'n pechodau;
Hwy faddeuwyd, a hwy flottir,[N]
A gwaed Crist i maes o'r llyfyr.

36.
Crist a'n golchodd o'n pechodau,
Crist a brynodd ein heneidiau,
Crist a'n dwg i deyrnas nefo'dd,
Nyni biau'r maint a brynodd.

37.
O molianwn ninnau'r Iesu
Ddydd a nos, am iddo'n prynu;
Ac na anghofiwn tra chwyth ynom,
Faint o bethau wnaeth ef erddom.[O]

38.
Clod a gallu, mawl a moliant,
Gwir anrhydedd a gogoniant,
Y fo i'n Prynwr mawr a'n Pen,
A d'weded nef a dae'r—Amen.

X Ystyriwn. Y *Case*, cyflwr. Z *Slaves*, caethweision. A Ioan 8. 34. B Ioan 3. 18. C 1 Petr 1. 19. D Ioan 1 29. E Heb. 4. 14. F Rhuf. 8. 34. G Ioan 3. 36. H Actau 3. 23. I *Tarry*, trigo. J Ioan 3. 36. K Marc 16. 16. L Gwawch, gwaedd. M Esay 22. 22. N Dilêir. O Trosom.

## XVI.—CYNGHOR I BECHADUR I DDYFOD AT IESU GRIST.

1.

DERE[A] hen bechadur truan,
Dere at Grist trwy ffydd dan riddfan,
Mae Mab Duw yn d'alw atto,
Os yw pechod yn dy flino.[B]

2.

Crist ei hun sy'n galw arnad,
Crist sy'n erchi i ti ddwad,[C]
Crist sy'n cynnyg dy refresio,[D]
Os trwy ffydd y deui atto.

3.

Dere at Grist er maint yw'th drosedd,
Dere er cynddrwg yw dy fuchedd,
Dere 'mhryd,[E] cais gymhorth ganddo,
F'all dy gadw'r awr y mynno.

4.

Er dy golli'n gwit[F] yn Adda,[G]
Er i'r cythraul cas dy ddala,[H]
Er it' ddigio Duw mor danllyd,
Cred yn Nghrist,[I] fe geidw'th fywyd.

5.

Er dy ennill mewn anwiredd,[J]
Er it' fyw mewn aflan fuchedd,
Dere at Grist, cais gymhorth gantho,
F'all dy olchi[K] a'th ail grëo.

6.

Er dy fod di'n elyn Duw[L]
Wrth naturiaeth a'th ddrwg ryw;
Cred yn Nghrist, fe'th wna, o elyn,
I'th nefol Dad yn anwyl blentyn.

7.

Er dy fod di'n slaf i Satan,[M]
Ac yn was caeth yn ei gorlan, [au,[N]
Cred yng Nghrist, fe'th dynn o'i gramp-
Fe'th ddwg o'r dywyll gell i'r golau.[O]

8.

Er dy fod di'n haeddi'th ddamnio,
A'th droi i uffern a'th boenydio,
Cred yng Nghrist, fe'th ddwg i'r nefo'dd
I glodfori'r hwn a'th grëodd.

9.

Er dy fod di megys rhebel,[P]
Gwedi'th droi o sant yn gythrel,
Cred yng Nghrist, bydd un o'i blant,
Fe'th dry o gythraul etto'n sant.[Q]

10.

Er dy fod di'n ddyn damnedig,[R]
Yn hen Adda, tad gwenwynig,
Cred yng Nghrist, fe'th geidw etto,
Er i Adda hen dy ddamnio.

11.

Er i Satan entro[S] i'th letty,
A'i oresgyn heb ei nadu,
Cred yng Nghrist, fe ddwg ei arfau,
Fe dry Satan dros y trothau.

12.

Er i'r lladron 'speilio 'd'enaid,[T]
A'th archolli yn dra enbaid,[U]
Cred yng Nghrist, y gwir Samariad,
Fe'th iacha'th archollion desprad.[V]

13.

Er i'r danllyd sarph[W] dy frathu,
A'th wenwyno nes dy 'nafu,
Cred yn Nghrist, fe ddofa'r poen,
Fe'th iachâ â gwaed yr Oen.

14.

Er it' fynych gyfeiliorni,
Megis dafad gwedi 'i cholli,[X]
Cred yng Nghrist, fe ddaw yn fuan
O'r nef, i'th droi o'r gors i'r gorlan.

15.

Er it' bechu fil o weithiau,
Er it' haeddu cant dialau,
Cred yng Nghrist, di gei faddeuant,[Y]
Am dy bechod oll a'th drachwant.

16.

Er fod lliw dy fai cyn goched
Ac yw'r pwrpwl[Z] coch neu'r 'sgarled,[A]
Cred yng Nghrist, trwy'i waed fe'th
Nes bech di mor wynn a'r eira. [olcha

17.

Er bod dy feiau mewn rhifedi
Yn fwy na gwallt dy ben o gyfri',
Cred i'th Brynwr Duw a dyn,
Fe'u maddeu iti bob yr un.[B]

18.

Cymmer gysur, cwyn[C] dy galon,
Cred yng Nghrist dy Brynwr tirion,
Edifara am dy frynti,
Crist a fydd yn Geidwad iti.

[A] Tyred. [B] Mat. 11. 28. [C] Dyfod. [D] Dadflino, adfywio. Ioan 7. 37. [E] Mewn pryd. [F] *Quite*, yn hollol. [G] 1 Cor. 15. 22. [H] 2 Tim. 2. 26. [I] Ioan 3. 36. [J] Psalm 51. 5. [K] Zech. 13. 1. [L] Rhuf. 5. 10. [M] Eph. 2. 2. [N] Crafangau. [O] Luc 1. 79. [P] Gwrthryfelwr. [Q] 1 Cor. 6. 11. [R] Rhuf. 5. 18. [S] *Enter*, myned i mewn. [T] Luc 10 30. [U] Enbydus, peryglus. [V] *Desperate*, anobeithiol. [W] Ioan 3 14. [X] Mat. 18. 12. [Y] Eph. 1. 7. [Z] Porphor. [A] Esay 1. 18. [B] Actau 10. 43. [C] Cwyd, cyfoda.

19.

Mae Crist i'th wawdd,[D] mae Crist i'th alw,
Mae Crist i'th gymhell atto'n groyw;
Pa'm y byddi marw'n irad,[E]
Eisiau dyfod at dy Geidwad?

20.

Crist a ddaeth o'r nefoedd auraid,
I'r byd i gadw pechaduriaid,
Ei swydd, a'i garc,[F] a'i waith yn unig,
Oedd cadw eneidiau rhai colledig.[G]

21.

Dyn colledig ydwyt tithau,
Fel mae pawb o honom ninnau,[H]
Pa'm na ddoi tra fytho'n galw,
At dy geidwad Crist i'th gadw?

22.

Nid yw'th bechod, ddrwg-ddyn ang-
Fwy na phechod Saul neu arall;[I] [hall,
Fe ga'dd Saul faddeuant gantho,
Dithau'i cei os credi ynddo.

23.

Nid yw'th bechod fwy nag allo
Crist eu maddeu a'u dileuo,[J]
Na'th holl feiau, na'th holl frynti,
Fwy na allo Crist eu golchi.

24.

Ni all Satan byth dy lygru,
Fel na allo Crist dy helpu,
Na'th ddifwyno, gwnaed ei waetha',
Fel na allo Crist dy wella.

25.

Crist all wneuthur heb fawr drafael,[K]
Oen o flaidd, a sant o gythraul,[L]
Hen ddyn aflan yn ddyn syw,
A dyn i'r fall yn ddyn i Dduw.

26.

Ni wnaeth Crist ond galw ar Zache,[M]
A'i droi'n sant ar hynny o eiriau;
Fe'th drŷ dithau'n oen os myn,
O lwdwn dû yn llwdwn gwynn.

27.

Duw galluog ydyw Crist,
Yn maddeu beiau'r truan trist,
Yn newid naws, yn gwella natur, [tyr.
Yn dattod[N] gwaith y diawl heb rwys-

28.

Hollalluog yw dy Brynwr,
F' all 'reparo[O] gwaith y temtiwr,
F' all ei daflu beunydd allan,
O galonnau'r bobol aflan.

29.

Pe bai saith[P] rhyw gythraul ynnod,
Pet fai lleng[Q] o fewn i'th geudod,
Fe'u trŷ Crist hwy oll fel cylion,
A'r gair cynta' maes o'th galon.

30.

Nid oes grym gan un creadur,
Hindro[R] gwaith dy Brynwr prysur;
Ni all dyn na diawl ei rwystro
Roi it' ras os credu ynddo.

31.

Nid oes dyn yng Nghrist yn credu
Na boe'n cael gras i difaru,
Ac i wella'i fuchedd beunydd,
Nes yr elo'n ddyn o newydd.[S]

32.

Ni ddaeth dyn i geisio gras
At Fab Duw erioed nas ca'st,[T]
Nag i fegian[U] cymhorth ganddo
Nas rhôdd Crist e'n ebrwydd iddo.

33.

Dere[V] dithau, cais ras ganddo,
N'ad i'th bechod brwnt dy rwystro;
Ni ddaeth Crist i gadw enaid,
Ond eneidiau pechaduriaid.

34.

Ni ddaeth Crist i gadw o ddifri',
Ond y rhai oedd gwedi' colli;[W]
Swydd a gwaith Mab Duw yn unig,
Ydyw cadw rhai colledig.

35.

Dere dithau'n fuan atto,
Mae'n dy gathrain,[X] mae'n dy gyffro,
Dere atto, cred yn unig,
Fe wna Crist di'n ddyn cadwedig.

36.

Duw ro ras i tithau ddwad,[Y]
Yn ddi-aros at dy Geidwad,
Trwy ffydd fywiol a 'difeirwch,
I gael gan Grist ras a heddwch.

[D] Gwahodd. [E] Ezec. 33. 11. [F] Gofal. [G] Luc 19. 10. [H] Rhuf. 3. 23. [I] 1 Tim. 1. 15, 16. [J] Dileu. [K] *Travail*, trafferth. [L] Actau 9. 13—15. [M] Luc 19. 5. [N] 1 Ioan 3. 8. [O] *Repair*, adgyweirio, adnewyddu. [P] Marc 16. 9. [Q] Marc 5. 2—13. [R] *Hinder*, rhwystro, Jer 32. 17. [S] Actau 15. 9. 2 Cor. 5. 17. [T] Esay 45. 19. [U] *Beg*, ceisio, gofyn. [V] Tyred. [W] Marc 2. 17. [X] Cymhell. [Y] Dyfod.

## XVII.—CYNGHORION I'R SAWL A DDYMUNAI GAEL FFAFR DUW, A MADDEUANT PECHODAU.[A]

1.

Pwy bynna' geisio faddeu
Ei bechod a'i droseddau,
A chael pardwn gan Dduw gwynn,
Rhaid dilyn hyn o wersau.

2.

Yn gynta' adde'th bechod,[B]
Yn brudd o flaen y Drindod,
Na chais gelu dim rhag Duw,
'Does dim nad yw'n ei wybod.

3.

Gwedi'n prawf ddeallu,
Pa ddial wyt ti'n haeddu,
A pha angau didranc maith,[C]
Am dan dy waith yn pechu.

4.

A deall fod dy feiau,
Yn haeddu uffern boenau,
Gwedi'n cais â chalon drist,[D]
Gan Dduw er Crist eu maddeu.[E]

5.

A dysg yn brudd gydnabod,
Nad oes o flaen y Drindod,
Iawn am bechod[F] ond gwaed Crist,
A'i angau trist a'i 'fudd-dod.

6.

A chred i'th Brynwr Iesu
Yn gwbl gyflawn dalu,
Ar y groes yn ddigon drud,[G]
Am feiau'r byd sy'n credu.

7.

A gwybydd fod Duw'n foddlon,[H]
I'r iawn a wnaeth Crist droson,
Ac er ei fwyn yn barod iawn
Roi pardwn llawn i'r ffyddlon.

8.

A chred y maddeu i tithau,[I]
Dy bechod a'th droseddau,
Ond it' geisio er mwyn Crist,
A chalon drist[J] eu maddeu.

9.

Na chydgam[K] geisio celu
Mo'r pechod wyt ti'n garu,
Adde'r cwbl ger bron Duw,
Peth ofer yw ei wadu.

10.

A barn dy hun yn euog[L]
O flaen yr Hollalluog,
Fel na'th farner ar ddydd brawd,[M]
Ar 'goedd, trwy wawd digasog.

11.

Galara am dy bechod,
Yn ol ei wel'd a'i nabod,
Ac ymofidia[N] nos a dydd,
Nes iti'n brudd ei wrthod.

12.

Gwna'r galon brudd och'neidio,
A'r llygaid ddyfal wylo,
A gwna i'r yspryd brudd dristâu,
Edifarhau a mwrno.[O]

13.

A chais gan Dad goleuni,
Roi calon dyner iti,[P]
Ac ymofidia ambell awr
Am dan dy fawr ddrigioni.

14.

Na orphwys fyth yn ceisio,
Nes cael gan Dduw dy wrando,
A rhoi calon it' tristâu,
Edifarhau ac wylo.

15.

Yn ol it' fwrno[Q] ennydd
Am dan dy bechod oflyd,[R]
A dal afael tra f'ech byw,
Ar bromais[S] Duw a'i 'ddewid.

16.

Mae Duw'n ei Air yn addo
Diddanu rhai fo'n mwrno,
A rhoi hefyd bardwn clir,[T]
I bawb a wir repento.[U]

17.

Repenta'th fywyd anllad,[V]
A chred yng Nghrist dy Geidwad,[W]
Gad[X] dy feiau, tra ynod chwyth,
Ni chollir byth mo hanad.[Y]

18.

Mae Duw yn addo helpwr,
A Cheidwad, a diddanwr,[Z]
I bob dyn 'difeiriol trist,
Sef Iesu Grist y Prynwr.

[A] "Er bod llawer o waith yr Awdwr yn dra rhagorol, etto y mae y tair Cân hyn a ganlynant yn haeddu eu printio â llythyrenau o aur."—S. Hughes. [B] Diar. 28. 13. [C] Rhuf. 6. 23. [D] Joel 2. 13. Dan. 9. 17. [E] Eph. 1. 7. [F] 1 Ioan 2. 2. [G] 1 Petr 1. 18. Mat. 20. 28. [H] Mat 3. 17. [I] Ioan. 3. 16. Heb. 8. 12. [J] Iago 4. 9. [K] Cynnyg. [L] 1 Cor. 11. 31. [M] Barn. [N] Iago 4. 9. [O] *Mourn*, galaru. [P] Ezec. 36. 26. [Q] Mat. 5. 4. [R] Braenllyd, llygredig. [S] *Promise*, ammod, addewid. [T] *Clear*, eglur. [U] Edifarhao. [V] Luc 13. 5. [W] Ioan 3. 16. [X] Esay 55. 7. [Y] O honot. [Z] Esay 35. 4.

19.
Mae Duw yn addo maddeu
Dy bechod a'th droseddau,
A'th olchi'n lân[A] o'th frynti i gyd,
Ond gado 'mhryd[B] dy feiau.

20.
O byddi di 'difeiriol,
Mae'n addo bod yn rasol,
Diddig, tirion, mwyn a ffri,[C]
A byth â thi'n heddychol.[D]

21.
Mae'n addo dy lwyr olchi
Oddiwrth dy feiau a'th frynti,
Yng ngwaed ei Fab, O cofia hyn,
A'th droi mor wynn a'r lili.

22.
Dal afael siwr[E] fel Cristion
Ar hyn o addewidion,
Nef a dae'r ânt heibio,[F] clyw,
Cyn toro Duw bromeision.[G]

23.
Casâ dy bechod oflyd,[H]
Fel neidr gâs wenwynllyd,
Sy'n ceisio'th ladd o gysgod llwyn,
Dan gêl, a dwyn dy fywyd.

24.
Na ddere[I] i'r man lle gallo
Dy bechod taer dy hudo,
Pasia[J] heibio, neu dro'n d'ol
Na ddos fel ffol i'th demtio.

25.
Os doi ar draws y neidr,
A cholyn hon fe'th frathir;
O doi'n rhy agos at y tân,
Medd 'Sgrythyr lân fe'th losgir.[K]

26.
Gan hynny 'mgadw arnad,
Rhag tramwy lle bo'r temtiad,[L]
Gwell it' droi na myn'd i'r man,
Nid wyt ond gwan ac anllad.

27.
Na thro at bechod eilwaith,[M]
Fel ci neu fochyn diffaith,
Y red i'r dom yn frwnt ei fri,
Yn ol ymolchi unwaith.

28.
Na ddilyn ddrwg gyfeillach,[N]
A'th yrro'n ffolach ffolach;
Ni thâl ceisio troi at Dduw,
Nes gado'r cyfryw ffrwythnach.[O]

29.
A glŷn wrth bobol dduwiol,[P]
A marca'u[Q] 'mddygiad grasol,
Da a difyr yw'r fath wŷr,
I'th ddwyn i'r llwybyr nefol.

30.
A chais gan Dduw trwy weddi,[R]
Dy droi oddi wrth ddrygioni,
A'th gyfarwyddo tra fe'ch byw
I garu Duw a'i ofni.

31.
A nâ'd i'r fall dy ddallu,
A'th annog mwy i bechu,
Damsing[S] Satan dan dy draed,
Trwy rinwedd gwaed yr Iesu.

32.
Na ddere at y meddwon,
Rhag newid dy arferion,
Fel y newid y môr glâs
A heli flâs yr afon.

33.
Ymâd â phob cyfeillach
A'th helo'n[T] annuwiolach;
Tynn oddi wrthynt, casâ eu ffyrdd,
Y pyg[U] a 'nurdd dy gadach.

## XVIII.—CYNGHOR I GREDU YNG NGHRIST, A DARLUNIAD O'R DYN A GRETTO.

1.
CRED yng Nghrist, llef am dy Geidwad,
Mae Duw'n cynnyg Crist i fagad,
Derbyn Crist pan y cynnygo;
Onis gwnei, ti fyddi hebddo.

2.
Y dyn a gretto 'ng Nghrist yn brudd,
Trwy galon rwydd a bywiol ffydd,
Mae Crist yn rhoi i hwnnw ras
I fyw fel sant o hynny ma's.

3.
Mae Crist yn rhoi ei Ysbryd[A] iddo,
I'w ail eni a'i ail lunio,
A'i lwyr droi yn ddyn o newydd,
O rebel[B] ffol yn blentyn ufudd.

4.
Mae'n rhoi ei Air i wir oleuo,
Mae'n rhoi ei ras i gynhorthwyo,
Mae'n rhoi ei Ysbryd i reoli,
Mae'n rhoi ei hun yn bob peth ini.

[A] Esay 1. 16—18. [B] Mewn pryd. [C] *Free*, hael. [D] Jer. 3. 12. [E] *Sure*, sicr. [F] Mat. 24. 36. [G] Addewidion. [H] Rhuf. 12. 9. [I] Paid a dyfod. Diar. 4. 14. [J] Dos heibio. Diar. 4. 15. [K] Diar. 6. 27, 28. [L] Profedigaeth. [M] 2 Petr 2. 20—22. [N] Diar. 24. 1. [O] Oferedd. [P] Psalm 119. 63. [Q] Craffa. Phil. 3. 17. [R] Psalm 51. 10. [S] Sathra. Rhuf. 16. 20. [T] Yrro. [U] *Pitch*. [A] Ioan 7. 39. [B] Gwrthryfelwr.

5.

Nid oes lun i dyn wrth hyn,
Y gretto'n gryf yn Iesu gwynn,
Na chaffo ras a grym oddi wrtho,[C]
I fyw fel sant, os cred ef yntho.

6.

Mae cred yn tynnu gras a gallu
Oddi wrth Grist i'r dyn 'difaru
Am bob bai o'i fuchedd aflan,[D]
A byw fel sant o hynny allan.

7.

Oni bydd dy ffydd yn tynnu,
Gras o Grist i'th adnewyddu,
Dy ffydd sydd ffals[E] ni thal hi ddimai,
Nes tynno hi ras i wella'th feiau.

8.

Mae bywiol ffydd yn tynnu gras
A grym o Grist, o hynny ma's,
I roi heibio bob hen grefydd,
Ac i wneuthur oll o newydd.[F]

9.

Er creuloned a fo'th natur,
Er bychaned a fo'th synwyr,
Cred yn Nghrist, a galw arno,
Fe all dy wella'r awr y mynno.

10.

Er creuloned oedd y siailer,[G]
Er bod Saul yn filain 'sgeler,[H]
A Manasses gwaeth nâ hwyntau, [au.
Fe'u gwnaeth Crist hwy'n saint o'r gor-

11.

Fe'th wna dithau o bechadur,
Oflyd[I] aflan, drwg dy natur,
Yn wir sant, os credu yntho,
A thynu gras a grym oddi wrtho.

12.

Fe wnaeth Crist o hen erlidiwr,
Saul, yn ebrwydd yn bregethwr,[J]
Ac o'r wreigyn ddrwg dros ben,[K]
Y gigfran ddû yn g'lommen wèn.

13.

Cred yng Nghrist â chalon gywir,
Fe wella Crist dy naws a'th natur;
O fab i'r fall fe'th wna di'n Gristion,
O elyn Duw yn blentyn graslon.

14.

Na thyb dy fod yn credu'n gywir,
Oni newid Crist dy natur; [lon,
Y dyn a gretto 'ng Nghrist yn ffydd-
Fe newid Crist ei ddrwg arferion.

15.

Cenfydd Saul a chenfydd Zacche,[L]
Cenfydd Mari Magd'len hitheu;
Di gei weled Crist yn altro[M]
Buchedd pob dyn pan y cretto.

16.

Er bod Saul fel blaidd y borau,
Cyn credu 'ng Nghrist yn difa a allai,
Fe wnaeth Crist cyn canol dydd
Y blaidd yn oen, pan drow'd i'r ffydd.[N]

17.

Cyn i Zacche fyn'd yn Gristion,
'R oedd e'n pilo[O] pawb o'r tlodion;
Gwedi credu fe rôdd Zacche
Ran i'r tlawd[P] o'r maint y feddai.

18.

Er i Fagd'len fyw'n rhyfygus, [fus,
Cyn credu 'Nghrist, a phechu'n rhwy-
Fe fu Fagd'len, ar ol credu,
Fyw fel santes nes ei chladdu.

19.

Felly dithau a'th newidi
Dy arferion ond it' gredu;
Nes newidiech dy arferion
Nid yw'th ffydd ond ffansi[Q] ffinion.[R]

20.

Ffydd heb weithred dda i'w dilyn,
Sydd ffydd farw,[S] ffydd i eilun,
Ffydd i'th ddallu, ffydd i'th dwyllo,
Ffydd sydd barod i'th gondemnio.

21.

Ni bydd tân heb wres lle bytho,
Ni bydd dw'r heb wlybrwydd yntho,
Ni bydd 'fallen dda heb 'falau, [au.[T]
Na bywiol ffydd heb dduwiol ffrwyth-

22.

Os dywed un ei fod yn credu,
Ac heb wella ei feiau er hynny,
Nid oes dim ffydd gan hwn, ond ffrost,
Yn twyllo ei hun yn daran dost.[U]

23.

Ni all dyn sy'n credu'n ffyddlon
Lai nâ gwella ei ddrwg arferion,
Waith bod Crist yn rhoi'i lân Ysbryd,[V]
I'r pechadur wella ei fywyd.

24.

N'âd dy dwyllo, ddryg-ddyn aflan,
Lle bo ffydd mae buchedd bur-lân;
Od yw dy ffydd yn talu ei gweled,
Moes ei dangos wrth dy weithred.[W]

25.

Onid yw dy ffydd yn fywiol,
Yn dwyn gair a gweithred rasol,
Nid yw hon ond ffydd mewn enw,
Ffydd na ddichon byth dy gadw.

[C] Ioan 15. 5. [D] Actau 15. 9. 1 Ioan 3. 3. [E] *False*, gau, ffugiol. [F] 2 Cor. 5. 17. [G] *Jailer*, ceidwad y carchar. Act. 16. 30. [H] Act. 8. 1—3 a 9. 1. [I] Llygredig. [J] 1 Tim. 1. 12, 13. [K] Luc 7. 37 50. [L] Zaccheus y publican. Luc 19. 2. [M] *Alter*, newid. [N] Act. 9. 6 22. [O] Yspeilio. [P] Luc 19. 8. [Q] *Fancy*, tyb, dychymmyg. [R] Atgas, ffiaidd. [S] Iago 2. 17. [T] Gal. 5. 6. [U] 1 Ioan 3. 6—11. [V] Ioan 7. 39. Gal. 5. 22. [W] Iago 2. 18. [X] Iago 2. 14.

## XIX.—CYNGHOR I OCHELYD CWMPEINI DRWG, &c.

1.

Y NEB a fynno fyw yn ddeddfol,
Yn ol 'wyllys ei Dad nefol,
Cynta' peth sydd raid ei wneuthur,
Tynnu o blith y drwg-weithredwyr.[A]

2.

A rhoi i fynu ddrwg gwmp'nïaeth,
Yn dragywydd, heb ddim hiraeth,
Megis Moesen gwmp'ni'r Aiphtiaid,[B]
Lot ac Abra'm y Caldeaid.[C]

3.

Fel y tâg y gwŷg[D] y gwenith,
Fel y sura fineg[E] lefrith,
Fel y 'nurdda pyg[F] dy gadach,
Felly'th 'nafa drwg gyfeillach.[G]

4.

Gochel neidir rhag dy frathu,
Gochel blâg[H] rhag dy ddifethu,
Ac os ceri iechydwriaeth,
Gochel ddilyn drwg gwmp'nïaeth.

5.

Tynn o Sodom,[I] tyred allan,
Rhed o blith y bobol aflan,
Gad oferwyr, cadw d'enaid,
Tynn o blith yr anffyddloniaid.

6.

Tra fu Foesen gyda'r Aiphtiaid,
Tra fu Abra'm gyda'r Syriaid,[J]
Ni 'mddangosai'r Arglwydd iddynt,[K]
Nes eu tynnu'm mhell oddi wrthynt.

7.

Rho gwmp'nïaeth plant y fall
Heibio'n ebrwydd, od wyt gall; [wch
Ni bydd cyd-fod[L] rhwng Duw'r hedd-
A chyfeillion plant tywyllwch.

8.

Gwedi'n dilyn brudd gyfeillach
Pobol dduwiol, ddoeth, ddi-anach,[M]
Rhai a ddysgant it' adnabod,[N]
Y gwir Dduw, a'i ofni'n wastod.

9.

Tra fu Saul yngwymp'ni Samuel
Fe aeth Saul yn sant o gythreul,[O]
Tra fu'n dilyn pobol ddiffaith,
Fe aeth y sant yn gythraul eilwaith.

10.

Dilyn brophwyd, fe'th oleua,
Dilyn athro, fe'th gyf'rwydda,
Dilyn sant, fe'th wna di'n sanctaidd,
Dilyn ffol, ti fyddi ffiaidd.

11.

Gwedi'n canlyn ar dy liniau,
Ar Dduw ddangos it' ei lwybrau,[P]
A'th lwyr-droi yn dra awyddus
O bob llwybyr traws twyllodus.[Q]

12.

Cymmer lantern[R] Duw'n dy law,
I'th oleuo yma a thraw;
Nid aiff neb i dir y bywyd,
Heb oleuni'r 'Sgrythyr hyfryd.

13.

Nes goleuo Duw dy lygaid,
Nes dadfywio Crist dy enaid,
Ni chanfyddi ffordd y bywyd,
Mwy na'r dâll yr haulwen hyfryd.[S]

14.

Gwna'r peth archo'r 'Fengyl iti,[T]
Paid â phob peth na boi'n erchi,
Hi'th gyfrwydda fyn'd o'r diwedd,
I gael bywyd a thrugaredd.

15.

Gwedi'n gochel yn ystyriol,
Rhag byw'n ol dy 'wyllys cnawdol,[U]
Nac wrth fodd dy galon gynnil,
Ond yn ol goleuni'r 'Fengyl.

16.

Ac os ceisi gael dyrchafiaeth,
Gras, a dawn, a iechydwriaeth,
Dewis ddilyn, cerdd heb golli,[V]
Y ffordd y dysgo'r Arglwydd iti.

17.

Hi fydd gyfyng[W] ar y dechreu,
A gwrth'nebus i'th drachwantau;
Ar y diwedd hi fydd esmwyth,
I'th ddwyn at Iesu yn ddisymmwth.

18.

Ffordd i ddystryw sydd yn wastad,
Ac yn esmwyth ei dechreuad;
Ond yn niwedd,[X] ffordd annuwiol,
Y mae'r pwll a'r ffos uffernol.

19.

Gwedi dechreu'r ffordd trwy rinwedd,
Prawf ei dilyn hyd y diwedd;
Ac na chydgam[Y] droi oddi arni,
Nes dy ddwyn i wlad goleuni.

[A] Diar. 1. 10, 15. Psalm 26. 4, 5. [B] Heb. 11. 27. [C] Gen. 12. 1—4. [D] Chwyn. [E] *Vinegar.* [F] *Pitch.* [G] Diar. 22. 24, 25. [H] *Plague*, pla, chwarren. [I] Gen. 19. 17. [J] Yn hytrach gyd â'r Assyriaid neu y Caldeaid ym Mesopotamia, y rhai nid oeddynt yr un genedl â'r Syriaid. Actau 7. 2 4. [K] Ymddangosodd yr Arglwydd i Moses tra'r ydoedd yn yr Aipht, a dywedir yn Actau 7. 2, iddo ymddangos i Abraham pan oedd efe ym Mesopotamia, cyn iddo drigo yn Charan; eithr ni ymddangosodd iddynt yn y fath fodd gogoneddus ag y gwnaeth wedi iddynt ymadael a'r gwledydd hynny. [L] Cor. 6. 15. [M] Dirwystr. [N] Diar. 13. 20. [O] 1 Sam. 19. 24. [P] Psalm 25. 4. [Q] Psalm 119. 176. [R] Llusern. [S] Eph. 5. 8. [T] Iago i. 22. [U] Rhuf. 8. 13. [V] Deut. 5, 32, 33. [W] Mat. 7. 13. [X] Diar. 14. 12. [Y] Cynnyg.

20.
Nid wyt nes er dechreu'r siwrnai,[Z]
A throi gwedi'n at dy feiau;
Nid oes bromais[A] gael y goron
Heb barhau hyd angau'n ffyddlon.[B]

21.
Fe ddechreuodd Saul[C] a Suddas[D]
Fyn'd tua'r nef ar drot[E] fel Demas;
Waith diffygio cyn diweddu.[F]
Fe aeth y tri i'r poeth garchardy.

22.
Dilyn Grist ar air a gweithred,
Troedia'r ffordd y fu e'n gerdded,
Gwna'r peth archodd yn y 'Sgrythyr,
Ni throi droedfedd dros y llwybyr.

## XX.—GALARNAD PECHADUR

1.
O Arglwydd, Tad diddanwch,
Clyw gwynfan a 'difeirwch
Hen bechadur, gwael ei gâs,[A]
Sy'n deisyf gras a heddwch.[B]

2.
Mi'th ddigiais di mor greulon,
Fy Nhad a'm Harglwydd tirion,
Fel na faidd fy nghalon drom
Droi attad o'm golygon.

3.
Gan hynny â'm pen i'r ddaear,
Fel Publican edifar,[C]
Yr wyf, dy annheilyngaf[D] was,
Yn deisyf gras a ffafar.

4.
A'th ffafar wy'n ei ofyn,
Er mwyn fy Mhrynwr purwyn,[E]
Y fu droswyf ar y groes,
Yn goddef loes ysgymmun.

5.
Ac oni chaf fi bardwn,
Er mwyn ei loes a'i bassiwn,[F]
Fe orfydd arnaf fyn'd yn bost[G]
I uffern dost a'i dwnsiwn.[H]

6.
O Arglwydd, er yn blentyn,
'R wy'n pechu'n dost i'th erbyn,
Heb wneuthur pris o'th gyfraith gaeth,
Ond byw yn waeth nag undyn.

7.
Dy enw mawr y geblais,
Dy 'Sgrythyr a ddirmygais,
A'th Efengyl gywir iach
Fel chwedel gwrach y prisiais.

8
Y gwerthfawr waed a gollaist
O'th galon, pan y'm prynaist,
Wy'n ei dyngu ddydd a nos,
Heb brisio'r lo's a gefaist.

9.
Dy Sabboth, a'th ddydd sanctaidd,
Y dreuliais yn dra ffiaidd,
Mewn cyfeddach, meddwdod brwnt,
A maswedd t'wnt[I] i weddaidd.

10.
Pan fo pawb ar eu gliniau,
I'th foli nos a borau,
Mewn rhyw dwll yn chwareu'r cnaf,[J]
Och! Och! y byddaf finnau.

11.
Er bod dy air mor felus[K]
A'r mel i'r enaid iachus,
Chwerwach oedd gen[L] innau'i flas
Na'r wermwd cas gwrth'nebus.

12.
Godineb a phutteindra,
Fel un o plant Gomorrah,
Y fum i yn eu dilyn cyd,
Nos myn'd o'r byd gan mwya'.

13.
Ei hyfed a'i charowso,[M]
A sugno tarth tobacco,
Fu fy swydd dros ennyd fawr,
Gwae finnau'n awr ei gofio.

14.
Fy ie'ngtyd mewn oferedd,
Rhwyg, rhyfyg, cecran, coegedd,
Y lwyr dreuliais gyd â 'mam,
Heb feddwl am fy niwedd.

[Z] *Journey*, taith. [A] *Promise*, addewid. [B] Dat. 2. 10. [C] Brenhin Israel. [D] Judas Iscariot. [E] *Trot*, tuthio, ar frys. [F] Heb. 10, 38, 39.

[A] *Case*, cyflwr. [B] Rhoddir y pennill hwn yr un wedd yn yr holl argraphiadau, ond hen ysgrif Mr. Taliesin Williams, a'i traetha fel y canlyn:—

O grasol Dad clyw ebwch
Llefain, alaeth, a 'difeirwch
Hen bechadur 'styfnig cas
Yn crio am râs a heddwch.

Yr amrywiaeth a bair y tyb fod yr ysgrif yn hyn na'r argraphiad cyntaf yn 1672, yr hyn hefyd a gadarnheir gan ddull y llaw; a chan nad oes tystiolaeth i'r Awdwr argraphu mwy nag un o'i ganiadau, eithr eu dosparthu yn ysgrifenedig, hawdd y buasai i'r copiau amrywio oddi wrth eu gilydd fel yr oedd efe yn eu diwyglo. Gellir barnu fod yr ysgrif hon wedi ei chymeryd oddi wrth un o'r copiau cyntaf. [C] Luc 18. 13. [D] "Annwiolaf."—S. Hughes. [E] "Er mwyn dy anwyl blentyn."—Ysgrif T. W. [F] *Passion*, dioddefaint. [G] Ebrwydd. [H] *Dungeon*, daeardy. [I] Tu hwnt. [J] *Knave*, dihiryn, twyllwr. [K] Psalm 19. 10. [L] Gennyf. [M] *Carouse*, ymroi i gyfeddach, gloddesta.

15.

Yrwan[N] ar fy niwedd,
Nid wyf yn well fy muchedd,
Na'r pryd gwaetha' 'rioed o'r blaen,
Os d'wedai'r plaen[O] wirionedd.

16.

Gan hyny 'rwy'n rhyfeddu
Pa fodd yr wyt ti'n gallu
Goddef cŷd fy mhechod taer,
Heb beri'r ddae'r fy llyngcu.

17.

Can's nid oes fawr o feiau,
O frynti a chamweddau,
Nad wyf ynthynt lawer pryd,
(Gwae finnau,) hyd y clustiau.

18.

Oni bai fod dy natur
Yn rasol t'wnt i fesur,
I uffern dân, cyn hyn yn rhost,[P]
Y buasai'n dost fy nghysur.

19.

O Arglwydd 'rwy'n cyfadde',
Im' haeddu er ys dyddieu,
Fy nhorri'n gwit[Q] o blith y byw,
Waith cymmaint yw fy meiau.

20.

Oni bai fod dy Fawredd,
Yn rasol t'wnt i ryfedd,
Gwan-obeithio'n gwit a wnawn,
Fel Cain, na chawn drugaredd.

21.

Ond dyma sy'n confforddi,[R]
Pan byddwy' 'mron ymdorri,
Fod trugaredd Duw a'i ras
Yn fwy nâ'm càs ddrygioni.

22.

Fy meiau sydd cyn amled
A swnd[S] y môr er maned;
Ond dy râs sydd ganmil mwy
Nâ'r môr sy'n hwy'i amgyffred.

23.

Gan hynny 'rwy'n gobeithio,
Lle cafas pechod rainio,[T]
Y caiff dy rwydd a'th nefol ras
Ar bechod cas gongcwerio.[U]

24.

Di fuost Dduw trugarog
I bechaduriaid enwog,
Na fydd waeth i minnau am ras,
Bechadur càs anffodiog.[V]

25.

Pan trodd y Ninifeaid,
Oddi wrth eu beiau afrifaid,
Er cymmaint oedd eu pechod cas,
Hwy gawsant ras eu llonaid.[W]

26.

Er cynddrwg oedd Manasses,[X]
Y gwaetha 'rioed y glywes,
Fe ga's gennyt bardwn mwyn,
Yn ol ei gŵyn a'i gyffes.

27.

A Dafydd brophwyd yntau,
Er amled oedd ei feiau,
Pan y llefodd am dy ras,
Yn rhwydd fe ga's eu maddeu.[Y]

28.

Fe gafas Mair Magdalen,[Z]
Yn ol hir chwareu'r buttein,
Wrth wylo'n hallt y dagrau dw'r,
Dy ras a'th ffafwr[A] lawen.

29.

Pan trodd y Mab afradus[B]
Tuag attad yn ei un-crys,
Fe ga's, gwedi chwareu'r ffôl,
Dy ras yn ol ei 'wyllys.

30.

A minnau sy'n gobeithio,
Er imi'n dost dy ddigio,
Y caf er mwyn fy Mhrynwr gwâr,[C]
Dy ras a'th ffafar etto.

31.

A'th ffafar wy'n ei fegian,[D]
Yn daer, yn dost, yn druan,
Er mwyn Iesu, nos a dydd,
A'r dagrau o'm grudd yn droppian.[E]

32.

Oh! cofia, Arglwydd cyfion,
I Grist fy Mhrynwr tirion,
Offrwm droswyf yn sarhad,[F]
Ar grogbren wa'd ei galon.

33.

A chofia iddo dalu
Dros f'enaid y pryd hynny,
Y cur a'r poen, a'r angau a'r bri
Ag oeddwn ni yn haeddu.

34.

O moes gan hynny bardwn,
Er mwyn ei loes a'i bassiwn,[G]
Ac er ei gur a'i waedlyd chwys,
Na chais ail satisffactiwn.[H]

[N] Yr awr hon. [O] *Plain*, eglur. [P] *Roast*, pobedig, llosgedig. [Q] *Quite*, yn hollol. [R] Cysuro. [S] *Sand*, tywod. [T] *Reign*, teyrnasu. [U] Gorchfygu. [V] Anhappus. [W] Jonah 3. 10. [X] 2 Chron. 33. 1—20. [Y] Psalm 32. 5. [Z] Luc 7. 37. [A] *Favour*, ffafr, rhadloned. [B] Luc 15. 17—32. [C] Mwyn. [D] *Beg*, ceisio. [E] *Drop*, diferu. [F] Iawn. [G] *Passion*, dioddefaint. [H] Iawn, boddhad.

35.
Ond maddau'n rasol imi,
Fy meiau oll a'm brynti,
A golch yn llwyr fy mhen a'm traed,
Yng werthfawr waed ei weli.[I]

36.
Er bod fy mai cyn goched
A'r pwrpwl[J] coch neu'r 'sgarled,
Droppyn[K] bach o'i waed er hyn,
A'm gwna mor wynn a'r foled.[L]

37.
Gan hynny mae fy hyder
Ar Grist, a'i waed, a'i fwynder,
Y caf gennyd yn ddi-nag
Drugaredd ac esmwythder.

38.
A dwyn at Grist yn gymmwys,
Fy enaid i Baradwys,
I gael rhan yn mhlith y saint,
O'r nef, a maint y brynwys.

39.
I'r hon o'th ras a'th fawredd,
Duw dwg ni oll o'r diwedd,
I'th folianuu byth bob awr,
Am dan dy fawr drugaredd.

40.
I'r Tad, i'r Mab, i'r Ysprvd,
I'r Drindod, Undod hyfryd,
Y bo clod a moliant mawr,
Bob dydd, bob awr, bob ennyd. Amen.

## XXI.—CYNGHORION DUWIOL.[A]

1.
F'ANWYL blentyn, dere'n [B] nes,
Gwrando gynghor er dy les,
Prawf ei ddilyn tra f'ech byw,
Os ceisi fyn'd i deyrnas Dduw.

2.
Ofna Dduw tra bywyd ynod,
Parcha ei enw mawr yn wastod,
Galw arno a'th holl galon,[C] [ion.
Gwrando ei Air, a chadw'i orch'myn-

3.
Cymmer Air Duw yn wastadol
Yn gynghorwr ac yn rheol,
I reoli dy holl fywyd,
Ym mhob gorchwyl a fo gennyd.

4.
Dyma'r lantern[D] a'th oleua,
Dyma'r athro a'th gyf'rwydda,
I ochelyd pob drygioni,
Ac i'th ddwyn at Dad goleuni.

5.
Gochel wneuthur mawr na bychan,
Yn ol d'wyllys ffol dy hunan,
Y mae pechod gwedi ei llygru
Nes cael gras i'w hadnewyddu.

6.
Prawf gan hynny ffrwyno ffansi,[E]
Ffiaidd gantho bob daioni,
Nes cael gair Duw i'th gyf'rwyddo,
Pob peth drwg sydd felus ganddo.[F]

7.
Gochel bechod er bychaned,
Colyn sarph sydd dan ei siacced,[G]
Pleser byr a bair hir alaeth,
Cyflog pechod yw marwolaeth.

8.
Os ca's Adda gymmaint dïal,
Am fwytta tammaid bach o afal,
Duw, pa faint y bydd dialau
Sawl sy'n byw ar gyfryw 'falau?

9.
O bu siawns[H] it' bechu unwaith,
Gochel byth rhag pechu'r eilwaith;
Nid oes iawn am bechod bychan,
Ond gwaed calon Crist ei hunan.

10.
Tro 'ddi wrth bechod, nac ymchwela,
Ca's yw'r ci y fwytto ei chwydfa;
Ail yw hwn i'r mochyn diffaith,
El o'r dw'r i'r dommen eilwaith.

11.
Os attaliwyd[I] Moesen fwyn-lan,
Am un pechod fyn'd i Ganaan;[J]
P'wedd na rwystrir pobol ddiffaith
Fyn'd i'r nef am bechu ganwaith?

[I] Archollion. [J] Porphor. Esay 1. 18. Dat. 1. 5. [K] Dafn, diferyn. [L] Gwlsg pen gwraig, medd S. Hughes Gwel Esay 3. 19, a Act. 19. 12.

[A] Stephen Hughes a dystia mai hon ydyw yr unig un o'r Caniadau ag a welodd ef yn argraphedig cyn iddo ef gyhoeddi gwaith yr Awdwr, ac a feddylia mai yr Awdwr ei hun a'i hargraphodd. Nid yw yn sôn am un amrywiaeth, ac wrth hynny y mae yn debygol iddo ddilyn y copi argraphedig. Yn hen ysgrif Mr. Taliesin Williams y mae hon yn barhad o Gan arall, sef Can CXXVII yn ol argraphiad wythplyg Caerfyrddin, ac mae'r penillion canlynol yn ddiffyglol,—3, 4, 5, 6, 9, 20, 21, 31, a 32. Dilys yw fod yr ysgrif yn hŷn na'r argraphiadau oll, y rhai ydynt gyttun â'u gilydd. [B] Tyred. [C] Jer. 29. 13. [D] Lluseru. [E] *Fancy*, tyb, meddylfryd. [F] Rhuf. 8. 7. Titus 3. 3. [G] *Jacket*, hugan. [H] *Chance*, digwydd. [I] "Dehorwyd."—S. Hughes, a'r argraphiadau cyffredin; yn ysgrif T. W. y mae'r dwy linell fel y canlyn:—

Rhwystrwyd Moesen o wlad Canaan,
Am bechu unwaith bechod bychan.

[J] Deu. 1. 37.

12.
Casa falchder megis neidir;
Y ddyrchafo, fe ostyngir;
Yn ol balchder y daw cwdwm,[K]
Balch ei draed a drip[L] i'r cawdrwm.[M]

13.
Os taflodd Duw yr angel pennaf,
Am ei falchder i'r pwll isaf;[N]
I b'le teflir llwch a lludw,
Y falchïo'n waeth na hwnnw.

14.
Byth na chwennych wely arall,
'R hwn a'i gwnel nid yw ond anghall;
Y neb a sango ar y poeth-dân,
Nid oes lun na lysg ei wadan.[O]

15.
Os ca's Pharao blâg[P] mor greulon,
Am chwennych Sarah yn ei galon;
Pa fath blâg a dïal caled,
Y gaif y sawl y wnel y weithred?

16.
Gochel dyngu dim ond ïe,[Q]
O'r diawl y daeth yr ofer lŵeu;[R]
Melldith Duw fel mwg y leinw
Y tŷ lle ceblir Duw a'i enw.[S]

17.
Osmwrddrwyd[T] Sennach'rib[U] y pagan,
Am gablu Duw o led ei safan;
P'wedd y diangc y Crist'nogion,
Y gablo Grist a gwaed ei galon?

18.
Er dy fywyd parcha'r Sul,[V]
Dere i'r eglwys, gwrando, gwŷl,
Galw ar Dduw, a gad[W] y potian,[X]
Na wna'r Sul yn wyl [1] Satan.

19.
Os pwyodd Duw â'r fath ddihenydd,[Y]
Y dyn ddydd Sul am gasglu briwydd,[Z]
P'wedd y pwya bedwar asgwrn,
Y dreulio'r Sul yn waeth na'r Sadwrn.

20.
Na cham attal ddim o'th ddegwm,
Na ddarnguddia ddim o'th offrwm,
'R wyt ti'n 'speilio Duw'r dialau,
Wrth ddarnguddio dy ddegymau.

21.
Melldigedig yn mhob rhyw,
Ydyw'r dyn a 'speilio Duw,[A]
Stoppi'r[B] nef, a'r dda'r a'r llafur,
Y mae pawb o'r cam-ddegymwyr.

22.
Casa feddwdod yn dy fywyd,
Nid â i'r nef[C] un meddw chwydlyd;
Uffern gou[D] sy'n lledu'i safan,[E]
Am gael llyngcu'r meddw aflan.

23.
O'r daeth Esau [F] mor ddannodus,
Am werthu'i fraint am fes o bottus;[G]
Pa ddanodiaeth ddaw i'r meddw,
Wertho'r nef am bot[H] o gwrw?

24.
Na fydd gybydd, na fyn occor,[I]
Cist i'r hael yw'r cybydd anghor;[J]
A gasglo'r tad trwy ei gybydd-dra,
Mab afradus a'u gwastraffa.

25.
Haws i gamel fyn'd yn fuan,
Yma a thraw trwy'r nodwydd fechan,[K]
Nag i'r cybydd annrhugarog
Fyn'd i mewn i'r nef oreurog.

26.
Gochel dreisio neb o'r tlodion,[L]
Crist ei hun yw'r ustus[M] cyfion;
Y dreisio'r tlawd, fe big llygad
Crist ei hun, y cadarn Geidwad.

27.
Ahab frenhin am ddwyn gwinllan
Naboth,[N] ei gymmydog truan,
A ga's golli ei frenhiniaeth,[O]
Lladd ei blant a'i holl genhedlaeth

28.
Os aeth Deifes[P] dan law Satan
Am ballu i'r tlawd o'i dda ei hunan,
I ba law ddiawl yr â'r gwŷr mawrion,
Sy'n dwyn maint sy'n helw'r[Q] tlodion?

29.
Gochel ledrad, gochel dwyllo,
Ni ddaw ennill byth oddi wrtho;[R]
Lle bo lledrad y bydd aflwydd,
Dial Duw, a dyfal dramgwydd.

30.
Os lladdodd Duw holl dylwyth Achan,[S]
Am grach-guddio pechod bychan,
Oni ddïal Duw ar ladron,
Sy'n dwyn maint, sy'n helw'r tlodion?[T]

[K] Diar. 16. 18. [L] Cwymp. [M] *Caldron*, pair berwedig. 1 Tim. 3. 6. [N] 2 Petr 2. 4. [O] Diar. 6. 28. [P] *Plague*, pla. Gen. 12. 27. [Q] Mat. 5. 37. [R] Llwon. [S] Zech. 5. 3, 4. [T] *Murdered*, lladdwyd. [U] Esay 37. 38. [V] Exod. 31. 14. [W] "Gwachael loettran."– Ysgrif T. W. [X] Diotta. [Y] Lladdfa. [Z] Num. 15. 32—36. [A] Mal. 3. 8 - 12. [B] *Stop*, cau i fynu. [C] 1 Cor. 6. 10. [D] Cau. [E] Esay 5. 11—14. [F] "O gwnaeth."—Ysgrif T. W. "Os daeth,"—yr argraphiadau cyffredin. [G] *Mess of pottage*, phiolaid o gawl. Gen. 25. 34. [H] "Cwppanaid. [I] Usuriaeth. Deut. 23. 19. [J] Awyddus. [K] Luc 18. 25. [L] Diar. 22. 22 [M] Ynad, barnwr. [N] 1 Bren. 21. 1—16. [O] 1 Bren. 22. 34. [P] Y gŵr goludog. Luc 16. 19. [Q] "Y feddo'r tlodion."—Ysgrif T. W. [R] Zech. 5. 3, 4. [S] Jos. 7. 24, 25. [T] "Sy'n speilio'r tlawd o'r maint a feddon."—Ysgrif T. W.

31.

Gochel gadw cam fesurau,
Yn dy dŷ, nac amryw bwysau,
Ffiaidd cas yw'r dafal anwir,[U]
Ger bron Duw, a'r pwys anghywir.

32.

Y maint ennillo dyn drwy ffalstedd,[V]
Ar y dafal o anwiredd,
Bob ychydig mae e'n gosod
Yn y cwd a'r pwrs[W] heb waelod.

33.

Byth na chydgam[X] dderbyn[Y] gwabar,[Z]
Honno lwngc sy'th helw o heiniar;[A]
Ni âd gwabar ben na chynffon,
Byth yn helw'r plant a'r wyrion.

34.

Y claf gwân[B] y ga's Gehazi,
Gyd â gwabar y mae'n bwdgeli;[C]
Am y wabar y mae'n rhugyl,[D]
Yr andwya[E] hi'r plant a'r eppil.

35.

Gochel gelwydd tr'ech[F] ar dir,
Er dy fywyd dywed wir;
Y cythreul[G] brwnt a'r wiber[H] las
Yw tad a mam y celwydd cas.

36.

O bu farw Ananias,[I]
Toc[J] am ddywedyd celwydd atgas,
A'i wraig hefyd wrth farn Duw,
Casawn gelwydd tra fom byw.

37.

Na lysenwa neb er nam,
Y dwl, na'r dall, na'r cloff, na'r cam;
Duw wnaeth ddyn, a'i lun a'i liw,
Y gablo ddyn, fe gabla Dduw.

38.

Os barna Crist i'r ffwrnais danllyd
Y neb a alwo ei frawd yn ynfyd,[K]
I ble barna'r neb sy'n galw
Ei dad a'i fam ar gant llysenw.

39.

Na thâl ddrwg dros ddrwg i undyn,[L]
Os mynni fod i Dduw yn blentyn;
Helpa, swccra[M] dy elynion.[N]
Na wna gam âg unrhyw Gristion.

40.

Pa ragoriaeth sydd rhwng Gristion,[O]
A'r un gwaetha o'r Iuddewon,
Os dai[P] dalu drwg am ddrwg,
Dant am ddant, a gwg am wg.

41.

Gochel wneuthur drwg ar hyder
Cael trugaredd pan y'th farner;
Felly cei di farn anrasol.[Q]
Fyn'd dros fyth i'r tân trag'wyddol.

42.

Os gorfydd atteb pan ein barner,
Ger bron Duw am bob gair ofer;[R]
P'wedd attebwn, gwae fy nghalon!
Am ein drwg a'n cas arferion?

43.

Na cham arfer un o'r doniau;
Roes dy nefawl Dad i tithau,
Fe ddaw dydd y gorfydd rhoddi
Am bob talent gownt a chyfri'.

44.

Os taflodd Crist i'r t'wyllwch eitha',
Y dyn a'i dalent eisiau ei helwa;
I b'lo teflir drambwl drambwl[S]
Y gwas a dreilio'r stoc a'r cwbwl?[T]

45.

Bydd di barod heddyw, heno,
Ag oil[U] i'th lamp, a'th wisg yn gyfrdo,[V]
Fyn'd o flaen dy Farnwr prudd,
Y foru o bosib ydyw'r dydd.[W]

[U] Mic. 6. 10, 11. [V] Dichell. [W] *Purse*, côd. [X] Cynnyg. [Y] Sef er gwyro barn. [Z] Gwobr. [A] Cynnyrch. [B] Gwahanglwyf. 2 Bren. 5. 27. [C] *Budgets*, codau. Derbyniodd Gehazi ddwy dalent o arian mewn dwy gôd. [D] Eglur. [E] *Undo*, distrywio. [F] Tra fyddech. [G] Ioan 8. 44. [H] *Viper*, sarph. [I] Act 5. 1—10. [J] Yn ebrwydd. [K] Mat. 5. 22. [L] 1 Thes. 5. 15. [M] *Succour*, cymhorth, cynnorthwyo. [N] Rhuf. 12. 20. [O] Mat. 6. 44—46. [P] Os â i dalu. [Q] Deut. 29. 20. [R] Mat. 12. 36. [S] Bendramwnwgwl,—felly y mae yn Ysgrif T. W. [T] Y corph a'r llôg. Mat. 25. 19—30. [U] Olew. [V] "Yn hollol ac yn drwsiadus am danat."—S. Hughes.

[W] Y mae yn dra theilwng o sylw, mai hyd ddiwedd y pennill hwn y cyrhaeddodd Adolygydd yr Argraphiad presennol, [1841,] y Parch. Rice Rees, B.D., cyn ei farwolaeth dra disymmwth. Aeth y gŵr ieuangc enwog a defnyddiol hwn, yn amser Gwyliau y Sulgwyn, ar ymweliad at ei ewythr, y Parch. W. J. Rees, A.M., Casgob, swydd Faesyfed; bu yno am ychydig ddiwrnodau; ac ar ddydd y Sulgwyn teithiodd ddeng milldir, a phregethodd ddwywaith, er ei fod yn teimlo gryn lesgedd. Ar y Llun canlynol, (Mai 20, 1839,) nid oedd yn teimlo ei hun yn hollol iach; etto, yng ngrym ei awydd i ail afaelyd yn ei ddyledswyddau yng Ngholeg Dewi Sant, yn Llanbedr, dechreuodd ei daith yn ol; ond yng nghylch dau o'r gloch y prydnhawn teimlodd ei hun yn glaf, a galwodd yn y Gwestty wrth y Bont-newydd ar-Wy. Wedi aros yno am ychydig, teimlodd ei hun yn well, a phenderfynodd ail-gychwyn i'w daith gan feddwl bod gyda ei berthynasau yn Llanymddyfri yr hwyr hwnnw. Ond er fod bwriadau lawer yng nghalon dyn, gwelwyd mai cynghor yr Arglwydd a saif; oblegid wedi iddo farchogaeth yng nghylch tri chant o latheni o'r Gwestty, sylwyd ei fod yn siglo mewn rhyw ddull anarferol ar ei gefyl. Rhedodd dwy eneth tuag atto; ond cyn iddynt ei gyrhaedd, yr oedd wedi syrthio ar yr heol; cyfododd un o'r genethod ei ben, ac efe a anadlodd yn afrwydd dair neu bedair gwaith, ac a fu farw, yn yr unfed flwyddyn ar bymtheg ar hugain o'i oedran, gan adael ei berthynasau a'i gydnabod yn y galar a'r hiraeth trymaf ar ei ol! Claddwyd ef y dydd Gwener canlynol, yng ngwydd torf liosog o alarwyr diffuant, ym mynwent Llandingad, ger Llanymddyfri.

Y mae Mr. Rees wedi enwogi ei hunan drwy Gymru a Lloegr, fel Awdwr y Traethawd ar y Seintiau Cymreig, yr hwn a saif yn golofn oesol o'i ddiwydrwydd, ei fanylrwydd, a'i wybodaeth ehang mewn

46.

Os cauodd Crist y porth mor ebrwydd
I'r sawl ym mron oedd mewn parodrwydd,[x]
Pa wedd y cânt hwy borth agored,
S'heb ymg'weirio[Y] er pan gaued?

47.

Bwrw heibio bob pibyddiaeth,
Meddwl am dy iechydwriaeth;
F' orydd paccio[Z] bawb oddi yma,
Naill ai'r nef neu'r t'wyllwch eitha'.

48.

Os nad eir i'r nef heb ymwthio,
Ac ymdrechu â thraed a dwylo,[A]
Pa wedd y spyda'r[B] neb sy'n credu
'R ânt i'r nef wrth chwareu a chysgu?

49.

Cyn cael cynglwyst[C] rhaid ymdrechu,
Cyn cael cyflog, rhaid gwas'naethu;
Cyn cael nefoedd, mae'n rhaid byw,
Yma'n gynta' wrth 'wyllys Duw.[D]

50

Ni rŷ Crist i neb ei goron,
Ond ymladdo â'i elynion;[E]
Ni rŷ neb o'r geiniog fechan,
Ond y weithio dro'n y winllan.[F]

51.

Ni thal d'wedyd, Arglwydd, Arglwydd,[G]
Ni cheir nef am eiriau maswedd;[H]
Yn Grist'nogaidd f'orfydd byw,
Cyn 'tifedder teyrnas Duw.

52.

O herwydd hyn 'rwy yn cynghori
Pawb a garo'r nef o ddifri',
Fyw'n Grist'nogaidd ac yn buwr,[I]
Felly cânt hwy'r nef yn suwr.[J]

53.

Os daw gofyn pwy a'i cânt,[K]
Bugail sydd yn fawr ei chwant
Rhwystro'r defaid, ym mhob twll,[L]
Ar eu pennau fyn'd i'r pwll.

## XXII.—CYNGHOR I WR IEUANGC.

1.

F'ANWYL blentyn, ce's dy lythyr
Serchog, sanctaidd, llawn o synwyr,
Sy'n dymuno cynghor ffyddlon,
I'th gyf'rwyddo i fyw fel Cristion.

2.

Argoel gras yw'th wel'd cyn i'anged,
Mor fawr dy chant, mor brudd[A] dy syched,
I 'nabod Duw, i ddysgu'r 'Sgrythyr,
I ddofi'r cnawd a nwyfiant[B] natur.

3.

I gyflawni dy ddymuniad,
Derbyn hyn o gynghor difrad,
I gyf'rwyddo dy holl fuchedd,
O'th faboliaeth hyd dy ddiwedd.

4.

Yn dy i'engctyd, f'enaid cofia[C]
Wir was'naethu Duw gorucha';
Ac addoli dy Greawdwr,
Cyn i wendid waethu'th gyflwr.

hanesyddiaeth. Yr oedd, er ys blynyddau, wedi cyfeirio ei sylw at Argraphiad newydd o GANWYLL Y CYMRY, a pharottoi defnyddiau at y Gwaith; ac y mae wedi gadael ar ei ol hanes helaeth o'r Awdwr parchedig, ac ansawdd yr oes yr ydoedd yn byw ynddi. Yr oedd yn un o'r pedwar Offeiriad a bennodwyd i adolygu y Llyfyr Gweddi Gyffredin; ac wedi cymmeryd mewn llaw y gorchwyl o adolygu ac egluro y Liber Landavensis, dros Gymdeithas yr Ysgrifau Gymreig. Bwriadai hefyd gyhoeddi Hanes y Cymry yn yr oesau boreuol, a Grammadeg Cymreig; ond dyrnod annisgwyliadwy angeu a osododd derfyn ar ei holl waith. Gyda golwg ar ei gymmeriad fel dyn a Christion, yn y wedd ganlynol y dyweda bonheddig a'i hadwaenai yn dda er ys amryw flynyddoedd:—"Y mae marwolaeth ddisymmwth y gŵr doniol a thra chyfrifol hwn wedi cynhyrfu y galar dwysaf mewn cylch helaeth o gyfeillion, ac wedi gwneuthur colled anadferadwy i ddwy Gymdeithas yr oedd yn aelod mor barchus a defnyddiol o honynt. Yr oedd wedi ei gynnysgaeddu gan natur â syched diwala am wybodaeth, cof cryf, a barn fanylgraff; ac yn ystod y deuddeg mlynedd y bu yn Athraw ac yn Broffeswr Cymraeg yng Ngholeg Dewi Sant, yr oedd wedi ymroddi yn ddiwyd i fyfyrio ar y canghennau o ddysgeidiaeth a berthynent i'w swydd, ac wedi casglu trysor mawr o wybodaeth yn llenoriaeth a hynafiaeth ei wlad, yr hwn yr oedd efe, pe cawsai ei fywyd ei arbed, yn dra galluog i'w ddefnyddio er lles i'w gyd genedl. Ond rhyngodd bodd i'r Pen-Llywydd doeth rwystro ei amcanion yn hyn; a chysur pennaf ei gyfeillion dan bwys eu gofid ar ei ol, yw meddwl ei fod ef bob amser yn ystyried ei ymchwiliadau llenyddol, er mor hoff oedd o honynt, fel pethau is-raddol, ac i fod yn gynnorthwyol iddo yng nghyflawniad dyledswyddau penaf ei alwedigaeth. Ei ymddygiad cysson, ei garedigrwydd a'i haelioni gwastadol, ei ddiwydrwydd diflino, a'i gyflawniad cydwybodol a nodedig o'i holl ddyledswyddau perthynasol, oeddynt ffrwythau egwyddor Gristionogol gref. Ei ymgais oedd gwneuthur ei oreu o'i dalentau, fel gwas ffyddlon i Grist. Gan hynny tra y mae ei gyfeillion yn teimlo yn ddwys yr oruchwyliaeth chwerw hon o eiddo rhagluniaeth, nid ydynt yn tristâu fel rhai heb obaith, gan eu bod yn credu addewid ein Iachawdwr, 'Bydd ffyddlon hyd angeu, a mi a roddaf i ti goron y bywyd.'—Gellir hyderu, ar y sail gadarnaf, ei fod ef wedi defnyddio y cynghor pwysig yn y pennill dan sylw; ac nid ammhriodol fyddai dywedyd wrth bawb a'i ddarllenont rhagllaw, 'Am hynny byddwch chwithau yn barod; canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn.'" Mat. 24. 44.

[X] Mat. 25 10. [Y] Ymgyweirio, ymbarottoi. [Z] *Pack*, crynhoi, parottoi i ymadael. [A] "Nes dyffygio."—Ysgrif T. W. [B] *Speed*, llwyddo. [C] Cyngwystl, *wager*, gwobr. 1 Cor. 9. 24. [D] Mat. 7. 21. [E] Dat. 2. 10, a 3. 11, 12. [F] Mat. 20. 8, 9. [G] Mat. 7. 21. [H] "Maswydd."—S. Hughes. [I] *Pure*, pur. [J] *Sure*, sicr. [K] Canodd. [L] "Ym mhob dull."—S. Hughes.

[A] Difrifol. [B] Drwg chwant. [C] Preg. 12. 1.

5.

Dechreu ddysgu,[D] tre'ch yn blentyn,[E]
'Nabod Duw a'th Brynwr pur-wyn,
Hoffi ei Air, a chadw ei gyfraith,
Hynny'th wna yn hen-wr perffaith.

6.

Tempra'th[F] lester, tra fo'n newydd,
A'r gwin gwynn o dduwiol grefydd;
Fe arogla hyd dy ddiwedd,
A gwynt peraidd dy lân fuchedd.

7.

Planna'n gynnar yn dy galon
Had pob gras a'th wnel yn Gristion,
Rhag i'r gelyn blannu'r efrau,
Eisieu ei hau â had rhinweddau.

8.

Cais flodeuo yn dra chynnar,
Gyda'r spring,[G] fel almond[H] hygar;
Y pren na ddycco flodau'r gwanwyn,
Trwy'r cynhauaf fe fydd difwyn.

9.

Mae Duw'n gofyn, gan ei dylwyth,
O flaen pob peth gael y blaen-ffrwyth,[I]
Ac ni fynn y Duw goruchaf,
Gan ei blant, na'r ail na'r olaf.

10.

Rho, gan hynny, flaen dy gryfdwr
I was'naethu dy Greawdwr,
Ac na ddyro, tra'ch[J] yn blentyn,
Flaen-ffrwyth d'oes 'was'naethu'r gelyn.

11.

Drwg it' roddi'r gwin i Satan,
A rhoi i Grist y gwaddod aflan;
Rhoi dy nerth i blesio'r[K] drygwr,
A rhoi'th wendid i'th Greawdwr.

12.

Melldigedig yw'r dyn ynfyd,
A ro i'r gelyn rym ei fywyd,
Ac na rotho[L] i'w Brynwr diddig
Ond yr henaint gwan methedig.

13.

Gochel arfer ddrwg yn blentyn,
Arfer ddrwg a'th 'nurdda'n 'sgymmun,
Ac a drŷ yn ail naturiaeth,
Nes yr elech beunydd waeth-waeth.

14.

Os arferi bechu yn blentyn,
A dibrisio Duw yn llengcyn,
Yn hen, nid haws it' wella hyn
Nag i'r Moerys[M] fyn'd yn wynn.

15.

Rho gan hynny gorph ac yspryd,
Yn d'iengctid, yn dra hyfryd,
I was'naethu dy Greawdwr,
Ac i ymladd â'th wrth'nebwr.

16.

Megis Daniel, tre'ch yn blentyn,
Gwrthod win[N] a chwrw melyn,
Ac na ro dy fryd ar foethau,[O]
Ond ar 'nabod Duw a'i ddeddfau.

17.

Dysg fel Samuel, tre'ch yn fachgen,
Sefyll o flaen Duw yn llawen,[P]
Ac ymwrando â Gair y bywyd,
Beth a ddyweto'r Arglwydd wrthyd.

18.

Fel Josias, yn llangc bychan,
Rhodia'n union, o wyth allan,[Q]
A rho'th fryd ar gadw'r gyfraith,
Ofni Duw, a byw yn berffaith.

19.

Dysg y 'Sgrythyr lân o'th febyd,
Megis Timoth',[R] yn dra pherffid;[S]
Honno'th wna yn ddoeth anianiol,
Yn Grist'nogaidd, ac yn dduwiol.

20.

Dos fel Crist bob Sul i'r eglwys,[T]
Gyda'th dad a'th fam a'th fagwys,
Ac o ddeuddeg oedran, f'enaid,
Dechreu 'mddiddan â'r Doctoriaid.[U]

21.

Gwrando'r'Fengyl,gwrando'r gyfraith
Dysg bob un o'r ddau yn berffaith,
A chais fyw yn gynnil, gynnil,
Yn ol cyfraith Duw a'i 'Fengyl.

22.

Mewn tywyllwch 'rwyt ti'n rhodio,
Cymmer lantern Duw i'th oleuo;
Heb oleuni'r 'Sgrythyr hyfryd,
Nid eir byth i dir y bywyd.

23.

Er bod Duw'n y nefoedd ucha,'
Mae'n ei Air â thi'n chwedleua,[V]
Ac yn dangos ei holl 'wyllys,
Yn y 'Sgrythyr i ti'n hyspys.

24.

Edrych dithau yn y 'Sgrythyr,
Beth y fynn Duw i ti wneuthur;
Gwna beth bynnag fo'n orchymmyn,
Ac na fedla[W] fo e'n w'rafun.[X]

[D] Tra fyddech. [E] Diar. 22. 6. [F] *Temper*, tymheru. [G] *Spring*, Gwanwyn. [H] Pren Almon. [I] Exod. 22. 29. [J] Tra fyddych. [K] *Please*, boddloni, rhyngu bodd. [L] Roddo. [M] *Moors*, dynion duon. Jer. 13. 23. [N] Dan. 1. 8. [O] Danteithion. [P] 1 Sam. 3. 1, &c. [Q] 2 Bren. 22. 1, 2. [R] Timotheus. 2 Tim. 3 15. [S] *Perfect*, perffaith. [T] Luc 4. 16. [U] Luc 2. 46. [V] Ymddiddan. [W] *Meddle*, ymyraeth, gwneuthur. [X] Gwahardd.

25.
Gochel dorri'r pyngciau lleiaf,
O holl gyfraith Duw goruchaf;
Y mae'r lleia'n haeddu angau,
Melldith Duw, a didrangc [Y] boenau.[Z]

26.
Fe fynn Duw, y Barnwr cyfion,
Am bob pechod a wna dynion,
Naill ai angau'r [A] dyn a becho,
Neu angau Crist yn daliad drosto.

27.
Ac lle pechaist fil o weithiau,
Yn erbyn Duw, nes haeddu angau,
Edifarha am bob pechod,[B]
A chais bardwn gan y Drindod.

28.
Adde'th bechod ger bron Duw,[C]
Fawr a bychan o bob rhyw,
Ac ymofidia am dy wegi,
Nes maddeuo'r Arglwydd iti.

29.
Edifara am dy wendid,
A'th holl nwyfiant [D] yn dy i'engctid;
Oni wyli'r dw'r yn heli,
Duw a'th farna am y rhei'ny.[E]

30.
Ni cha'dd Ephraim nes c'wilyddio,[F]
Ni cha'dd Dafydd nes och'neidio,[G]
Faddeu nwyfiant ie'ngctid iddyn';
Nis cei ditheu nes eu canlyn.

31.
Gochel oedi hyd y foru,
Rhag it' farw heno wrth gysgu,
Ac i'r angau glas dy lusgo
I'r farn yn llangc, cyn ymgyweirio.[H]

32.
Mae yn uffern fil o filoedd
O wir ieuaingc, a bwrpasodd [I]
Yn eu henaint brudd 'difaru,
Heb gael arfod [J] wneuthur felly.

33.
Edifara'n awr, gan hynny,
Ni wyddus pwy a fydd y foru:
Cymmer barchell tra cynnyger,
Rhag nas caffech pan y ceisier.[K]

34.
Ac lle'r wyt ti'n pechu beunydd,
Edifara bob diwedydd,[L]
Rhag i'r dw'r sy'n sïo'n [M] 'sgeler,
Eisiau ei blwmpio [N] soddi'r llester.

35.
Gwedi gwir 'dirfau unwaith,
Gochel 'nurddo'th draed yr eilwaith;
Na thro fel yr hwch i'r dommen,
Rhag it' fwytta'th hwd [O] drachefen.[P]

36.
Ond cais ddilyn buchedd newydd,
Trwy sancteiddrwydd a gwir grefydd,[Q]
A chall dreulio'th einioes fechan,
Mewn duwiolder prudd ac ofan.

37.
Dod dasg arnat nos a boreu,
Foli Duw ar ben dy luniau;
Nâ'd i ddwrnod fyned drosod
Heb addoli'r sanctaidd Drindod.[R]

38.
Ac i'th helpu fyn'd yn dduwiol
I orchfygu nwyfiant cnawdol,
Cymmer gyfraith Duw i'th ddysgu,
A'i Lân Yspryd i'th gyfnerthu.[S]

39.
Cyfraith Duw sydd daran rymus,
I droi'r enaid cyfeiliornus,
Ac i roddi dysg a deall
I'r rhai ieuaingc, annoeth, anghall.[T]

40.
Gwna beth archo'r gyfraith iti,
Gwrando'r cynghor mae'n ei roddi;
Os dilyni'r gyfraith gyfion,
Hi'th wna'n ddoethach na'th athrawon[U]

41.
Cadw afael sicr ynddi,
Plyg dy warr, ymostwng iddi;
Hi rydd ras, a pharch, a phower,[V]
O'i chadw hi mae gwobor lawer.[W]

42.
Os arferi fyw yn berffaith,
'N awr yn llangc, yn ol y gyfraith,
Fe fydd hawdd, trwy fawr lawenydd,
It' fyw'n sanctaidd yn dragywydd.

43.
Anrhydedda Dduw dy dadau,
Duw a'th anrhydedda dithau;[X]
Os dirmygi ei was'naethu,
Fe ddirmyga dy ddiwallu.

44.
Os gwas'naethu Dduw yn blentyn,
Duw'th was'naetha dithau'n hen-ddyn,
Ac a bair i'r brain dy borthi,[Y]
Cyn bo arnad fawr galedi.

[Y] Diddiwedd. [Z] Rhuf. 6. 23. Deut. 28. 15. Ezec. 18. 4. [A] Damnedigaeth.—S. Hughes. [B] Act. 3. 19. [C] Diar. 28. 13. [D] Trythyllwch, anlladrwydd. [E] Luc 13. 3. [F] Jer. 31. 19, 20. [G] Psalm 32. 5. [H] Ymbarottoi. [I] *Purpose*, bwriadu. [J] Hamdden, cyfleusdra. [K] Hen ddiareb, yn cynghori gwneuthur y defnydd goreu o bob cyfle. [L] Hwyr, diwedd y dydd. [M] Swnio wrth ddyfod i mewn. [N] *Pump*, dihyspyddu â sugnedydd. [O] Chwydiad. [P] 2 Petr 2. 22. [Q] Eph. 4. 22—24. 1 Petr 1. 14, 15, 18. [R] Psalm 55. 17. [S] Psalm 19. 7, 8. Rhuf. 8. 13, 14. [T] Psalm 119. 9. [U] Psalm 119. 99. [V] *Power*, gallu. [W] Psalm 19. 11. [X] 1 Sam. 2. 30. [Y] 1 Bren. 17. 6.

45.
Ni'th ddanfonwyd i'r byd yma,
I was'naethu'r byd na'r bola;
Ond i was'naethu Duw yn weddaidd,[Z]
Fel y gwna'r angylion sanctaidd.

46.
Pan y codech gynta' o'th wely,[A]
Cofia Dduw, cwymp i'w was'naethu,
Ac na ddos o'th 'stafell allan,
Nes ei 'ddoli â pharch ac ofan.[B]

47.
Er maint a fo dy fusnesson,[C]
A'th glamwri,[D] a'th orchwylion,
Na ddod law ar un o'r rheitiaf,
Nes addoli Duw yn gyntaf.

48.
Ni bydd llwyddiant, ni bydd llonydd,
Ni bydd conffordd[E] na llawenydd,
Lle bo trafferth o bob rhyw,
Heb ddim pris am foli Duw.[F]

49.
Er bod busness fawr gan Ddaniel,
Yn y cwrt[G] gan frenhin Babel,[H]
Tair gwaith beunydd y gweddïai,[I]
Yn ei 'stafell ar ei luniau.

50.
Pan yr elech o'r drws allan,
At un gorchwyl, fawr na bychan,
Cais gan Dduw dy brudd fendithio,
A rhoi rhad ar waith dy ddwylo.

51.
Fel y llwyddodd Duw orchwylion,
Joseph[J] gynt' a Daniel dirion,[K]
Felly llwydda d'orchwyl dithau,
Os gweddïi arno'n ddiau.

52.
P'le bynnag b'ech,[L] beth bynnag wnel-
Ai da, ai drwg, y man y mynnech,[ech,
Duw 'mhob man sy'n disgwyl[M] arnad,
Gochel bechu yng ngŵydd ei lygad.[N]

53.
Gwna i eraill bob daioni,
Y ddymunid wneuthur iti;[O]
Na ro i eraill waeth mesurau
Nag y fynnit roi i tithau.

54.
Na wna weithred, er dy gyffro,
Na bo Duw yn warant[P] iddo,
Ac na allech yn ddi-wawd,
Gyfri' am dano ar ddydd brawd.[Q]

55.
Gwna'r Duw byw yn wir Dduw itti,
Ac yn garcus[R] cais ei ddoli;
Galw arno, a molianna,
Felly'n wastad fe'th ddiwalla.

56.
Gochel gym'ryd ar un amser
Enw'r Arglwydd mawr yn ofer,
Can's nid gwirion gantho hwnnw
Gam-arfero ei sanctaidd enw.[S]

57.
Treulia'r Sabboth oll yn llwyr,
Mewn sancteiddrwydd fore a hwyr,[T]
Ac na ddyro ran na chyfran
O ddydd Duw i blesio Satan.

58.
Anrhydedda dy rieni,
Parcha, llonna, swccra'r rhei'ny;
Felly'r estyn Duw dy ddyddiau,
Ac a barcha d'eppil dithau.[U]

59.
Gochel gydgam[V] digalonni,
Na rhoi ammharch i'th rieni;
Odid gweled diwedd dedwydd
I'r ferch falch,[W] na'r mab anufudd.[X]

60.
Gochel rhag godineb ffiaidd,
Cadw'th gorph yn llester sanctaidd,[Y]
Ac na wna, er golud Rhufain,
Aelod Crist yn aelod puttain.[Z]

61.
Gorwedd gyda'th wraig dy hun,
Na chais arall wrth dy wŷn,
Ac na chydgam wneuthur temel
Yspryd Duw[A] yn wâl i'r cythraul.

62.
Er mwyn Iesu, gochel feddwdod,[B]
Gwaeth yw hwn nag unrhyw bechod,
Mae'n troi dyn i gyflwr cythraul,
Ugain gwaith nag un anifail.

63.
Câr â'th galon bob rhyw ddyn,
Fel y carech di dy hun;[C]
Ac na wna i undyn niwed,
Ar air, meddŵl, nac ar weithred.

64.
Gwna i bob dyn oreu ag allech,[D]
Gwna yn ffyddlon 'r hyn a wnelech;
Ond na chydgam, er mwyn undyn,
Wneuthur dim fo Duw yn w'rafun.

[Z] Esay 43. 7. [A] Psalm 139. 18. [B] Ofn. [C] *Businesses*, negesau. [D] *Clamour*, trwst, terfysg. [E] *Comfort*, cysur. [F] Jer. 10. 25 [G] *Court*, llys. [H] Babilon. [I] Dan, 6. 10. [J] Gen. 39. 3. [K] Dan. 6. 3. [L] Y byddech. [M] Edrych, sylwi. [N] Psalm 139. 7. [O] Mat. 7. 12. [P] Awdurdod, cefnogrwydd. [Q] Barn. [R] *Careful*, gofalus. [S] Exod. 20. 7. [T] Exod. 20. 8. [U] Exod. 20. 12. [V] Cynnyg, rhyfygu. [W] Diar. 16. 18. [X] Diar. 30. 17. [Y] 1 Thes. 4. 3, 4. [Z] 1 Cor. 6. 15. [A] 1 Cor. 6. 19. [B] Esay 28. 1, 7, 8. Diar. 23. 29. [C] Mat. 22. 39. [D] Gal. 6. 10.

65.
Gad i gyfraith Duw'th reoli,
Ym mhob gorchwyl y fo iti;[E]
Nid oes unrhyw orchwyl perffaith,
Ond yr un sy'n ol y gyfraith.

66.
Cofia f' enaid nad oes gennyd,
Ddydd sertennol[F] ar dy fywyd;
Treulia pob dydd mor ddi-gamwedd
A phe bai ef ddydd dy ddiwedd.[G]

## XXIII.—CYNGHOR I WASANAETHU DUW.

1.
Y SAWL y fynno gael esmwythder,
Llwyddiant, heddwch, cyfoeth, cryf-
Parch a ffyniant tra font byw,[B] [der,[A]
Cwympent i was'naethu Duw.[C]

2.
Y neb y fynno ddiangc hefyd
Rhag trallodion tost ac adfyd,
Nychdod, niwed, anhap,[D] aflwydd,
Cwympent i wasnaethu'r Arglwydd.[E]

3.
Dyled pob dyn, tra fo byw,
Ydyw prudd was'naethu Duw,
Trwy lwyr gadw ei orch'mynion,
Ar bob pryd, o 'wyllys calon.[F]

4.
Rheita' gorchwyl,[G] penna' gweithred,
Mwya' ei ennill,[H] goreu ei warged,[I]
Siwra'[J] ei wobor,[K] tr'o[L] dyn byw,
Ydyw prudd[M] was'naethu Duw.

5.
Dyma'r unig waith a bwyntiwyd,[N]
I ni wneuthur, pan ein crewyd;[O]
Dyma'r gwaith y gorfydd cyfri'
Dosta'[P] am dano[Q] ddydd ein didri.[R]

### BETH YDYW GWASANAETHU DUW.

1.
GWRANDO'r Gair,[S] a cadw'r gyfraith,
Cadw'r 'Fengyl yn ddi-ragrith,[T]
Byw yn ol ei gwir oleuni,[U]
Yw gwas'naethu Duw o ddifri'.

2.
Gwneuthur y fo Duw'n orchymmyn,[V]
Goch'lyd yr hyn fyddo'n w'rafun,[W]
Dilyn ei air tra fom byw,[X]
Ydyw gwir was'naethu Duw.

### DAU RYW O WASANAETH.

1.
DAU ryw o wasanaeth ffyddlon
Y fynn Duw ar law pob Cristion,
Un trwy ffydd a chrefydd dduwiol,[Y]
'Llall trwy foes, a buchedd rasol.[Z]

#### I. GWASANAETH CREFYDDAWL.

1.
YN grefyddawl[A] rhaid ei was'naethu
Trwy wir grefydd, a'i foliannu,
Yn gyhoeddus,[B] ac yn ddirgel,
Yn y tŷ, ac yn y demel.

2.
Yn yr eglwys yn gyhoeddus,
Ar bob Sabboth,[C] yn dra pharchus,
Gyda'r dyrfa ar ein gliniau,
Ag un galon ac un genau.

3.
Ar ddydd gwaith, mewn 'stafell ddir-
Gyda'n tylwyth[E] fel mewn temel, [gel;[D]
Fore a hwyr trwy alw arno,
Gwrando ei Air, a'i wir fendithio.

#### II. GWASANAETH MOESAWL.

1.
RHAID gwas'naethu Duw yn foesol,
Trwy lân fuchedd[F] tra Christ'nogol,[G]
Ym mhob man, ac ar bob achos,
Hyd yr awr ddiwedda' o'n heinio's.[H]

2.
Rhaid yw byw yn ddiesgeulus,
Yn ol cyfraith Duw a'i 'wyllys;[I]
Nid yn ol ein ffansi'n[J] hunain,
Os gwas'naethwn Dduw yn gywrain.[K]

[E] Deut. 5. 32. [F] *Certain*, sicr. [G] Yn argraphiad Stephen Hughes, ychwanegir y pennill hwn:—

"Cofia'r nos dy waith y dydd,
Lle gwnaethost gam, gwna iawn yn brudd;
O digiaist Dduw, cais bardwn gantho;
Os cefaist ras, rho foliant iddo."

[A] Psalm 34. 10. 1 Tim. 4. 8. Deut. 28. 2. [B] Psalm 112. 2. Esay 58. 11, 12. [C] "Llwyddiant daearol, a rhyddhad rhag aflwydd bydol, a gaiff y duwiol, cyn belled ag y bo hyny er daioni iddynt" --S. Hughes. [D] Drwg ddamwain. [E] Llef. 26. 15. 16. Deut. 28. 15. 16. [F] Luc 1. 74, 75. Preg. 12. 13. Deut. 10. 20. Mat. 4. 10. [G] Deut. 10. 12. Luc 10. 42. [H] 1 Tim. 4. 8. Deut. 7. 12. 13. [I] Gweddill, elw. [J] *Surest*, sicraf. [K] Gwobr. [L] Tra fyddo. [M] Difrifol. [N] *Appoint*, gosod, trefnu. [O] Eph. 2. 10. [P] Llymmaf, manylaf. [Q] Mat. 25. 19—30. Luc 19. 22—24. [R] Cyfyng der. [S] Iago 1. 19. Deut. 10. 12, 13. [T] Marc 1. 15. [U] 1 Ioan 1. 7. [V] Deut. 28. 1. [W] Deut. 29. 25. [X] Deut. 27. 10. [Y] Marc 16. 16. [Z] Deut. 10. 12. [A] Rhuf. 10. 9, 13. [B] Deut. 16. 16. [C] Lef. 23. 3, a 26. 2. Luc 4. 16. Act. 20. 7. [D] Mat. 6. 6. Act. 10. 9. [E] Act. 10. 30. Deut. 6. 7. Jos. 24. 15. [F] Bywyd, ymarweddiad. [G] Rhuf. 12. 1. [H] Luc 1. 74, 75. [I] Deut. 5. 32, 33. [J] *Fancy*, tyb, dychymmyg, mympwy. [K] Cywraint, cyfarwydd, medrus.

3.

Rhaid yw dilyn buchedd dduwiol,
Yn ol 'wyllys ein Tad nefol,[L]
A rhyngu'i fodd, tra fom ni byw,
Os ceisiwn wir was'naethu Duw.

4.

'Neb na was'naetho Dduw yn brudd,
Yn ol ei Air, trwy fywiol ffydd,[M]
Ni all hwnnw, gwnaed ei orau,
Byth foddloni Duw a'i foesau.[N]

PA ENNILL SYDD O WASANAETHU DUW.

1.

Parch,[O] anrhydedd, union olud,
Gwir ddyrchafiad, hir oes, iechyd,
Heddwch, ffyniant o bob rhyw,[P]
Y geir o wir was'naethu Duw.[Q]

2.

Dos lle mynnech, doed[R] y ddelo,
Gwnaed pob gelyn waetha' ag allo,
Yn ddigonol ti gei fyw,[S]
Os ti a wir was'naethi Dduw.

3.

Yn y dref, ac yn y wlad,[T]
Am bob gorchwyl ti gei rad,
A gwir lwyddiant ar y feddi,[U]
Os yr Arglwydd a was'naethi.

4.

Bydd dy faesydd, bydd dy winllan,
Bydd dy letty, bydd dy gorlan,
Yn dra ffrwythlon, heb ddim aflwydd,[V]
Os ti wir was'naethi'r Arglwydd.

5.

Duw y fynn i bob rhyw Gristion,
Ei was'naethu â'i holl galon,
A'i holl enaid, â'i holl feddwl,[W]
A'i aelodau oll[X] a chwbwl.

6.

Rho dy gorph[Y] yn aberth bywiol,
I was'naethu dy Dad nefol;
A rho 'danwyl enaid hefyd,
I'w addoli ef yn hyfryd.

7.

Crist a brynnodd gorph ac enaid,
Ar y groes â'i waed bendigaid;
Mae e'n disgwyl cael ei 'ddoli
Gennym ym mhob un o rhei'ny.[Z]

8.

Ni fynn Duw, ein Tad galluog,
Un gwasanaeth dau-hanerog;[A]
Ond fe fynn ei 'ddoli'n hyfryd,
Gan bob gwas, â'r corph a'r yspryd.

9.

Yspryd ydyw Tad trugaredd,
Ac mewn yspryd a gwirionedd
Y mae'n gofyn ei addoli,[B]
O'r tu mewn, â chalon[C] wisgi.

10.

Ofer rhedeg dros baderau,[D]
O'r tu faes, â geiriau'r genau,
Oni bydd y galon hefyd
Yn gweddïo yn yr yspryd.

11.

Nid oes man ar gorph un Cristion,
Tu fewn, tu faes, yn oed y galon,
Na fynn Duw ei lwyr gyssegru,
Oll a chwbwl i'w was'naethu.

12.

Er bod Satan weithiau'n foddlon
Cym'ryd genym ran o'r galon,
Ni fynn Crist na phen na sowdwl,[E]
Oni cheiff ef oll a chwbwl.[F]

13.

Rho dy enaid i'w fendithio,[G]
Ac i orfoleddu ynddo;
Rho dy yspryd i gydnabod
Faint o bethau wnaeth ef erddod.[H]

14.

Rho dy fryd ar bethau nefol,[I]
Ac na sercha ddim daearol,
Meddwl am y wlad y gorfydd
Aros ynddi yn dragywydd.

[L] Col. 1. 10. Mat. 6. 10. [M] Heb. 11. 6. Rhuf. 14. 23. [N] Iago 1. 26. Esay 58. 3. [O] Yn argraphiad S. Hughes, a'r argraphiadau cyffredin, cylleir y pedwar pennill a ganlynant ar ddiwedd y rhan hon o'r Gân. [P] Deut. 28. 2. [Q] "Er y dichon y duwiol fod mewn tlodi, newyn, noethni, a thrallodion, fel Job ac eraill; etto, gyda'r prophwyd Habacuc, pe na byddai eidion yn y beudy, na dafad yn y gorlan, ac i'r olew-wydd ballu, hwy a ymddiriedant yn yr Arglwydd, ac a fyddent hyfryd yn Nuw eu hiachydwriaeth, yr hyn yw y gwir olud a'r gwir foddlonrwydd." R. Tomas. "Y mae weithiau y drwg, yn y byd hwn, yn anrhydeddus ac yn gyfoethog, megis Nebuchodonosor a Delfes, fel na ddichon un dyn gasglu, oddiwrth ei lwyddiant neu aflwyddiant bydol, pa un ai dyn da ai dyn drwg ydyw efe."—S. Hughes. [R] Deued. [S] Lef. 26. 5. [T] Deut. 28. 3. [U] Deut. 28. 12. [V] Deut. 7. 13, 14, 13–15. [W] Mat. 22. 37. [X] Rhuf. 6. 19. [Y] Rhuf. 12. 1. [Z] 1 Cor. 6. 20. [A] Hannerog, un rhan o ddwy. [B] Ioan 4. 24. [C] Diar. 23. 26. Mat. 15. 8. [D] Adrodd nifer pennodol o weddiau, yn ol yr arferiad Pabaidd. Gosodid gleiniau neu ddarnau crynion o goed, esgyrn, neu wydr, a thyllau trwyddynt ar linyn; ac ar ddiwedd pob gweddi, symmudid un o'r gleiniau o un pen i'r llinyn i'r llall, er mwyn cadw y cyfrif yn gywir. O herwydd bod y Pader, neu weddi yr Arglwydd, yn cael ei hadrodd yn aml, galwai y Cymry y llinynnau gleiniawg hyn yn Baderau, a'r Saeson a'u galwent "*Bead-strings*," a "*Rosaries*." [E] Sawdl. [F] Mat. 22. 37. [G] Psalm 103. 1, 2. [H] Erot, drosot. [I] Col. 3. 2.

15.

Rho dy gorph,[J] a'th holl aelodau,[K]
Fawr a bychain yn eu graddau,
Bob yr un, mewn gweddaidd gyflwr,
I was'naethu dy Greawdwr.

16.

Rho dy galon i'w wir garu,
Yn ddi-ragrith, a'i was'naethu,
Ac i lynu'n ddyfal wrtho,[L]
Gan roi llwyr ymddiried yntho.

17.

Rho dy dafod i'w glodfori,[M]
Ddydd a nos, a'r eitha' o'th allu,
Ac i ddatgan ei ddaioni
Ym mhob tyrfa delech iddi.[N]

18.

Rho dy lygaid i attendio,[O]
Ac i ddyfal ddisgwyl arno,[P]
Ac i edrych[Q] tua'r mynydd,
O'r lle daw dy holl lawenydd.[R]

19.

Rho dy glust i wrando'n barchus
Ar ei Air, ei arch, a'i 'wyllys,[S]
Ac i dderbyn yn ddi-sigyl
Addewidion yr Efengyl.

20.

Rho dy ddwylo yn awyddus
I bob gweithred sydd ddaionus;[T]
A chyfranna ei fendithion,
Wrth eu rhaid, i'th frodyr tlodion.[U]

21.

Rho dy luniau i'w addoli,
Ac i 'mostwng iddo o ddifri',[V]
Gan roi parch ac ofan[W] iddo,
Pa le bynag galwech arno.

22.

Rho dy draed i droedio'i lwybrau,[X]
Ac i rodio'n ffordd ei ddeddfau,
Ac i dramwy yn Grist'nogaidd
I'w lys a'i demel barchus sanctaidd.[Y]

23.

Rho dy enaid, rho dy yspryd,
Rho dy gorph, a'th galon hefyd,
A phob peth ag y sydd ynnod,
Ddydd a nos, i foli'r Drindod.[Z]

## RHESYMAU I'N CYNHYRFU I FOLI DUW.

1.

Duw a'th wnaeth yn ddyn deallus,
Ar ei lun ei hun yn weddus,[A]
'R wyt ti'n rhwym i'w ddoli'n ffyddlon,
Am dy wneuthur felly'n Gristion.

2.

Crist a'th brynodd o law Satan,
A'i wir waed, ac nid âg arian;[B]
Am i Grist mor ddrud dy brynu,
'Rwyt ti'n rhwym i'w brudd addoli.

3.

Duw a'th borthodd yn ddigonol,
O'r groth hyd yr awr bresennol;
Am dy borthiant, os ystyri,
'R wyt ti'n gaeth i'w wir was'naethu.[C]

4.

Ti addefaist, yn dy fedydd,
Wir was'naethu Crist yn ufudd;[D]
Oni was'naethi Duw fel Cristion,
'R wyt ti wedi tyngu 'nudon.

5.

Duw a wnaeth i bob creadur
Dan y nef, d'was'naethu'n brysur;[E]
'R wyt ti'n gaeth ar ben dy luniau,
Am y rhai'n i'w was'naethu yntau.

6.

Duw a wnaeth i byd gweledig,
Brudd was'naethu dyn yn ystig,[F]
Fel y gallai dyn a'i ryw,
Yntau'n brudd was'naethu yntau.

7.

Y dyn anghofio was'naethu Duw,
Yn ei radd, tra fyddo byw,
Mae'n anghofio'r weithred fwya',
Bwyntiodd[G] Duw i wneuthur yma.

8.

Nefoedd, daear, dw'r, angylion,
Adar, pysgod, bwystfil' gwylltion,
Ac ymlusgiaid o bob rhyw,
Sy'n eu gradd yn moli Duw.[H]

9.

Nid oes un o'r holl greaduriaid,
Gwyllt na dôf, na dwl, na diriaid,[I]
Heb was'naethu Duw trwy fawl,
Ond yn unig dyn a diawl.

[J] Rhuf. 12. 1. [K] Rhuf. 6. 19. [L] Act. 11. 33. [M] Psalm 51, 14, 15. [N] Psalm 40. 10. [O] *Attend*, dal sylw. [P] Psalm 123. 1. 2. [Q] "Gan ei dyrcha (dyrchafu.)"—S. Hughes. [R] Psalm 121. 1, 2. [S] Iago 1. 19. [T] Col. 1. 10. [U] Deut. 15. 11. Eph. 4. 28. [V] Psalm 95. 6. [W] Ofn. [X] Preg 5. 1. [Y] "Idd i lys a'i demel sanctaidd."—S. Hughes. [Z] Jos. 22. 5. [A] Gen. 1. 27. [B] 1 Petr 1. 18. 19. [C] Psalm 103. 5. [D] "A gedwi dithau gan hynny yn ufudd lân Ewyllys Duw a'i Orchymynion, gan rodio yn yr unrhyw holl ddyddiau dy fywyd? *Atteb.* Gwnaf."—GWEINIDOGAETH BEDYDD. [E] Gen. 1. 26. [F] Diwyd. [G] *Appoint*, gosod, trefnu. [H] Psalm 148. [I] Creulon, rheibus.

10.
C'wilydd, gwr'adwydd, maes o fesur,
Ydyw gweled pob creadur,
Yn gwas'naethu Duw yn ffyddlon,
A'i ddibrisio gan blant dynion.

11.
Pa wedd y cyfyd dyn ei ben,
Pan dd'wetto Crist o'i orsedd wen,
Nad oes neb yn ei was'naethu
Waeth na'r dyn y fu e'n prynu?

12.
Mae mwy dyled ar bob Cristion
Llwyr was'naethu Duw yn ffyddlon,
Nag y sydd ar un creadur
Ac y wnaeth Duw dan yr awyr.

13.
Nid â i uffern un creadur,
Gyd â'r diawl i'r poen-difesur,
Onid dynion gwaetha'u rhyw,
Eisiau gwir was'naethu Duw.

14.
Rhag i tithau fyn'd i frwylian,[J]
I dân uffern gyd â Satan,
Nac anghofia, tra f'ech[K] byw,
Ym mhob man was'naethu Duw.

15.
[L]Enoch, am was'naethu Duw,[M]
Y ga'dd fyn'd i'r nef yn fyw,
Yn ei gnawd, a'i wir gorpholaeth,
Cyn cael gweled dim marwolaeth.[N]

16.
Noah, am wir was'naethu'r Arglwydd,
Ga'dd ei gadw yn ddi-dramgwydd,
Yn yr arch, a'i dylwyth hefyd,
Pan y boddodd Duw yr holl-fyd.[O]

17.
Abra'm y ga'dd barch a golud,
Ffafar Duw, ac Isaac hefyd;
Holl wlad Canaan, a'i thai mawrion,
Am was'naethu Duw yn ffyddlon.[P]

18.
Isaac yntau, am fendithio
Duw'n y meusydd wrth fyfyrio,[Q]
Y ga'dd lafur ar ei ganfed,[R]
Gan yr Arglwydd am ei weithred.

19.
Joseph ddiwair, am was'naethu
Duw, a pheidio godinebu,[S]
Ga's ei dynnu maes o'r dwngiwn,[T]
A'i roi'n ben ar wlad y Sibsiwn.[U]

20.
Joshua rymus yntau yn lynu
Wrth yr Arglwydd, a'i was'naethu
Y ga'dd ennill brenhiniaethau,
A phob tir a gwlad y gerddai.[V]

21.
Hen Elias ga'dd ei borthi,
Gan y cigfran, yn ei d'lodi,[W] [llyd,[X]
A'i ddwyn i'r nef mewn cerbyd tan-
Am was'naethu Duw'n ei fywyd.

22.
Shadrach, Mesach, Abednego,
Am was'naethu Duw a'i gofio,[Y]
A waredwyd, yn dra hyfryd,
O'r tân poeth, a'r ffwrnes danllyd.[Z]

23.
Daniel am was'naethu'n ufudd [ydd,[A]
Dduw'n ei 'stafell dair-gwaith beun-
Y ga'dd ddiangc rhag y llewod,
A'i waredu maes o drallod.[B]

24.
Pwy erioed a wnaeth wasanaeth
I'r gwir Dduw, heb wobor helaeth?[C]
Pwy a dannodd ei ogoniant,
Na chadd ganddo barch a ffyniant?

25.
Ni agorodd undyn etto
Ddrws ei demel heb ei wobro,[D]
Ac ni 'nynnodd un offeiriad
Dân yr allor, heb iawn daliad.[E]

26.
Ni ry undyn byth gwppanaid,
Er ei fwyn, o ddw'r i'r gweiniaid,[F]
Ag na chaiff ei wobro gantho,
Ar ei ganfed, medd Saint Matho.[G]

27.
Goreu meistir i'w was'naethu,
Mwya'i barch, yw'r Arglwydd Iesu,
Goreu'n talu taliad ffyddlon,
Am wasanaeth i'w holl weision.

[J] *Broil*, crasu, llosgi. [K] Fyddech. [L] Yma, yn Argraphiad S. Hughes, dechreuir rhan arall o'r Gân dan yr enw, "Siamplau o Wir Wasanaethwyr Duw, a'u Gwobrwy." [M] "Er nad oes neb yn haeddu trugaredd, ymwared, a bywyd tragwyddol, am eu gwasanaeth (fel y mae yr Awdwr yn dywedyd ronyn yn y blaen, ac mewn amryw leoedd eraill,) waith bod eu gweithredoedd goreu yn amherffaith; etto y mae'r sawl sydd yn gwasanaethu Duw ar y ffordd i gael hynny oll, o herwydd bod Duw, o'i gariad a'i ras ei hun, er mwyn Crist, wedi addaw gwneuthur hynny iddynt. Phil. 3. 9, 12. Luc 17. 10. Rhuf. 6. 23. Eph. 2 9–11."—S. Hughes. [N] Gen. 5. 24. [O] Gen. 7. 23. [P] Gen. 15. 18. [Q] Gen. 24. 63. [R] Gen. 26. 12. [S] Gen. 39. 9. [T] *Dungeon*, daeardy. Gen. 41. 14. [U] *Egyptians*, Aiphtiaid. Gen. 41. 41. [V] Jos. 24. 15–18. [W] 1 Bren. 17. 4, 6. [X] 2 Bren. 2. 11. [X] "A'i ddwyn i'r nef mewn coits danllyd."—S. Hughes. [Y] Dan. 3. 16. 17. [Z] Dan. 3. 26. [A] Dan. 6. 10. [B] Dan. 6. 25. [C] Deut. 28, 2, &c. [D] Gwobrwyo. [E] Mal. 1. 13. [F] Mat. 10. 42. [G] St. Matthew, pen. 19. 29.

28.
Meistr grasol, meistr grymus,
Meistr rhial,[H] gogoneddus,
Meistr y wna ei holl weision
Yn offeiriaid a thyws'ogion.[I]

29.
Meistr y wna iddynt eiste'
Yn y nefoedd mewn cadeiriau,
Mewn esmwythder a dedwyddwch
Mawr ogoniant a rhialtwch.[J]

30.
Meistr a rŷdd i'w holl weision
Deyrnas hardd, ac auraidd goron,
A'r fath bethau mawr arbennig,
Na all calon dyn ddychymmyg.[K]

31.
Pwy gan hynny na was'naethai
Crist yn ddyfal ar ei liniau,
'R hwn sy'n gwabru'i[L] gywir weision,
A'r fath deyrnas, a'r fath goron?

32.
Pwy na scorniai'r[M] byd a'r cnawd,
A'r cythraul cas, a'i saig,[N] a'i sawd,[O]
Ag ystyriai faint yw cyflog
Holl was'naethwyr Duw galluog?

33.
Er nad oes un gwas yn haeddu
Cael un wobor am was'naethu,[P]
Etto o'i ras mae Duw yn addo
Teyrnas nef i'r rhai gwas'naetho.

34.
Gwas i bechod, gwas i gythraul,
Gwas i angau trist trwy drafael,[Q]
Yw pob gwas sydd yn gwas'naethu,
Na bo gwas i'r Arglwydd Iesu.

35.
Pan y delo angau digllon,
Fyn'd i'r bar[R] â phob rhyw weision,
O! pu'n oreu'r amser hynny,
Was i'r cnawd, ai gwas i'r Iesu?

36.
Pan y llosgo'r byd yn chwilboeth,
A'i holl olud, a'i holl gyfoeth,[S]
O! pu'n oreu'r amser trist,
Was i'r byd, ai gwas i Grist?

37.
Pan ddyrchafer plant y Drindod,
A throi i uffern weision pechod,
Hi fydd chwerw'r amser hynny,
Ado'r Arglwydd heb was'naethu.

38.
Mwy o ennill sydd mewn awr
Yng ngwas'naethu'r Arglwydd mawr,
Nag y gaffom o'n holl fywyd,
Yn gwas'naethu'r byd anhyfryd.

39.
Am was'naethu'r byd yn gyfan,
Ni cheir ond y poen a'r ffwdan,[T]
A'r twyll tost wrth fyn'd o hono,
Yn noeth, fel y daethpwyd iddo.

40.
Am was'naethu'r cnawd trwy bleser,
A'i foddloni âg esmwythder,
Ni cheir cyflog gantho, ysywaeth,[U]
Ond oes ferr a llygredigaeth.[V]

41.
Am was'naethu unrhyw bechod,
Pe gwas'naethem hwn yn wastod,[W]
Ni cheir, gwedi'r hir wasanaeth,
Ganddo ond gw'radwydd a marwolaeth

42.
Am was'naethu tad y celwydd,
Er ei fod yn cynnyg gwledydd,[X]
Nid oes droedfedd dir gan Satan,
Ond pwll uffern iddo'i hunan.

43.
Am was'naethu'r Arglwydd Iesu,
Y mae teyrnas i'w meddiannu,[Y]
A gogoniant a dedwyddwch,
A gwir fywyd mewn rhialtwch.[Z]

44.
Ymrown ninnau tra fom byw,
Bawb i brudd[A] was'naethu Duw;
Dyna'r meistr i'w was'naethu,
Dyna'r gorchwyl rheita' i'w bennu.[B]

45.
A meddyliwn bawb am ymladd
A phob gelyn sy'n ei gwrthladd,[C]
Yn ei hattal, yn ei stoppi,[D]
Weithio'r gwaith sydd rheita' ini.

46.
Ac fel gweithwyr cywir, ffyddlon,
Call, cofiadur,[E] carcus,[F] cyfion,
Cwympwn bawb i wir was'naethu
Duw, tr'o amser gras yn gadu.[G]

47.
Oni was'naethwn Dduw tr'o'n yma,
A thr'o amser gras yn para,
Ni gawn fyn'd i'r pwll yn gynghan,[H]
Ar ein pen, 'was'naethu Satan.

[H] *Royal*, brenhinol. [I] Dat. 1. 6. [J] *Royalty*, mawredd, brenhinoldeb. [K] 1 Cor. 2. 9. [L] Gwobrwyo. [M] *Scorn*, dibrisio dirmygu. [N] Arlwy, darpariaeth. [O] Gwasanaeth. [P] Luc 17. 10. [Q] *Travail*, trafferth. [R] Brawdle, lle barn. [S] 2 Petr 3. 7. [T] Trafferth. [U] Fel y mae gwaethaf. [V] Gal. 6. 8. [W] Gwastad, parhaus. [X] Mat. 4. 9. [Y] Mat. 25. 24. [Z] Rhwysg, gogoniant. [A] Syml, difrifol. [B] Pennodi, penderfynu arno. [C] Gwrthwynebu. [D] *Stop*, rhwystro. [E] Cofus. [F] *Careful*, gofalus. [G] Tra fyddo. Esay 55. 6. [H] Yn gryno.

48.
Yn y pwll hi fydd edifar,
Trwy 'difeirwch rhy ddiweddar,
Mor ddi-bris ddirmygu'r Drindod,
Ac mor rhwydd was'naethu pechod.

49.
Yno wylir halltion ddagrau,[I]
Yno bloeddir gan y poenau;
Ond pe wylid perfedd allan,
Ni ddoir byth o grampau[J] Satan.

50.
Cwympwn pawb yn brudd gan hynny,
I was'naethu Duw, tra hi'n heddy',
A rhown ffarwel bawb i bechod,
Trwy lwyr droi i was'naethu'r Drindod

51.
Felly cawn ni, pan fo rheita',
Gwedi'r byr wasanaeth yma,[K]
Byth was'naethu'r Arglwydd tirion,
Yn y nef ym mhlith angylion.

52.
I'r hon nefoedd, O! 'n Creawdwr,
Er mwyn Iesu Grist, ein Prynwr,
Dwg ni oll i'th wir was'naethu,
Gyda'r saint a'th nefol deulu.

## XXIV.—AM WEDDI A'I PHERTHYNASAU.

1.
TYNN dy 'sgidiau cyn gweddïech,[A]
Rhwym dy asen cyn aberthech,[B]
Golch dy draed cyn myn'd i'r cymmun,
Ystyria geisiech cyn ei ofyn.

2.
Cyn gweddïo, edifara,[C]
Wrth weddïo dyfal wylia,[D]
Yn ol gweddïo, bydd ddiolchgar,[E]
Felly caiff dy weddi ffafar.[F]

3.
Y diawl a gais bob dydd dy demptio,[G]
Y cnawd bob awr a fynn dy dwyllo,
Y byd a'i bethau gais d'orchfygu,
Prawf[H] trwy weddi eu gwrth'nebu.

4.
Da yw gweddi ym mhob lleoedd,[I]
Da yw gweddi bob amseroedd,[J]
Da yw gweddi dros bob dynion,[K]
Mae'n dda gweddïo 'mhob achosion.

5.
Aberth hyfryd i'r Gorucha,'
Whip[L] yn sgwrgio'r[M] diawl a'i dyrfa,
Nerth i'r gwan ym mhob gofidi,[N]
Nawdd rhag pob drwg ydyw gweddi.

6.
Allwedd aur i ddadgloi'r boreu,
Bollt y nos i gau dy ddrysau,
Tŵr i'th gadw rhag drygioni,
Ddydd a nos, yw duwiol weddi.

7.
Gweddi brudd sydd trech na dynion,[O]
Gweddi daer a drodd angylion,[P]
Gweddi a fwriodd ddiawliaid allan,[Q]
Gweddi orchfygodd Dduw ei hunan[R]

8.
Na ddibrisia ddim o'th weddi,
Mae'n y nef fel thus[S] yn llosgi,
Mae ar y ddae'r yn clwyfo Satan,
Mae'n ennill-fawr it' dy hunan.

9.
Mewn ffydd,[T] a pharch,[U] a llwyr-fryd calon,[V]
Mewn zel,[W] ac awch, a moddwl union,[X]
Mewn deall[Y] drud[Z] a dyfal geisio,
Mewn hyder prudd[A] y mae gweddïo.

10.
Cwyn[B] d'olygon, plyg dy liniau,
Taen dy ddwylo, agor d'enau,
Deffro d'yspryd, cur dy ddwyfron,
Llwyr weddïa a'th holl galon.

11.
Nid ar Baal,[C] na'r llo,[D] na'r ddelw,[E]
Sant, na santes,[F] y mae galw,
Ond ar Dduw, trwy Grist yn unig,
Am bob peth sydd arnat ddiffyg.

[I] Mat. 8. 12. [J] Crafangau. Mat. 5. 26. [K] 2 Cor. 4. 16.

[A] Exod. 3. 5. [B] Gen. 22. 5. [C] Psalm 51. 3. [D] Marc 14. 38. [E] Psalm 118. 21. [F] *Favour*, derbyniad, cymmeradwyaeth. [G] *Tempt*, hudo, denu. [H] Cynnyg, ymdrechu. [I] 1 Tim. 2. 8. [J] 1 Thes. 5. 17. [K] 1 Tim. 2. 1 [L] *Whip*, ffrewyll, fflangell. [M] *Scourge*, ffrewyllu, fflangellu. [N] Gofid. [O] Exod. 17. 11. [P] Gen. 19. 3. [Q] Mat. 17. 21. [R] Exod. 32. 14. [S] Perarogl. Dan yr oruchwyliaeth seremoniol, llosgid llysiau arogl-ber wrth offrymu, er rhagarwyddo haeddiant eiriolaeth Crist. [T] Marc 11. 24. [U] Heb. 12. 28. [V] Jer. 39. 13. [W] Iago 5. 16. [X] Psalm 66. 18. [Y] 1 Cor. 14. 15. [Z] Cryf. [A] Dwys, ystyriol. [B] Cyfod. [C] Ellun, neu ddelw, a addolid gan Israel, yn neillduol yn amser Ahab. [D] Gwnaed llo i'w addoli gan Aaron. Gen. 32. 4, a gwnaed dau lo gan Jeroboam fab Nebat, brenhin Israel, 1 Bren. 12. 28. [E] Delwau mewn addoldai Pabaidd, y rhai a osodid i fynu i'w haddoli gan y werin. [F] Yn yr oes gyntaf ar ol y Diwygiad oddiwrth Babyddiaeth, yr oedd y Ficer Prichard yn byw, ac ymddengys bod llawer o weddillion yr arferion Pabaidd yn aros yn ei amser ef. Cyfeirir at un o honynt, sef addoliad seintiau, yn y pennill hwn. Dechreuwyd yr arferiad oddiar y dyb fod y rhai a ystyrient hwy yn seintiau wedi cyflawni llawer o weithredoedd dros ben a orchymynwyd, ac y gallent gyfrannu rhan o haeddiant y rhai hynny i'r sawl a'u parchent ac a weddient arnynt. Gwrthbrofir y cyfeiliornad hwn yn y pedwerydd ar ddeg a'r ail ar hugain o Erthyglau Eglwys Loegr.

12.
Ni ŵyr neb ond Duw o'n cyflwr,
Ni all neb ond Duw roi swccwr,
Ni clyw neb ond Duw ein gweddi,
Ar Dduw'n unig y mae gwaeddi.

13.
Duw sy'n erchi galw arno,[G]
Duw sy'n addo rhoi ond ceisio,[H]
Duw sy'n gwrando pob prudd weddi,
Duw all dynnu pawb o'u tlodi.

14.
Ni ŵyr Abra'm,[I] ni ŵyr Iago,
Ym mha gyflwr yr ŷm ynddo;
Ni ŵyr neb ond Duw ei hunan,
Beth yw'n cais, a maint yw'n cwynfan.

15.
Peth perth'nasol i Dduw'r lluoedd
Ydyw gwrando gweddi miloedd,[J]
A fo'n ceisio mil o bethau,
Ar un pryd mewn amryw ieithiau.

16.
Ni ŵyr Mair,[K] i'm tyb, ddim Saes'naeg,
Ni ŵyr Martha [L] ddim Gwyddelaeg,
Ni ŵyr Clement [M] Saint ddeallu
Beth y ddywed un o'r Cymry.

17.
Ni ŵyr Abraham o'n cyflwr,
Ni all Clement roi i ni swccwr,
Ni chlyw Peder ddim o'n gweddi;
Ar Dduw'n unig y mae gwaeddi.

18.
Parcha'r saint yn fawr yn fychan,
Ond addola Dduw ei hunan,[N]
Rho anrhydedd gweddus iddynt,
Etto na weddïa arnynt.

19.
Ni bu batriarch, ni bu brophwyd,
Ni bu 'postol ag y glywyd,
Wneuthur gweddi (ar ddarllenais,)
Etto 'rioed ar sant na santes.

20.
Nid oes bromais [O] yn y 'Fengyl,
I ni gael dim trwy fawr ymbil,
Ond y gaffom trwy ymbilian
Er mwyn Iesu Grist ei hunan.[P]

21.
Crist yn unig yw'n Cyfryngwr,[Q]
Crist yw'n twrnai [R] a'n dadleuwr,
Nid oes arall all gyfryngu
Rhwng Duw a dyn ond Crist Iesu.

22.
Er mwyn Iesu y mae ceisio
Faint y geisiom wrth weddïo;
Ar ddeheulaw'r Tad mae'n eiste',[S]
Er mwyn derbyn ein gweddïau.

23.
Cym'red eraill hen Saint Cathrin,
Dewi, Clement, Martha, Martin,[T]
Byth ni cheisiaf fi gyfryngwr [wr.
Rhyngwy' a Duw ond Crist fy Mhryn-

24.
Cais yn eiriol, wrth weddïo,
Nerth yr Yspryd i'th gyf'rwyddo;
Ni all neb weddïo'n hyfryd
Heb gyf'rwydd-deb y Glân Yspryd.

25.
Heb yr Yspryd fe ellir sonio
Am Dduw mawr, ac am weddïo;[U]
Ond ni ddichon undyn dd'wedyd
Wrth Dduw mawr heb nerth yr Yspryd.[V]

26.
Duw ni phrisia weddi'r tafod,
Heb y galon a'r gydwybod;
Gweddi'r enaid prudd, a'r yspryd
O flaen Duw sydd aberth hyfryd.

27.
Cais â'r genau, cais â'r galon,
Un o'r ddau sydd lai na digon;
Cydia'r genau gyd â'r yspryd,
Hynny bair gynghanedd hyfryd.

28.
Gwell yw'r galon heb y genau,
I weddïo ymbell [W] weithiau,
Nag yw'r genau heb y galon,
Gweddi o'r fath sydd weddi ffinion.[X]

29.
Gwell oedd gweddi Moesen hyfryd,
Wrth siwrneia,[Y] heb ynghanyd,[Z]
Na gwaith gwefus yr Iuddewon
Yn gweddïo heb y galon.

30.
Cais a geisiech trwy wir ffydd,
Na chymmer ball, ond begian [A] brudd,
Nag ammeu dderbyn 'rhyn a geisiech,
O ceisi'n daer, di gei ofynnech.[B]

[G] Psalm 50. 15. [H] Mat. 7. 8. [I] Esay 63. 16. [J] Psalm 65. 2. [K] Mam yr Iesu. [L] Chwaer Mair a Lazarus. [M] Un o Babau Rhufain. [N] Mat. 4. 10. [O] *Promise*, addewid. [P] Pen. 16. 24. [Q] 1 Tim. 2. 5. [R] *Attorney*, un yn dadleu achos arall mewn llys. [S] Rhuf. 8. 34. [T] Rhai o'r seintiau yr oedd y Pabyddion yn gweddïo arnynt. Dewi oedd Gymro, a aned yn sir Benfro, ac a fu yn Archesgob yng Nghaerlleon-ar-Wysg, a Thy-Ddewi. Anrhydeddid ef fel sant gan yr Eglwys Babaidd, er ei fod yn iach yn y ffydd, ac wedi bod yn ddefnyddiol ym mhlith ei gyd-genedl cyn dwyn Pabyddiaeth i'r wlad hon. Ym mhen oesoedd wedi ei farwolaeth, seintiwyd ef gan y Pab Calistus, tua'r flwyddyn 1120, ac âi llaweroedd ar bererindod at ei fedd yn Nhy-Ddewi. [U] Rhuf. 8. 26. [V] Mat. 15. 8. [W] Ambell. [X] Ffiaidd, cas. [Y] *Journey*, teithio. [Z] Llefaru. Exod. 14, 15. [A] *Beg*, deisyf, erfyn. [B] Mat. 7. 8.

31.
Ni chau'r adar bach o'u safnau
Nes y llanwo eu mam eu boliau,
Ac ni ddylau dynion dewi,
Nes cyflawno Duw eu gweddi.

32.
Rhyfedd yw mor daer y begian,
Llawer dyn am fwyd ac arian,
Ac mor llwfr y gweddïant
Am drugaredd a gogoniant.

33.
Hael yw Duw i'r sawl a'i ceisiant,
Rhwydd yn rhoi i'r rhai ofynant,
Rhoi yn brudd, heb ddim dannod-
iaeth,[C]
Rhoi eu rhaid i bawb yn helaeth.

34.
Fel y gwrendy mam ar blentyn,
Y fo'n llefain yn ei rwymyn,[D]
Felly gwrendy Duw ein gweddi,
Pan y llefom mewn gofidi.[E]

35.
Pa wedd na wrendy Duw dy weddi,
Lle mae'r Yspryd Glân yn gwaeddi,[F]
A Christ Iesu'n ymbil drosod,
Ar ddeheulaw'r Tad yn wastod?[G]

36.
Os yn enw Crist y ceisi,[H]
Os yn eiriol[I] y gofynni,
Ty gei naill ai'r hyn ofynnaist,
Neu beth gwell na'r hyn y geisiaist.

37.
Os bydd d'Arglwydd yn dyhiro[J]
Rhoi y fynnech wrth weddïo,
Mae e'n d'annog geisio'n daerach,
Neu ddymuno rhywbeth rheitiach.

38.
Cais ogoniant Duw yn gyntaf,
Cais nefolion bethau'n nesaf,
Cais ei deyrnas a'i gyfiawnder,
Di gei'r cwbl heb ddim prinder,[K]

39.
Gochel geisio, tra f'ech byw,
Ddim yn erbyn 'wyllys Duw;[L]
Digio Duw y mae dy weddi,
Os ceisi'r peth na fynno'i roddi.

40.
Ffol yw ceisio bydol bethau,
Pan galler cael nefolion dlysau;[M]
Serchu'n fawr mewn daear domlyd,
Heb wneuthur pris o'r nefoedd hyfryd.

41.
Natur mochyn brwnt, anhygar,
Yw rhoi ei fryd ar drwyno'r ddaear,
Nid naturiaeth un o'r bobloedd
Sydd â'u Tad yn nheyrnas nefoedd.[N]

42.
Cais y peth mae Duw'n ei addo,
Yn ei Air, ac yn ei lŵo;[O]
Cais y rhain, er hyn yn weddus,
Os cenhada ei sanctaidd 'wyllys.

43.
Gwna dy weddi byth yn ddiwall,
Yn y iaith y f'ech yn ddeall,[P]
Gwell yw pum' gair ag ystyriech,
Nag yw deng-mil nas deallech.

44.
Gwatwor Duw, a'i dwyllo ei hun,
Wrth weddïo y mae dyn,
Pan y ceisio, wrth friwgawthan,[Q]
Gan Dduw'r peth nas gŵyr ei hunan.

45.
N'âd i'r min ragflaenu'r meddwl,
Pâ'r i'r galon bwyso'r cwbwl;
Ni all Duw un amser odde',
Heb y galon, weddi'r genau.[R]

46.
Duw yw chwiliwr y calonnau,[S]
Duw ei hun yw Tad y golau,[T]
Duw fynn weddi brudd o'r galon,
Duw ni phrisia eiriau gweigion.

47.
Tro bob meddwl allan heibio
Pan y byddech yn gweddïo,
A rhwym gartref dy fydolrwydd,
Tre'ch[U] yn parlo,[V] ti a'th Arglwydd.

48.
Ni chai asyn Abram sangu,
Lle bai Abram yn aberthu;[W]
N'ad i'th fydol feddwl dithau
Dramwy lle bo dy weddïau.

49.
Megis Abram, rhaid it' darfu,
Pob rhyw rwystrau wrth aberthu.[X]
A rhyfela â'r busnesson[Y]
A'th attalio i adael[Z] Seion.

50.
Pa ddyfala' ceisio Satan,
Pan gweddïech, droi dy amcan,
Rhoita' i gyd i ti weddïo.
A'i wrth'nebu nes y cilio.[A]

[C] Iago 1. 5. [D] Psalm 103. 13. Job 22. 27. [E] Gofid. [F] Rhuf. 8. 26. 7. [G] Yn wastadol, bob amser. [H] Ioan 16. 23. [I] Yn daer. [J] Oedi. [K] Mat. 6. 33. [L] 1 Ioan 5. 14. [M] Addurniadau gwerthfawr. [N] Col. 3. 1, 2. [O] *Allow*, caniattau. [P] 1 Cor. 14. 19. Cyfeirir yma at arferiad y Pabyddion, y rhai, ym mhob gwlad, a adroddant eu gweddïau yn Lladin, er na fyddant yn deall gair o honynt. [Q] Bragawthan, dywedyd llawer o eiriau annealladwy a diystyr. [R] Mat. 15. 7, 8. [S] Jer. 17. 10. [T] Iago 1. 17. [U] Tra fyddech. [V] *Parley*, ymddiddan. [W] Gen. 22. 5. [X] Gen. 15. 11. [Y] *Businesses*, gorchwylion, negesau. [Z] Adeiladu. [A] Iago 4. 7.

51.
Fel y cilia'r llew crafangog,
Fel y clywo ganiad ceiliog,[B]
Felly cilia Satan greulon,
O'r lle clywo weddi ffyddlon.

52.
Ni all bual[C] dringo'n neppell,
Lle bo gwichiad ci[D] neu barchell,
Ni all Satan yntau drigo
Lle bo dynion yn gweddïo.

53.
Oni bai fod Satan ddyrngas,
Yn gwel'd gweddi'n rhwygo'i deyrnas,
Ac yn awchlym yn ei glwyfo,
Byth ni rwystrai neb i weddïo.

54.
Ond os ceri iechyd d'enaid,
A gogoniant Duw, a'th gyfraid,
N'âd i Satan byth dy rwystro
Wrando'r gair, nac i weddïo.

55.
Wrth weddïo, llef heb orphwys
Dros bob gradd sydd yn yr Eglwys,[E]
Ac nac arfer, megis pagan,[F]
Weddi'n unig it' dy hunan.

56.
Nid gwir blant yr eglwys sanctaidd,
Ond bastardiaid anghrist'nogaidd,
Yw pawb na weddïo'n ffyddlon
Dros yr eglwys, sanctaidd Seion.

57.
Os gweddïodd Abram fwyna'
Dros dref Sodom, a Gomorra,[G]
Pa wedd na ddylem ni'r Crist'nogion,
Alw ar Dduw dros deulu Seion.[H]

58.
Crist sy'n erchi i bawb weddïo,
Ar bob amser, heb ddiffygio;[I]
A Sant Paul sy'n chwennych ini
Ym mhob man ymarfer gweddi.[J]

59.
Daniel rasol a weddïai
Dair gwaith beunydd ar ei liniau;[K]
A'r brenhinol brophwyd Dafydd
Y weddïai saith waith beunydd.[L]

60.
Crist, ein Prynwr, yntau'n glos,[M]
A weddïai tra fai'r nos,[N]
Ac y dreulia'r dydd, tra gantho,
Yn pregethu neu'n gweddïo.[O]

61.
Ym mhob man, ac ar bob amser,
Y mae gweddi o fawr bŵer,[P]
Os y galon a fydd parod
I ymbilian â'r hael Drindod.[Q]

62.
Ar y moroedd, ar y mynydd,
Yn y teiau, ar ein maesydd,
Y dirperai[R] in' weddïo,
Ym mha fan y bom ni ynddo.

63.
Gyda Pheder, yn ein lletty,[S]
Gyda Dafydd, yn y gwely,[T]
Gyda Daniel rhwng y llewod,[U]
Y mae'n rhaid gweddïo'n wastod

64.
Ni ddiffoddai ar un tymmor
O'r tân sanctaidd ar yr allor,[V]
I fynegu byth na ddylai,
Ddiffodd zel[W] dy weddi dithau.

65.
Dyn sydd demel i'r goruchaf,
Calon dyn yw'r allor bennaf;
Foreu a hwyr y mae Duw'n ceisio
Cael o'th galon aberth iddo.[X]

66.
Nâ'd y demel, er dy fywyd,
Foreu a hwyr, heb aberth hyfryd;
Ac nâ'd ganol dydd i basio,
Heb roi clod a moliant iddo.[Y]

67.
Felly byddi di ffamiliar[Z]
A'th Greawdwr, ac mewn ffafar;[A]
Felly cei di gan y Drindod
Dy ryddhau, a'th helpu'n wastod.

68.
Nid oes dim a ddirper[B] rwystro
Dyn 'wyllysgar i weddïo,
Ac i weithio'i orchwyl hefyd,
Pa ryw bynnag fo'i gelfyddyd.

69.
F'all dyn weithio ei gelfyddyd,
A gweddïo'n ddyfal hefyd,
Ni chais gweddi'r galon rwystro
Hynt[C] y traed na gwaith y dwylo.

70.
Fe allai Foesen[D] wrth siwrneia,[E]
Fe allai Joshua wrth ryfela,[F]
Crist wrth ymdaith,[G] Paul wrth forio,[H]
Dendio[I] eu neges a gweddïo.

[B] Credid amryw draddodiadau yn amser y Ficer, a ystyrir yn ddisail yn yr oes hon, fel y sylwyd ynghylch y Pelican, tudal. 44; ond er bod y traddodiadau yn amheus, y mae y defnydd a wna yr Awdwr o honynt yn fuddiol ac addysgiadol. [C] Ych gwyllt. [D] "Ciw."—S. Hughes. [E] 1 Tim. 2. 1, 2. [F] Dyn digred. [G] Gen. 18. 23. [H] Psalm 51. 18. [I] Luc 18. 1. [J] 1 Tim. 2. 8. [K] Dan. 6. 10. [L] Psalm 119. 164. [M] *Close*, dyfal, diwyd. [N] Luc 6. 12. [O] Ioan 8. 4. [P] *Power*, gallu. [Q] Iago 5. 16. [R] Y mae yn ddyledus. [S] Act. 10. 9: [T] Psalm 63. 6. [U] Dan. 6. 20. [V] Lef. 6. 13. [W] *Zeal*, gwres. [X] Diar. 23. 26. [Y] Psalm 55. 17. [Z] *Familiar*, cyfeillgar. [A] *Favour*, cymmeradwyaeth. [B] A ddylai. [C] Cerddediad. [D] Moses. [E] Teithio. Exod. 14. 15. [F] Jos. 10. 12. [G] Marc 1. 35. [H] Act. 27. 33. [I] *Attend*, gofalu am.

71.
Er bod esgus yn lwedig,[J]
Lawer pryd, mewn pwyntiau[K] pwysig,
Nid oes esgus ellir enwi,
All d'esguso am dy weddi.

72.
Gelli beidio myn'd i'r eglwys,
Pan b'ech glaf o'r haint a'th rwystr-
Ond er clafed blin a fyddech, [wys ;
Rhaid gweddïo nes departech.[L]

73.
Gelli beidio rhoi elusen,
Pan na byddo'i yn dy berchen ;
Ond er cymmaint a fo'th d'lodi,
Nid oes peidio byth â gweddi.

74.
Ym mhob cyflwr, ar bob amser,
Y mae gweddi yn ei themper ;[M]
N'âd gan hynny ddim dy rwystro,
Ym mhob cyflwr, brudd weddïo.

75.
Yn ein trallod, yn ein gwynfyd,
Ym mhob nychdod, yn ein iechyd,
Ym mha gyflwr y bom ynddo,
Y gall Cristion wir weddïo.

76.
Nid yw carchar,[N] nid yw cloion,
Nid yw rhwystrau holl blant dynion,
Na'r byd oll yn rhwystro gweddi,
Fyn'd bob awr at dad goleuni.

77.
Tynn di dafod dyn o'r gwreiddiau,
Torr ei draed, a rho fe 'ngwarchae,[O]
Fe all gweddi'r galon saethu
Trwy bob clo at Dduw, er hynny.

78.
Ar ŵyl a gwaith, ar nos a dydd,
Ar foreu a hwyr, caiff gweddi brudd
Fyn'd at Dduw, y pryd y mynno ;
Doed pan ddel hi gaiff ei groeso.

79.
Er na chai'r frenhines Hester[P]
Fyn'd at y brenhin, ond ryw amser,
Fe gaiff gweddi, heb ei rhwystro,
Fyn'd at Dduw y pryd y mynno.

80.
Cwyn[Q] fel Daniel ar y wawr-ddydd,
Cwyn di ganol nos fel Dafydd,[R]
Mae Duw'n barod gwrando 'geisiech,
Galw arno'r awr y mynnech.

81.
Er na ddichon dyn ei hunan
Fyn'd i'r nef, at Grist i 'mddiddan,
Fe gaiff gweddi heb ei rhwystro,
Fyn'd at Dduw yr awr y mynno.

82.
Trwy'r gwynt a'r gwlaw, trwy'r air[S]
a'r tonnau,
Trwy'r ser[T] i gyd, a'r holl blanedau,[U]
Yr aiff gweddi fel llucheden,[V]
O flaen Duw uwchlaw'r ffurfafen.

83.
Ni all nef, na dae'r na dynion,
Awdurdodau nac angylion,
Rwystro gweddi gael ymddiddan
Bob yr awr â Christ ei hunan.

84.
Nid rhaid iddi ofyn cennad,
Simon Peder,[W] i gael agoriad,
Hi gaiff fyn'd trwy'r holl angylion,
O flaen gorsedd Crist yr eon.[X]

85.
Hi gaiff gan Dduw wrando'i chysur,
Hi gaiff gan Grist bleidio[Y] y dolur,
Hi gaiff gan yr Yspryd riddfan,
Ac och'neidio drosti'n gynghan.[Z]

86.
Ni thrŷ Rhoddwr pob daioni
Adre'n waglaw o'th brudd weddi,[A]
Ond fe leinw Crist ei mynwes,
Ac a'th nertha i gael ei neges.

87.
Oni chaiff hi'r hyn a geisio,
Hi gaiff well na hynny gantho,
Can's ni edy Crist un amser
Weddi ffyddlon fyn'd yn ofer.

88.
O ! pa ddyled s'arnom roddi,
I'r gwir Dduw, am odde'n gweddi,
Fyn'd o'i flaen yr awr y mynnom,
A chael gantho'r hyn a geisiom.

89.
Braich yw gweddi sy'n cyrhaeddyd
O'r byd hwn i'r nefoedd hyfryd,
Ac yn cym'ryd o drysorau
Duw beth bynnag s'arni eisiau.

90.
Gweddi brudd sydd gennad hy,
A red dros ddyn i'r nefoedd fry,
Ac y gaiff bob awr ymddiddan,
Yn ddi-stop,[B] â Duw ei hunan.

[J] *Allowed*, yn cael ei ganiattau. [K] *Points*, pyngciau, matterion. [L] *Depart*, ymadael, marw. [M] *Temper*, tymher, blas. [N] Act. 16. 24. [O] Mewn gwarchae, mewn caethiwed. [P] Esther, pen. 4. 11. [Q] Cyfod. [R] Psalm 119. 62. [S] *Air*, awyr. [T] "Trwy sphêrs."—S. Hughes. [U] *Planets*, ser gwibiog. [V] Mellten. [W] "Peder gwynn."—S. Hughes. Dychymmygai y Pabyddion mai Petr oedd porthor y nef, ac na allid myned i mewn heb ei gennad. [X] Hyderus. [Y] *Plead*, dadleu. [Z] Rhuf. 8. 26. [A] Esay 45. 19. [B] Yn ddirwystr.

91.
Gweddi laddodd gawr tra chadarn,[C]
Gweddi 'gorodd byrth o haiarn.[D]
Gweddi gauodd safnau llewod.[E]
Gweddi dynn ddyn o bob trallod.[F]

92.
Gweddi glôdd y nef yn hir.[G]
Gweddi droes y môr yn dir.[H]
Gweddi wnaeth i'r meirw godi,[I]
Nid oes dim mor gryf a gweddi.

93.
O! pa ddiolch siarnom roddi
I'r gwir Dduw am adael gweddi
Fyned atto'r awr y mynnom,
A chael gantho'r pethau geisiom.

94.
Clod, a gallu, diolch, moliant,
Parch, anrhydedd, a gogoniant,
A fo i Roddwr pob daioni,
Sydd mor fwyn yn gwrando'n gweddi.
Amen.

## XXV.—RHYBUDD I DDYN FEDDWL AM DDUW Y BOREU PAN DDIHUNO GYNTAF O'I GWSG.[A]

1.
Y BORE, pan ddihunech gynta',
Cod d'olygon at Jehofa,
Meddwl am ei foli'n ddiwall,
Cyn meddyliech am ddim arall.

2.
Cofia mai Duw oedd y ceidwad
Y fu neithiwr yn dy wyliad,[B]
Heb roi amrant iddo gysgu
Rhag i'r llew[C] dy ladd a'th lyngcu.

3.
Oni bai Duw a'i angylion,
Sy'n castellu o bob tu i'w weision,[D]
Dyn ni byddai heb ei lyngcu
Gan y gelyn tra fai'n cysgu.

4.
Meddwl dithau faint yw'r ddyled
Y sydd arnad i'r Gogoned[E]
Am dy gadw mor ddihangol,
Rhag y gelyn yn wastadol.

5.
Megis y mae'r ddyled arnad,
Rho fawr foliant iddo'n wastad,
Ac abertha ar dy liniau,
Ddiolch iddo nos a boreu.

## XXVI.—CYNGHOR WRTH WEDDIO.[A]

1.
PAN yr elech i weddïo,
Edifara am aeth heibio,
A llwyr ymolch o'th holl frynti,
Os dymuni wrando'th weddi.

2.
Duw ni wrendy bechaduriaid,[B]
A fo'n byw mewn pechod diriaid;
F'orfydd 'madael â drygioni,
Cyn gwrandawo Duw dy weddi.

3.
Os mewn malais, rhyfyg mwrddro,
Llid a thrais, y de'i i weddïo,
I dŷ Dduw, ar ben dy liniau,
Duw a'th wrthyd, a'th weddïau.[C]

4.
Melldith Moab[D] sydd yn cwympo
Ar yr anwir wrth weddïo;
Ceisio maent heb gael eu canlyn,[E]
Am fod dwylo'r rhai'n yn 'sgymmun.

5.
Y neb a alwo ar yr Arglwydd,
Ymadawed â'i halogrwydd,[F]
Ac ymolched ei ddwy ddwylo,
Oddiwrth waed, o cais[G] ei wrando.

6.
Tirion yw Duw, a thosturiol,
I'r rhai a fyddo edifeiriol;[H]
Edifara am dy frynti,
Ac fe wrendy Duw dy weddi.

[C] 1 Sam. 17. 45. [D] Act. 12. 5, 10. [E] Dan. 6. 22. [F] Psalm 34. 17. [G] Iago 5. 17. [H] Exod. 14. 16. [I] Bren. 17. 21, 22. [J] Ioan 9. 13.
[A] Yn ysgrif T. W. "Cynghor" yn unig yw enw y Gân hon. [B] Gwylio. [C] Y diafol. 1 Petr 5. 8. [D] Psalm 34. 7. [E] Y Duw gogoneddus.
[A] Yn Argraphiad S. Hughes, gosodir y Gân hon yn y Bedwaredd Ran, tua diwedd y Llyfr, dan yr enw "Am Weddi;" ond yn argraphiad Thomas Durston, o'r Amwythig, cyssylltir hi â diwedd y Gân "Am Weddi a'i Pherthynasau." [B] Ioan 9. 31. [C] Esay 1. 15. [D] Esay 16. 12. [E] Cais, deisyfiad. [F] 1 Tim. 2. 8. [G] Os. [H] Joel 2. 12, 13.

7.
Os 'difaru am y cwbwl,[I]
Ped fai'th fai mor goch a'r pwrpwl,[J]
Crist a'th olch mor wynn a'r lili,[K]
Ac a wrendy'n rhwydd dy weddi.

8.
Pan y delech i weddïo,
Tro bob meddwl ofer heibio,[L]
A rhwym gartref dy fydolrwydd,
Tr'ech yn parlo,[M] ti a'th Arglwydd.

9.
Brwnt yw gadael pacc,[N] a ffardel[O]
Ar dy gefn yn dy demel;
Bryntach yw gwel'd dy fydolrwydd,
Pan gweddïech ar yr Arglwydd.

10.
Pan gweddïech, galw'n gymmwys
Ar Dduw dros bob 'stad[P] o'r eglwys,
Ac nac arfer megis pagan,[Q]
Weddi'n unig it' dy hunan.

11.
Galw'n gynta' dros frenhinoedd,[R]
Am gael gras i drin eu pobloedd,
Mewn gwir grefydd a llonyddwch,
Hedd, uniondeb, a dedwyddwch.

12.
Gwedi'n galw dros eglwyswyr,
Am gael gras i draethu'n eglur
Holl ddirgelwch yr efengyl,
A phregethu'r gwir yn rhugyl.[S]

13.
A gweddïa dros swyddogion,
Ar i Dduw roi grym a chalon
Iddynt gospi pob rhyw drosedd,
A maintaino[T] ffydd a rhinwedd.

14.
Cais gan Dduw fendithio hefyd
Pob 'sgoleigion o gelfyddyd,
Fel y gallont lenwi'r gwledydd,
A goleuni, moes, a chrefydd.

15.
Nac anghofia o'r cyffredin,
Ond gweddïa hefyd drostyn',
Fel y gallont fyw'n eu galwad,
Mewn ufudd-dod, hedd, a chariad.[U]

16.
A gweddïa dros drueiniaid,
Sydd mewn trallod, cystudd embaid,[V]
Ar i Dduw dosturio wrthynt,
A rhoi help a chymfforddᵂ iddynt.

## XXVII.—DIOLCH FOREUOL PAN DDIHUNECH.

1.
Duw fy Ngheidwad, Duw fy nghryf-
dwr,
Duw fy nghastell[A] rhag y drygwr,[B]
Derbyn foliant ar fy nwylo,
Am fy nghadw'r nos aeth heibio.

2.
'R wyt ti'n gwiliad[C] deutu 'ngwely,
Ddydd a nos, tra fyddwy'n cysgu,
Ac yn tannu d'aden drosof,
Pan gollyngwy'r byd yn anghof.

3.
'R wyt yn rhoddi im' esmwythder,
A llonyddwch mawr bob amser,
Gan refreshio[D] beunydd felly
F' egwan gorph â melus gysgu.

4.
Ni winc,[E] ni chwsg, ni hûn, ni hep-
pian,
Fy Nhad grasol tra fwy'n slwmbran,[F]
Ond fe'm ceidw yn ei gesail
Tra fwy'n cysgu yn ddiogel.[G]

5.
Pa faint ffafr[H] yw hon yma,
Dy fod di, y Brenhin mwya',
Yn ymostwng i ddiwallu
Llwch a lludw, tra fo'n cysgu!

6.
Byth ni byddai'n abal[I] rhoddi
Y ddegfed ran o ddiolch iti,
Ag sydd arnaf Dad caredig,
Am y ffafr hon yn unig.

7.
Clod a gallu, diolch, moliant
Gwir anrhydedd a gogoniant,
A fo nos a dydd i'r Drindod,
Sydd mor ddiflin yn fy ngwarchod.

[I] Esay 1. 18. [J] *Purple*, porphor. [K] 1 Ioan 1. 7. [L] 1 Jer. 4. 14. [M] *Parley*, siarad, ymddiddan. [N] *Pack*, pwn, baich. [O] *Fardel*, syppyn, baich bychan. [P] *Estate*, ystâd, gradd. [Q] Anghredadyn. [R] 1 Tim. 2. 1, 2. [S] Rhwydd, dirwystr. [T] *Maintain*, cynnal, amddiffyn. [U] 1 Tim. 2. 2. [V] Enbyd, peryglus. [W] *Comfort*, cysur, diddanwch.

[A] *Castle*, amddiffynfa. [B] Niweidiwr. "Drygwr."—S Hughes. [C] Gwylied. [D] *Refresh*, adfywio, adferu. [E] *Wink*, cau llygad. Psalm 121. 4. [F] *Slumber*, gogysgu, lled gysgu. [G] Psalm 8. 5. [H] *Favour*, cymmwynas, caredigrwydd. [I] *Able*, galluog. [J] Gwylio, cadw.

## XXVIII.—RHYBUDD I YMGADW RHAG MEDDWL DIM CYN YMDDIDDAN A DUW TRWY WEDDI.

1.

Gochel feddwl dim a'th galon,
Gochel edrych a'th olygon,
Gochel dd'wedyd dim a'th enau.
Nes moliannu Duw y bore.

2.

Rho iddo flaen-ffrwyth dy wir galon,
Blaen-ffrwyth d'eiriau a'th feddylion;
Duw a fynn y ffrwythau cyntaf,[A]
Ni fynn Duw na'r ail na'r olaf.

3.

Cyntaf peth a wna'r uchedydd
Moli Duw, pan torro'r wawr-ddydd;
Cyntaf peth a ddylau dynion,
Foli Duw o ddyfnder calon.

4.

Rhobin [B] bach cyn gwlycho'i enau,
A gân i'r Arglwydd salm y boreu,
Am ei gadw'r nos rhag niwed,
Er bod gwely hwn yn galed.

5.

Llawer dyn yn waeth na'r 'deryn,
Gŵyn [C] o'i wely megis mochyn,
Heb gydnabod Crist ei Geidwad,
Na rhoi diolch am ei warchad.[D]

6.

Peth c'wilyddus i blant dynion
Fod yn waeth na'r adar gwylltion,
Sy'n clodfori, nos a boreu,
Duw mor ddyfal am ei ddoniau.

## XXIX.—MYFYRDOD FOREUOL, YN CYFFROI DYN I FOD YN DDIOLCHGAR I GRIST AM EI GADWRAETH.[A]

1.

Meddwl fal [B] y gall'sai Satan
Yn dy gwsg dy ladd heb yngan,[C]
A'th ddwyn i'r farn yn ammharod,
Oni buasai i Grist dy warchod.[D]

2.

Meddwl fal y galsai'r gelyn,
Oni buasai i Grist d'amddiffyn,
Ladd dy blant, a dwyn dy gyfoeth,[E]
Llosgi'th dŷ a'th flino beunoeth.[F]

3.

Cofia fel y gall'sai'th daro
Ac ynfydrwydd nes gwall-bwyllo,[G]
Fal na all'sid ddim o'r cysgu,
Oni buasai i Grist ei nadu.[H]

4.

Bydd gan hynny'n dra diolchgar
I'th wir Geidwad am e' ffafar,[I]
Yn dy gadw mewn esmwythder,
Rhag y gelyn yn ddibryder.[J]

## XXX.—DIOLCH I GRIST AM AMDDIFFYNIAD AC ESMWYTHDER.

1.

O fy Ngheidwad, O fy Mugail,
'R hwn a'm cedwaist yn dy gesail
Neithiwr, rhag i'r blaidd fy llyngcu;
'R wyf o'm calon i'th glodfori.

2.

Dan dy aden, Crist ti'm cedwaist,
Yn dy freichiau ti'm coleddaist,
Rhoddaist i mi brudd [A] esmwythder;
'R wy'n ddiolchgar am dy fwynder.[B]

3.

Nedaist [C] Satan i'm difethu,
Nedaist ddynion i'm gorthrymmu,
Nedaist dân a gwynt fy 'speilio,
Nac anhuned [D] i'm dihuno.

4.

Bendigedig a fo d'enw,
Crist, fy Ngheidwad, am fy nghadw,
A gogoniant i ti rodder,
Am roi imi'r fath esmwythder.

[A] Exod. 34. 26. [B] *Robin redbreast*, bronrhuddyn, brongoch. [C] A gyfydd. [D] Cadw, diogelu.

[A] Yn Argraphiad yr Amwythig, cysylltir amryw o'r Cânau byrion hyn â'u gilydd, er ffurfio un Gân; ond rhoddir hwynt ar wahan yn argraphiad S. Hughes, ac ysgrif T. W. [B] Fel. [C] Llefaru, dywedyd. [D] Amddiffyn, cadw. [E] Job 1. 14—19. [F] Bob nos. [G] Ambwyllo, colli synwyr. [H] Attal, rhwystro: [I] *Favour*, daioni, caredigrwydd. [J] Di-ofn.

[A] Tawel. [B] Tiriondeb. [C] Atteliaist. [D] Diffyg cwsg.

## XXXI.—CYSGU MEWN ESMWYTHDER HEB HEDDWCH A DUW.

1.
Mwy yw perygl dyn sy'n cysgu
Yn ei wely heb nawdd[A] Iesu,
Nag oedd peryg' Daniel hynod,
Gynt, wrth gysgu rhwng y llewod.[B]

2.
Y mae'r 'Sgrythyr yn mynegu
Fod y diawl yn troi o bobtu,
Dydd a nos, yn ceisio llarpio,
Megis llew, pwy bynnag allo.[C]

3.
Pwy sy'n rhwystro'r llew i'n llyngcu,
Ond ein Ceidwad mawr, Crist Iesu?[D]
'Rhwn sydd nos a dydd, heb hepian,[E]
Yn cadw'i braidd rhag rhuthrau[F] Satan

4.
O, gan hynny, bydd ddiolchgar,
I'th wir Geidwad am ei ffafar,
Yn dy gadw mor ddibryder,[G]
Rhag y llew mewn mawr esmwythder.[H]

## XXXII.—CYNHYRFIAD YN CYFFROI DYN I FOD YN DDIOLCHGAR I GRIST AM EI GADW'R NOS RHAG NIWED.

1.
Pe bai Iuddew[A] yn dy warchod,[B]
Tra fait ti'n cysgu rhwng bwystfilod,
Rhoit ddiolch iddo fil o weithiau
Am dy gadw o'u crafangau.

2.
Er bod Crist ei hun i'th warchod,
T'rech yn cysgu rhwng y llewod,
Sydd bob awr yn ceisio'th lyngcu,
Ni roi ddiolch iddo er hynny!

3.
Agor d'olwg, gwel ei ffafar,[C]
Cymmer rybudd, bydd ddiolchgar.
A rho ddiolch ar dy ddeulin,
I Grist Iesu, am d'amddiffyn.

4.
Felly ceidw Crist di'n wastod,
Ac y tann ei aden drosod,
Ac a'th geidw mewn esmwythder,
Rhag pob peryg' yn ddi-bryder.

## XXXIII.—RHYBUDD I DDYN WRTH DDILLADU EI GORPH I WEDDIO AM DDILLAD AC ARFAU I'R ENAID.

1.
Pan y b'ech yn gwisgo'th ddillad,
Cais arfogaeth Duw am danad,
Fel y gallech ymladd ynthyn',[A]
Megis Cristion â phob gelyn.

2.
Nid wyt nês,[B] er dillad twym-glyd,
I guddio'r cnawd i attal anwyd,
Oni bai it' gael pilyndod,[C]
I attal bai, i guddio pechod.[D]

3.
Cais gan hynny holl arfogaeth
Duw,[E] i'th gadw rhag gelyniaeth,
Ac rhag pechod, ac rhag trafael,[F]
Twyll y byd, a'r cnawd, a'r cythraul.

4.
Heb y rhain nid ŷm ond noethion,
I ryfela â'n gelynion,
Ac nid possibl i neb hebddyn'
Gael y trechaf[G] ar un gelyn.

[A] Amddiffyniad. [B] Daniel 6. 22. [C] 1 Petr 5. 8. [D] Psalm 124. 23. [E] Cysgu. [F] Ymosodiadau. [G] Di ofn di-berygl. [H] Psalm 121. 6.

[A] Y mae gwaith yr Awdwr yn crybwyll am Iuddew, wrth edliw i ddyn ei barodrwydd i ddiolch i bawb yn hytrach nag i Dduw, yn dwyn i'r cof yr iselder mawr y darostyngwyd plant Israel iddo gan farn. Erlidid a dirmygid hwynt gan yr holl genhedloedd, ystyrid hwynt fel creaduriaid o radd is na dynion, ac yr oeddynt, yn ol gair y Prophwyd, "Yn waradwydd ac yn ddiareb, yn watworgerdd ac yn felldith, ym mhob man lle y gyrrwyd hwynt." Gorthrymir ac ammherchir hwynt etto yn dost, yn neillduol gan y Mahometaniaid; ond dylai Cristionogion, yn enwedigol, sylwi ar annogaethau yr Apostol i goleddu teimladau mwy caredig tuag attynt, a dymuno eu hadferiad. Rhuf. 11. 12—23. [B] Cadw, diogelu. [C] *Favour*, daioni, hynawsedd.

[A] Ynddynt. [B] Nid wyt well. [C] Gorchudd, gwisgiad. "Pilynod," (dillad, mewn argraphiadau eraill.) [D] Dat. 19. 8. [E] Eph. 6. 11. [F] *Travail*, trafferth, trallod. [G] Gorchfygu.

## XXXIV.—GWEDDI WRTH YMWISGO, YN ERFYN ARFOGAETH DUW I'TH GADW RHAG GELYNIAETH A PHECHOD.

1.

GWISG dy armwr[A] oll am danaf,
O fy Ngheidwad galluoccaf,
Fel y gallwyf, megis Cristion,
Ymladd ynddynt â'm gelynion.

2.

N'âd, o'm coryn hyd fy ngwaddnau,[B]
Unrhyw aelod heb ei arfau,
Rhag fy nghlwyfo gan y temptiwr,
Lle bo eisiau unrhyw armwr.

3.

N'âd i'r byd a'i ofer bethau,
N'âd i'r cnawd a'i nwyfus chwantau,
N'âd i'r diawl a'i ruthrau 'sgymmun,[C]
Beri imi bechu'n d'erbyn.

4.

Ond rho imi rym a chryfdwr
I orchfygu pob gwrth'nebwr,
Ac i ymladd dan y faner,[D]
Nes ŷm dygech i'th esmwythder.[E]

## XXXV.—ARALL WRTH WISGO.[A]

1.

CRIST, fy Nghraig a'm Hiechydwriaeth,
Gwisg am danaf dy arfogaeth,
N'âd un aelod heb ei wisgo,
Rhag i'r gelyn fy anrheithio.[B]

2.

Gwisg y pen a helm[C] y gobaith,
Brest[D] â'r gorslet[E] gyfiawn berffaith,
Lwynau â gwregys gwir 'difeirwch,
Traed â 'sgidiau 'Fengyl heddwch.[F]

3.

Rho dy Air yn gleddyf i mi,
Ffydd yn fwccler[G] i ddiffoddi
Holl biccellau tanllyd Satan,
A phrudd weddi i sefyll allan.

4.

A rho rym, fel milwr ffyddlon,
I ryfela a'm gelynion,
Rhuthrau[H] Satan, chwantau cnawdol,
Twyll y byd, a phechod marwol.

5.

A rho gymhorth i'w gorchfygu,
A'u darostwng, a'u gwrth'nebu,
Fel y gallwyf byth d'addoli,
Megis plentyn i'r goleuni.[I]

## XXXVI.—RHYBUDD WRTH YMOLCHI.

1.

PAN yr elech i ymolchi,
Cais yn daer gan Dduw trwy weddi,
Olchi d'enaid oddiwrth bechod,
A'i lanhau â gwaed y cymmod.[A]

2.

Nid wyt nês[B] er dw'r yr afon,
I olchi'r cnawd oddiwrth ammhreddion,[C]
Nes y golchech dy gydwybod,
A gwaed Crist oddiwrth dy bechod.[D]

3.

Nid wyt nês er wyneb glân,
A chalon front heb ras, heb rân ?[E]
Ni foddlonir y Duw pur,
Ag wyneb glân, heb galon glir.[F]

[A] *Armour*, arfau ymddiffynol arfogaeth. [B] Gwadnau y traed. [C] *Excommunicated*, annuwiol. melldigedig; perthynol i un wedi cyhoeddi Anathema, Maranatha, uwch ei ben. [D] *Banner*, llumman; baniar. arwydd amlwg, a arferir gan filwyr er adnabod eu llwyddion a'u mintau. [E] Dat. 3. 21.

[A] Yn Argraphiad yr Amwythig, unir hon a'r Gân flaenorol. [B] Difrodi, difetha. [C] *Helmet*, gorchudd i amddiffyn y pen. [D] *Breast*, dwyfron. [E] *Corselet*, dwyfronneg. [F] Eph. 6. 14—18. [G] *Buckler*, tarian. [H] Ymosodiadau, cynnygion. [I] 1 Thes. 5. 8.

[A] Psalm 51. 7. Ezec. 37. 23. 1 Ioan 1. 7. [B] Gwell, amgenach. [C] Ammhureddion, brynti, budreddi. [D] Heb. 9. 14. [E] Llyfndra, harddwch. [F] *Clear*, glân, di-ddichell.

## XXXVII.—GWEDDI FERR WRTH YMOLCHI.

1.
Golch, O Crist, â'th waed, fy mhechod,
Golch fy enaid, a'm cydwybod,
Golch fy meddwl oddiwrth wegi,[A]
Golch fi'n llwyr oddiwrth fy mrynti.[B]

2.
Golch fy mhen, a'm traed, a'm calon,
Fel y golchaist d' Apostolion;[C]
Sych â'r tywel [D] main fy mrynti,
A rho dy Yspryd Sanctaidd imi.

3.
Golch fi'n neigrau gwir 'difeirwch,
Golch fi'n ffynnon gras a heddwch,[E]
Golch fi a'th waed mor wynn a'r lili,[F]
Fel y gallwy'n bur d'addoli.

## XXXVIII.—GWEDDI FOREUOL I'W HARFER AR OL CODI AC YMOLCHI

1.
Duw trugarog, Tad tosturi,
Er mwyn Crist rho bardwn [A] imi
Am fy meiau oll a'm pechod,
Sydd mewn rhif yn fwy na'r tywod.[B]

2.
Nid oes pwngc [C] o'th holl gyfreithiau
Nas troseddais, llwyr gwae finnau!
Nac un dawn a roddaist imi,
Nas arferais ar ddrygioni.

3.
Drwg fy nhyb, a gwaeth fy ngweithred,
Brwnt fy nhafod, maith fy hocced,[D]
Poeth fy natur, oer fy ngweddi,
Arglwydd, maddeu'r cwbwl imi.

4.
Maddeu'r maint a wnes i'th erbyn,[E]
O bechodau, er yn blentyn,[F]
Ac na thywallt ar fy lletty
O'r dialau maent yn [G] haeddu.

5.
Ond rho ras a chymhorth imi,
O hyn allan dy addoli, [rwydd,
A'th was'naethu mewn sancteidd-
Pur uniondeb, ac onestrwydd.

6.
Tynn bob rhwystr sydd i'm hattal
I'th was'naethu di yn [H] ddyfal,
A rho bŵer [I] yn ol hynny,
I mi'n ddiflin dy was'naethu.

7.
Llwyr ddiwreiddia o'm calon ofer
Yr holl frynti fum yn arfer
A gwir blanna yn eu cyfle,[J]
Ras a dawn tra chwyth [K] i'm genau.

8.
Dysg fi' gadw dy orch'mynion,[L]
A'u gwir garu â'm holl galon,
A'u cymmeryd yn lle rheol,
I fyw wrthynt yn wastadol.

9.
A chyf'rwydda, â'th Lân Yspryd,
Fi i reoli fy holl fywyd,
A'm holl eiriau, ac amcanion,
Yn ol dy 'wyllys a'th orch'mynion.

10.
Arglwydd ffrwyna [M] fi rhag pechu
Byth yn d'erbyn mwy ond hynny,
A rho bŵer i mi'n wastod,[N]
Gael y trecha'n erbyn pechod.

11.
Helpa [O] fi ryfela'n erbyn [mun,
Byd, a'r cnawd, a'r cythraul 'sgym-
Fal [P] y gallwyf gael y goron,
A gorchfygu fy ngelynion.[Q]

12.
Tanna droswyf d'aden rasol,
Cudd fi dani yn wastadol,[R]
N'ad un gelyn wneuthur niwed
Mewn un modd i'm corph na'm henaid.

13.
Cadw fi rhag cwrp [S] a thramgwydd,[T]
C'wilydd, colled, anhap,[U] aflwydd,
Nychdod, niwed, a'r fath hynny,
Os bydd d'wyllys yn cenhadu.[V]

14.
Nertha fi, â'th Yspryd Sanctaidd,
Dreulio'r dydd hwn yn Grist'nogaidd,
Trwy gymmeryd poen i'm galwad,[W]
I'th was'naethu'n brudd yn wastad.

[A] Gwagedd, oferedd. [B] Psalm 51. 2, 7. [C] Ioan 13. 5. [D] *Towel*, lliain sychu. [E] Zech. 13. 1. [F] Dat. 1. 5.

[A] *Pardon*, maddeuant. [B] Psalm 40. 12. [C] "Pwynt."—Ysgrif T. W. a'r hen argraphiadau. [D] Twyll, dichell. [E] "Y wnaethol yn d'erbyn."—Ysgrif T. W. [F] Psalm 25. 7. [G] "Wy ny" (wyf yn eu.)—Ysgrif T. W. [H] "Mor."—Ysgrif T. W. a'r hen argraphiadau. [I] *Power*, grym, gallu. [J] Yn eu lle. [K] Anadl. [L] Psalm 119. 5. [M] Rhwystra. [N] Yn wastadol. [O] *Help*, cynnorthwyo. [P] Fel. [Q] 2 Tim. 4. 7, 8. [R] Psalm 17. 8. [S] *Curb*, rhwystr. [T] Exod. 23. 33. [U] Damwain, anymunol. [V] Caniattau. [W] 1 Thes. 4. 11. [X] Syml.

15.

Pâr im' dreulio'r dydd presennol
Mor ddeallus, ac mor ddeddfol,[Y]
A phe gwypwn ar y siwraf,[Z]
Mai'r dydd hwn yw'r dydd diweddaf.

16.

N'ad fi i oedi gwella 'muchedd,[A]
O ddydd i ddydd, hyd fy niwedd,
Ond tra heddyw byth yn para,[B]
Pâr yn ddyfal imi wella.

17.

N'ad i'r cnawd rhyfygus, embaid,[C]
Beri imi ddamnio f'enaid,
A'i roi i boeni yn drag'wyddol,
Am ychydig[D] o bleser cnawdol.

18.

N'ad i wagedd y byd yma,[E]
'R hwn fel llwydrew a ddiflanna,
Beri im' golli gwir lawenydd,
A mawr fraint y byd na dderfydd.

19.

Tra fo'r dydd a'r goleu'n para,[F]
Pâr i'm weithio ar yr eitha,[G]
Y peth y berthyn at fy iechyd,[H]
Rhag i'r nos fy ngoddiweddyd.[I]

20.

Pâr im' fod bob awr yn barod, [chod,[L]
Ag oil[J] i'm lamp,[K] a'm goleu'n gwar-
Tra bo[M] Crist i'm gwa'dd i'r neithior,[N]
Tra fo'r nef a'r porth yn agor.[O]

21.

Pan bwyf sicraf yn y carn,[P]
Pâr im' feddwl am y farn,
A'r dydd dû[Q] y gorfydd atteb
Ar y barr,[R] am bob ffolineb.

22.

Gwna im' feddwl am y cyfri',
Orfydd arnom bawb ei roddi,
Am y pechod lleia' wneler,
Hyd yn nod ein geiriau ofer.[S]

23.

Croesa'n[T] awr i maes o'th lyfyr
Yr holl frynti[U] fum i'n wneuthur,
Ac na thafla[V] yn fy nannedd,
Ddydd y farn, o'm cas anwiredd.[W]

24.

Maddeu'n awr yr holl dalentau[X]
S'arnau o ddyled yn dy lyfrau,
A llwyr flotta[Y] â gwaed Iesu,
'R hatling[Z] eitha' sy arna'i dalu.

25.

Gwedi maddeu'r cwbwl yma,[A]
Nertha fi ddiweddu' ngyrfa,
Fel y gallo f'enaid orphwys
Gyda Christ, yng nglân[B] Baradwys.

26.

Lle caf, gyda'r holl angylion,
A llu'r nef, heb ddowt[C] nac ofon,
Dy foliannu trwy lawenydd,
Mewn dedwyddwch yn dragywydd.[D]
Amen.

## XXXIX.—RHYBUDD I YMGADW RHAG RHUTHRAU'R BYD, Y CNAWD, A'R CYTHRAUL.

1.

Yn y man[A] yn ol it' godi,
Cofia fod tri gelyn iti,
Rhai amcanant dy andwyo,[B]
Oni ymgedwi rhag dy dwyllo.

2.

Yr un gwanna' o'n gelynion,
Sydd gan' cryfach nag un Cristion,
Oni chawn ni gan Grist Iesu,
Nerth ac arfau i'w gorchfygu.

3 Llef gan hynny ar dy Brynwr,
Dy ffwrneishio[C] megis milwr,
A'i arfogaeth, ac a chalon
I orchfygu, dy elynion.

[Y] Moesol, dichlynaidd. [Z] *Surest*, sicraf. [A] Ymddygiad, ymarweddiad. [B] Heb. 3. 7, 8. [C] Enbyd. niweidiol. [D] "Am dippyn bach."—Ysgrif T. W. a'r hen argraphiadau. [E] Preg. 1. 2. [F] 1 Ioan 12. 35. [G] A'm holl egni. [H] Iechydwriaeth. [I] Goddiweddyd, gorddiwes. dala. [J] Olew. [K] *Lamp*, llusern, llygorn. [L] Gwylio, disgwyl. [M] "Dwad" (dyfodiad).—Ysgrif T. W., S. Hughes, a T. Durston. [N] Gwledd priodas. [O] Agored. [P] Yn fwyaf iach a chysurus. [Q] "Mawr."—Ysgrif T. W. Du yn yr argraphiadau hynaf. [R] Wrth y brawdle, o flaen yr orsedd. 2 Cor. 5. 10. [S] Mat. 12. 36. [T] *Cross*, nodi âg arwydd taliad. [U] Fel hyn yn yr hen lyfrau argraphedig; "yr holl bechod."—Ysgrif T. W. [V] Edliw, dannod. [W] Heb. 8. 12, a 10. 17. [X] Symiau mawrion. Mat. 18. 24. [Y] *Blot*, dileu, gwneuthur yn annarllenadwy. [Z] Yr wythfed ran o geiniog. [A] Yn y byd hwn :—ergyd at athrawiaeth y Pabyddion ynghylch y Purdan, am yr hwn y traetha yr Awdwr yn helaeth mewn Cân arall. [B] "Yngwlad."—Ysgrif T. W. [C] *Doubt*, ammheuaeth. [D] Psalm 16. 11.

[A] Yn ebrwydd, yn uniongyrchol. [B] Anafu, difetha. [C] *Furnish*, taclu, gwisgo.

## XL.—YR ARFOGAETH YSPRYDOL A DDYLAI POB GWIR GRISTION EI GWISGO A'I HARFERU.

1.

Gwisg dy ben â helm Crist'nogaeth,[A]
Gobaith cryf am iechydwriaeth;[B]
N'âd i'r sarph na'r diawl dy glwyfo
Ar dy ben trwy wan-obeithio.

2.

Gwisg gyfiawnder am dy ddwyfron,
Ni all diawl, â dwbwl ganon,[C]
Wneuthur byth na drwg na niwed,
I'r rhai wisgo'r gyfryw gorsled.[D]

3.

Rhwym dy galon â gwirionedd,
Na ragrithia yn dy fuchedd;
Hardd, a chryf, a chryno odiaeth,
Ydyw gwregys gwir diragreith.[E]

4.

Gwisg dy draed â 'sgidiau'r 'Fengyl,
Bydd ddioddefgar yn mhob treigyl,[F]
Can's trwy oddef llawer trallod
Y mae myn'd i lys y Drindod.[G]

5.

Cymmer fywiol ffydd yn fwccler,[H]
Derbyn frath a saethau'r wiber,[I]
Bywiol Ffydd yng Nghrist a all
Ddiffodd tanllyd saethau'r fall.

6.

Cymmer awchlym[J] gleddau'r Yspryd,
Cymmer air y 'Sgrythyr hyfryd;
Dyna'r cleddyf llym ei lafan[K]
Sy'n rhoi ffwyl[L] a chlwyf i Satan.

7.

Cadw arfau Duw yn wastad,[M]
Cymmain' un,[N] bob awr am danad,
N'âd un pryd dy ddala hebddyn',
Rhag dy glwyfo gan y gelyn.[O]

8.

A gweddïa ar y Drindod,
Am gael grym a gras i orfod[P]
Y tri gelyn hyn[Q] yn wastad,
A gwas'naethu Duw yn d'alwad.[R]

9.

Os cwrdd Satan â ni'n noethion,
Heb arfogaeth Duw am danon,[S]
Mae e'n chwareu'n dost[T] â hwnnw,
Sydd heb armwr[U] gantho i 'mgadw.[V]

10.

Os bydd y pen heb helmet[W] ddilys,
Brest[X] heb bais,[Y] neu lwyn heb wregys,
Troed heb esgyd, llaw heb gleddeu,
Sarph a'n clwyfa, gwnawn ein goreu.

11.

Bydd gan hynny megis milwr,
Yn dy gylch, bob awr â'th armwr,
Ym mhob man yn dyfal wylo,
Rhag i'r gelyn dy anrheithio.[Z]

## XLI.—RHYBUDD I DDYN YMGADW YM MHOB LLE RHAG RHWYDAU SATAN.

1.

Pan yr elech gyntaf allan,
Gochel ddirgel rwydau Satan,
'R hwn sy'n ceisio dy fachellu,[A]
Ar bob cam, a'th hela[B] i bechu.

2.

Mae e'n fawr ei lid a'i hocced,[C]
Mwy ei dwyll na'i rym, er cryfed;
Mae fel llew, yn troi o bob tu,
Ddydd a nos yn ceisio'n llyngcu.[D]

[A] Eph. 6. 13–16. [B] "Ond bydded gennyt sail am dy obaith."—S. Hughes. [C] "Dwbwl canon *(double cannon)*,—dryll mawr." S. Hughes. "Eithaf cyfrwysdra uffern."—R. Thomas. [D] *Corsolet*, dwyfronneg, arfogaeth i amddiffyn y ddwyfron. [E] Diragrith. [F] Treigl, cyfnewidiad sefyllfa. [G] Act. 14. 22 [H] *Buckler*, tarian. [I] *Viper*, sarph. [J] Miniog, awchus. [K] Llafn. [L] *Foil*, gyrru ar ffo, peri cilio Dat. 12. 11. [M] O hyd, hob amser. [N] Pob un. [O] Psalm 149. 6. [P] Gorchfygu. [Q] Y byd, y cnawd. a'r diafol. [R] Galwedigaeth, sefyllfa, swydd. [S] Danom. [T] Ymladd yn llym. [U] *Armour*, arfogaeth. [V] I'w ddiogeln ei hun. [W] *Helmet*, arfogaeth y pen. [X] *Breast*, dwyfron. [Y] Llurig, dwyfronneg. [Z] Ysglyfaethu, difa.

[A] Maglu, rhwygo. [B] Gyrru. [C] Twyll, dicheil. [D] 1 Petr 5. 8.

3.
Hocced sarph, llidiawgrwydd gwiber,
Cryfder llew, ffyrnigrwydd tigr,[E]
Awydd blaidd, bradwraeth cadno,
Sydd gan Satan, lle tramwyo.

4.
Nid yw'n cysgu, nid yw'n gorphwys.
Nos na dydd er pan y cwympwys,[F]
Ond amcanu lladd a mwrddro,[G]
Am ei chwyth[H] pwy bynnag allo.

5.
Bydd gan hynny ar dy warchel,[I]
Ym mhob man rhag rhwyd y cythraul;
Cais gan Grist bob awr dy helpu,
Crist a'th nertha i'w orchfygu.[J]

## XLII.—GWEDDI YN ERBYN RHUTHRAU SATAN.

1.
PORTHOR mawr y pwll di-waelod,
Ceidwad drysau uffern isod,[A]
Rhwymwr Satan,[B] llyngcwr angeu,[C]
Clyw fy ngwaedd o'th nefol artre'.

2.
Y mae Satan, 'r hwn orchfygaist,
A'r ddraig waedlyd, 'r hon a rwymaist,
Yn amcanu fy andwyo,[D]
Oni chaf dy help[E] i'w ffrwyno.[F]

3.
Mae ef nos a dydd, heb gysgu,
Megis llew yn ceisio'm llyngcu,
Ac yn barod i'm defowro,[G]
Oni chedwi di fi rhagddo.

4.
Mae e'n tannu ei groglathau,[H]
Ddydd a nos ar draws fy llwybrau;
Nid oes[I] lun na syrthiaf iddynt,[J]
Oni chedwi di fi rhagddynt.

5.
Nid oes afal teg gwa'rddedig,
Na bo beunydd yn ei gynnyg;
Nac un pechod na bo'n ceisio
Gennyf wneuthur, i'th lwyr ddigio.

6.
Nid oes twrn da[K] fwy'n amcanu,
Na bo'r ddraig yn ceisio'i nadu,[L]
Ac yn dyor[M] yn rhy fynych,
Y gwaith goreu fwy'n ei chwennych.

7.
Ni chaf fwytta pryd o fara,
Ni chaf gysgu mewn esmwythdra,
Ni chaf yfed dracht[N] o ddiod,
Na bo'n ceisio'i droi yn bechod.

8.
Ni chaf dd'wedyd gair o'm genau,
Na gweddïo ar fy ngliniau,
Na bo Satan yn amcanu,
Wrth weddïo beri i'm bechu.

9.
Pan bo mwyaf chwant fy nghalon
I'th was'naethu, Iesu 'n ffyddlon,
Dyna'r pryd y cais fy rhwystro
A'r holl ddichell[O] a fo gantho.

10.
A phe bait ti'n gadael iddo
Redeg arnaf heb ei ffrwyno,
Gwn na bydda'i well fy nhreigyl[P]
Nag oedd diwedd Job a'i eppil.

11.
Arglwydd, gwel ei waedlyd fwriad,
Tola'i[Q] falchder, torr ei ruad,
Rhwym ei ferr,[R] byrha ei gadwyn,
'Siga'i siol,[S] a stoppa'i[T] wenwyn.

12.
Tydi, Crist, sy'n rhwymo'r wiber,
Ti sy a'r gadwyn am ei ddwy-ferr,
Tydi 'speiliodd o'i holl arfau,[U]
Tydi gadwodd ein heneidiau.

13.
Gwisg dy armwr[V] oll am danom,
Dod dy rymmus yspryd ynom,
Dysg ein dwylaw i ryfela,
N'âd i'th weision gael y gwaetha.[W]

14.
N'âd, O Grist, i'r sarph ein twyllo,
N'âd i'r wiber ein handwyo,
N'âd i'r llew ein lladd a'n llyngcu
N'âd i'r gelyn ein gorchfygu.

[E] *Tiger*, bwystfil rheibus. [F] Cwympodd. [G] *Murder*, llofruddio. Ioan 8. 44. [H] Am ei fywyd, gymmaint ag a allo. [I] Gocheliad, gwyliadwriaeth. [J] Yn argraphiad T. Durston, gwneir un Gân o'r tair flaenorol.

[A] Dat. 1. 18. [B] Dat. 20. 1, 2. 2 Petr 2. 4. [C] Esay 25. 8. [D] Dinystrio. [E] *Help*, cymhorth, cynnorthwy. [F] Rhwystro, attal megis â ffrwyn. [G] *Devour*, bwytta, difa. [H] Maglau. [I] Modd. [J] "Ynddynt."—S. Hughes. [K] *Good turn*, cymmwynas, gweithred dda. [L] Rhwystro. [M] Attal. [N] "Draucht."—S. Hughes. *Draught*, llymaid. [O] "Gwning,"—(*cunning*, cyfrwysdra), yn yr hen argraphiadau. [P] Cyflwr, sefyllfa. [Q] Lleihau, diddymu. [R] Coes. [S] Pen. [T] *Stop*, attal. [U] Luc 11. 22. [V] *Armour*, arfogaeth. [W] Gael eu gorchfygu.

15.

Gwan ŷm ni, a chryf yw yntau,
Can' mil cryfach, Crist, wyt tithau;
Nertha'n gwendid trwy dy gryfdwr,
I orchfygu ein gwrth'nebwr.

16.

Call yw'r sarph, a dwl[X] ŷm ninnau,
Doeth yw'r ddraig, a llawn bachellau;[Y]
Oni helpi di ni'n Prynwr,
Fe â'th bridwerth gan y bradwr.

17.

Gwna ni'n ddoeth i wel'd ei rwydau,
Ffel[Z] i wechlyd[A] ei groglathau,[B]
Cryf i wrthladd[C] ei ddichellion,[D]
Call i wrthod ei gynnygion.

18.

Arglwydd, edrych ar dy weision,
Nertha'th frodyr gael y goron,
Helpa pawb sydd dan dy faner
Ddwyn eu croes, a throedio'r wiber.

## XLIII.—CYNGHORION YN ERBYN PROFEDIGAETHAU SATAN.

1.

Os promeisia[A] Satan iti,
Dai a thiroedd am ei 'ddoli,[B]
Dywed nad oes droedfedd fechan,
Ond pwll uffern ganddo'i hunan.[C]

2.

Os bydd Satan yn dy annog
I halogi gwraig cymmydog,[D]
Dywed fod dialau'n barod,
A barn Duw am gyfryw bechod.[E]

3.

Os cais Satan gennyt feddwi,
A charowsio[F] gwin yn wisgi,
Dywed yr â'r holl rai meddwon[G]
Ddydd y farn i'r tân a'r brwmston.[H]

4.

Os cais Satan gennyt dyngu
Cig a gwaed yr Arglwydd Iesu,
Dywed nad oes unrhyw bechod
Waeth na chablu gwaed y cymmod.[I]

5.

Os cais Satan gennyt dreisio
Y rhai tlodion a'u handwyo,
Dywed nad gwaeth pigo llygad
Crist ei hun, na threisio ymddifad.[J]

6.

Os cais gennyt wneuthur ffalstedd,[K]
Anudoniaeth[L] ac anwiredd,
Dywed fod Duw, 'r Barnwr cyfion,[M]
Yn ei breintio[N] ar dy galon.[O]

7.

Os cais gennyt mewn dirgelwch,
Weithio gweithred y tywyllwch,
Dywed fod Duw â saith llygad,
Ym mhob man yn edrych arnad.[P]

8.

Os cais Satan gennyt gablu
Dy gyd-Gristion gwedi 'nafu,[Q]
Mae e'n ceisio, megis bradwr,
Gennyt gablu dy Greawdwr.[R]

9.

Os cais gennyt dd'wedyd celwydd,
Mae'n amcanu'n ddi-gywilydd
Lladd a dwyn dy enaid gwirion
I'r pwll poeth, a'r tân a'r brwmston.[S]

10.

Os cais gennyd wan-obeithio,
Am drugaredd er repentio,[T]
Mae'n ei fryd dy ddwyn i'r deyrnas
Yr aeth Cain,[U] a Saul,[V] a Suddas.[W]

11.

Os cais Satan gas dy rwystro,
I dŷ Dduw, y mae'n dymuno
Dy droi ma's o'r nef yn ddirgel,
Eisiau addoli Duw'n ei demel.

12.

Os cais gennyt droi dy wegil,
Pan pregethir yr efengyl,[X]
Mae e'n ceisio dy ddehoryd,[Y]
Rhag cael profi pren y bywyd.

13.

Os cais Satan gennyt gysgu
Yn yr Eglwys wrth was'naethu,
Mae e'n ceisio gennyt foccian[Z]
Duw'n ei lys â'i dŷ ei hunan.

14.

Gochel gysgu wrth weddïo,
Gwaeth na'r diawl yw'r dyn y foccio
Dduw, 'n ei demel, ar awr weddi,
Ar ei lin yn rhith addoli.

[X] *Dull*, hwyrdrwm. [Y] Dichellion. [Z] Call. [A] Gochelyd. [B] Maglau. [C] Gwrthsefyll. [D] Sathrau Satan. Rhuf. 16. 20.

[A] *Promise*, addaw. [B] Mat. 4. 8. 9. [C] Mat. 25. 41. [D] Heb. 13. 4. [E] Dat. 21. 8. [F] *Carouse*, yfed yn ormodol. [G] 1 Cor. 6. 9. 10. [H] *Brimstone*, brwmstan, defnydd tra hylosg. [I] Heb. 10. 29 [J] Exod. 22. 22—24. Psalm 68. 5. Diar. 22. 22, 23. [K] *Falsity*, twyll, anonestrwydd. [L] Tyngu ar gam. [M] Mal. 3. 5. [N] *Print*, argraphu. [O] Jer. 17, 1. [P] Job 34. 21, 22. [Q] Niweidio, anffurfio. [R] Diar. 17. 5. [S] Dat. 21. 8. [T] *Repent*, edifarhau. [U] Gen 4. 13. [V] Brenhin Israel. 1 Sam. 31. 4. [W] Judas Iscariot. Mat. 27. 5. [X] Rhuf. 10. 17. [Y] Attal, rhwystro. [Z] *Mock*, gwatwor, gwawdio.

15.

Os cais gennyt fynych arfer
Oedi bwytta'r sanctaidd swpper;
Wrth dy ddyor i'r communiwn,[A]
Mae'n dwyn ymaith sel dy bardwn.[B]

16.

Os cais gennyt lwyr anghofio
Y 'Fengyl sanctaidd gwedi'i gwrando,
Mae e'n ceisio dwyn o'th galon
Hâd y gair,[C] a'th wnelai'n Gristion.

17.

Os caiff gennyt fod yn ffyddlon
Ddwyn heb sylw enw Cristion,
Fe wna felly yn ddiogel,
Was i Grist yn was i gythraul.

18.

Os cais gennyt ti ddyhirio[D]
Edifeirwch nes departo,[E]
Mae'n dy rwystro i geisio ffafar
Duw, nes elo'n rhy ddiweddar.[F]

19.

Ni âd Satan unrhyw bechod
Nad amcana gael dy orfod;[G]
Ni âd garreg heb ei threiglo,[H]
Nes y paro it' dramgwyddo.

20.

Os cais gennyt ti broffesio[I]
Ffydd heb weithred yn cyd-weithio,
Mae'n dy dwyllo, drwy ffydd farw,[J]
Drusto[K] i'r ffydd na all dy gadw.

21.

Bydd bob amser ar dy ochel;
Nos a dydd y rhodia'r cythraul;[L]
Nid oes man nad yw e'n tannu
Ei groglathau i'n bachellu.[M]

22.

Yn yr eglwys, yn y berllan,
Yn y siop,[N] ac oddi allan,
Ar y ford,[O] ac yn y gwely,
Y cais Satan dy fachellu.

23.

Bydd gan hynny megis milwr,
Yn dy gylch bob awr a'th armwr,[P]
Ym mhob man yn dyfal wylio,
Rhag i Satan dy andwyo.[F]

## XLIV.—CYNGHOR RHAG GWYLLTINEB.[A]

1.

Gwae i'r dyn fo gwyllt yn blentyn,
Glwth[B] yn llangc, a charl[C] yn gleirchyn,[D]
Hwnnw dreuliodd ei holl oedran,
Ym mhob oes wrth 'wyllys Satan.

2.

Gochel f'enaid, rwydau Satan,
I'th fachellu ym mhob oedran;
Ar bob llwybyr fe amcana
A rhyw groglath gael dy ddala.

3.

Yn dy ie'ngctid, fe gais gennyd,
Dreulio d'amser yn ddi-broffid,[E]
Mewn pibyddiaeth[F] ac oferedd,
Heb na dysg, na dawn, na rhinwedd.

4.

Yn d'wroldeb, fe braw'th[G] dynnu
I garowsio[H] a gordderchu,
Ac i 'nurddo[I] dy lân lester
A thrythyllwch a diffeithder.

5.

Yn dy henaint fe brawf'th rwystro
Droi at Dduw, trwy wir repento,[J]
Ac y drŷ dy fryd yn benna'
At fydolrwydd a chybydd-dra.

6.

Prawf gan hynny ym mhob oedran.
Lwyr ymgadw rhag twyll Satan,
'R hwn a gais dy gyfrgolli,
Trwy'r peth mwyaf f'ech[K] yn hoffi.

[A] *Communion*, cymundeb, y cymmun. [B] "Y mae'r Sacrament yn sel o faddeuant i'r derbyniwr teilwng; ond barnedigaeth y mae yr annuwiol yn fwytta ac yn yfed iddo ei hun. 1 Cor. 11. 29." —S. Hughes. [C] Mat. 13. 19. [D] Gohirio, oedi. [E] *Depart*, ymadael, marw. [F] Preg. 9. 10. [G] Trechu. gorchfygu. [H] Ni âd unrhyw foddion heb eu defnyddio. [I] *Profess*, honni, cymmeryd ar un. [J] Iago 2. 14, 17. [K] *Trust*, hyderu, ymddiried. [L] 2 Cor. 2. 11. [M] Ei faglau i'n dala. [N] *Shop*, masnachdy. [O] *Board*, bwrdd. [P] *Armour*, arfogaeth. [Q] Difetha, dinystrio.

[A] Yn argraphiad S. Hughes. gelwir y Gân hon yn "Rhybudd i wachelyd rhwydau Satan ym mhob oedran;" ond yn argraphiad T. Durston cydir hi a'r Gân flaenorol. [B] Anghymmedrol. [C] *Carl*, cybydd. [D] Hen ddyn. [E] *Profit*, budd, elw. [F] Cantoriaeth fasweddol. [G] Fe gais, fe gynnygai. [H] *Carouse*, yfed i ormodedd. [I] Halogi. [J] *Repent*, edifarhau. [K] A fyddech.

## XLV.—CYNGHOR I DDYFAL WEDDIO AR BOB ACHOS

1.
Er fy mendith, nac anghofia,
Dair gwaith beunydd ar y lleia',[A]
Brudd weddïo ar dy ddeulin
O flaen Duw, dy Dad a'th Frenhin.

2.
Cyn myn'd allan y boreu-ddydd,
Cyn ciniawa y canol-ddydd,
Cyn swpperu, O gweddïa,
Y tair gwaith hyn o bob dydd leia'.[B]

3.
C'od dy ddwylo i weddïo,
Cyn gostyngech law i weithio,
Cais gan Dduw fendithio d'orchwyl,
Cyn y delech yn ei gyfwyl.[C]

4.
Ac wrth wneuthur dy orchwylion,
Arfer brudd weddïau byrion,[D]
A bydd eiriol[E] yn dy weddi,
Ar i Dduw roi cymhorth i ti.

5.
Os bydd trwm-waith a ffrwst[F] arnad,
Os bydd trafferth ar ddydd marchnad,
Gwybydd, f'enaid, y gwna gweddi,
Fwy o les na rhwystyr i ti.[G]

6.
Er bod busnes[H] fawr gan Ddaniel,[I]
Yn y cwrt dan frenhin Babel,
Tair gwaith beunydd y gweddïai,
Yn ei 'stafell ar ei luniau.

7.
Er bod Dafydd yn rhyfelwr,
Ac mewn trafferth mwy nag un-gwr,
Etto er hynny saith waith beunydd,
A gweddïai'r brenhin Dafydd.[J]

8.
Joshua rymus a weddïai
Yn y frwydyr, ac ymladdai;
'R oedd e' â'i galon yn gweddïo,
Ac yn ymladd â'i ddwy ddwylo.

9.
Nid oedd gweddi rhain yn rhwystyr
Ar un gorchwyl faent yn wneuthur,
Ond rhwyddhau a llwyr fendithio
Pob rhyw waith a wnai ei ddwylo.

10.
Arfer dithau weddi hyfryd,
Yn mhob gorchwyl a fo gennyd,
Di gei weled y gwna gweddi
Rwydd-deb mawr a chysuron[K] i ti.

11.
F'all dyn weithio ei gelfyddyd,
A gweddïo'n ddyfal hefyd;
Ni chais gweddi'r galon rwystro
Hynt y traed, na gwaith y dwylo.

12.
F'all yr hwsmon, f'all y geilwad,[L]
Alw ar Dduw, a dala'r arad',
Fel y gallant dd'wedyd ffregod,[M]
Wrth yr ychain a'r 'nifelod.[N]

13.
F'all trafaelwyr ganu salmau,
A gweddïo ar ei siwrnai,[O]
Fel y gallant ganu maswedd,
A chwedleua am oferedd.

14.
Fe all cryddion, fe all taelwyr,[P]
Foli Duw, a chwareu'r creftwyr,[Q]
Gan roi'u breichiau i ddyfal weithio,
A'u calonau i weddïo.

15.
Fe all y gwragedd hen wrth nyddu,
Fe all y merched wrth sidanu,[R]
Fe all pawb ddilyn eu celfyddyd,
A gweddïo'n ddyfal hefyd.

16.
Fe all Foesen wrth siwrneia,
Fe all Joshua wrth ryfela,
Crist wrth ymdaith, Paul wrth forio,
Weithio eu gorchwyl a gweddïo.

17.
Nid oes dim a ddirper rwystro
Dyn 'wyllysgar i weddïo,
Ac i weithio'i orchwyl hefyd,
Pa ryw bynnag fo'i gelfyddyd.

18.
Crist sy'n erchi in' bawb weddïo,
Ar bob amser heb ddiffygio;
A Sant Paul sy'n erchi i ni
Ym mhob man ymarfer gweddi.

[A] Psalm 55. 17. [B] "'R tri phryd hyn, yn ddisceulusdra."—S. Hughes. [C] Ar ei gyfer. [D] 1 Thes. 5. 17. [E] Taer. [F] Brys. [G] Psalm 34. 10. [H] *Business*, gwaith. [I] Sylwa y darllenydd, ond odid, fod y pennill hwn yn y "Cynghor i Wr Ieuangc;" a bod amryw o'r penillion rhagllaw yn y Gân "Am weddi a'i pherthynasau," (tu dal. 70, &c.,) etto, oblegid eu bod yn dra phriodol i'r Gân hon, ac yn ei gwneuthur lawer yn fwy cyflawn, barnwyd yn addas ei gadael i mewn yma, fel y gwneir yn argraphiad S. Hughes, ond ei fod ef yn gadael y tri phennill olaf allan. Am eglurhadau a phrofion Ysgrythyrol ar y penillion a all-adroddir yma, cyfeirir y darllenydd at y lle y maent wedi eu hargraphu o'r blaen. [J] Psalm 119. 164. [K] *Comfort*, cysur, diddanwch. [L] Un yn gyrru anifeiliaid wrth aredig, cethreiniwr. [M] Ymadroddion ffol. [N] Anifeiliaid. [O] *Journey*, taith. [P] *Tailors*, gwniedyddion, dilledyddion. [Q] Gweithio eu celfyddid. [R] Gwnio sidan.

19.
Yn ein trallod, yn ein gwynfyd,
Yn ein nychdod, yn ein iechyd,
Y mae ini brudd weddïo,
Ym mha gyflwr y bom ynddo.

20.
Ar y moroedd, ar y mynydd,
Yn ein teiau, ar y meusydd,
Y dirperai in' weddïo
Ym mha fan y bom ni ynddo.

21.
Gyda Pheder, yn ein lletty,
Gyda Dafydd, yn ein gwely,
Gyda Daniel, rhwng y llewod,
Y mae in' weddïo'n wastod.

22.
Gyda Moesen ar y mynydd,[S]
Gyda Isaac ar y meusydd,[T]
Gyda Ifan[U] yn yr eglwys,
Y mae gweddi yn dra chymmwys.

23.
Ym mhob man, ac ar bob amser,
Y mae gweddi o fawr bŵer,
Os y galon a fydd parod,
I weddïo ar y Drindod.

24.
Dyn sydd demel i'r Goruchaf,
Calon dyn yw'r allor bennaf;
Foreu a hwyr mae Duw'n ceisio
Cael o'r galon aberth iddo.

25.
N'âd y demel er dy fywyd,
Foreu a hwyr, heb aberth hyfryd;
A n'âd ganol dydd i basio,
Heb roi clod a moliant iddo.

26.
Felly byddi di gyfeillgar
A'th Greawdwr, ac mewn ffafar;
Felly cei di gan y Drindod
Dy rwyddhau, a'th helpu'n wastod.

## XLVI.—CYNGHOR DUWIOL I BOB GRADD I'W DDILYN CYN MYNED AT EU GORCHWYLION.

1.
Cyn yr eloch o'r drws allan
At un gorchwyl mawr na bychan,
Cais gan Dduw dy brudd fendithio,
A rhoi rhad ar waith dy ddwylo.[A]

2.
Duw sy'n rhoddi rhad a llwyddiant,
Duw sy'n danfon ffawd[B] a ffyniant,
Lle'i cyfarcher, fe rŷ fendith,
Lle'r anghofir, fe ddaw melldith.[C]

3.
Cais ei Ysbryd i'th gyf'rwyddo,
Cais ei ras i'th gynorthwyo,
Cais ei fendith ar bob gweithred,
Felly daw it' rad o'u parthed.

4.
Dechreu'r gwaith yn enw'r Iesu,
Cais ei gyfnerth i'w ddibennu,
Yn ei ddiwedd cais ei ogoniant,[D]
Felly cei o'th weithred ffyniant.

5.
Fel y llwyddodd Duw orchwylion
Joseph gynt, a Daniel ffyddlon,
Felly llwydda d'orchwyl dithau,
Os gweddi arno'n ddiau.

6.
Oni wnai dy weddi'n addas,
Ti gai adael bŵth[E] fel Jonas,
A physgotta megis Peder,
Ac heb ddala dim un amser.

7.
Ti gai dwttan[G] a thrafaelu,
Ac ymrwyfan a thrafferthu
Ddydd a nos, a phoeni'n ofer,
Heb fod dim yn well un amser.

8.
Ofer codi ar y wawr-ddydd,
Ofer bwytta bara cystudd,[H]
Ofer gwylied hir nos aua',
Os yr Arglwydd ni'n bendithia.

9.
Ofer adail teiau newydd,
Ofer cadw caerau trefydd,
Ofer poeni trwy rymustra,
Os yr Arglwydd ni chyd weithia.[I]

10.
Rhag i'th lafur[J] fyn'd yn ofer,
O gweddïa'n brudd bob amser,
Ar i'r Arglwydd dy fendithio,
Felly ffynna gwaith dy ddwylo.

[S] Exod. 17. 9, 11, 12. [T] Gen. 24. 63. [U] Ioan. Act. 3. 1.

[A] Gwelir y pennill hwn, a'r pummed, yn y "Cynghor i Wr Ieuangc?" ond cyfleir hwynt eilwaith yn y Gân hon gan S. Hughes, T. Durston, a Rhys Tomas; y mae hefyd amryw bennillion tebyg i'w gilydd mewn amrywiol ranau o'r Gwaith; oddiwrth yr hyn y gellir meddwl bod yr Awdwr, pe cawsai amser i iawn drefnu y llyfr, yn bwriadu dosparthu rhai o'i Ganau hirion, ac ychwanegu at y gwahannol rannau, er mwyn eu cyhoeddi dan bennau neillduol. [B] Llywydd, hawddfyd. [C] 1 Sam. 2. 30. [D] 1 Cor. 10. 31. [E] *Booth*, caban. Jona 4. 5. [F] Luc 5. 5. [G] Bod yn ddiorphwys, myned o un man i'r llall. [H] Psalm 127. 2. [I] Psalm 127. 1. [J] *Labour*, gwaith, trafferth.

## XLVII.—CYNGHOR I'R LLAFURWR.

1.
Cyn rhoi llaw ar gorn yr arad',
C'od dy ddwylo, ti a'th eilwad,[A]
At Dduw mawr am dy fendithio,
A rhoi rhad[B] ar waith dy ddwylo.

2.
Ofer hau a 'redeg llawer,
Ofer llyfnu'r maint a hauer;
Oni ddyry Duw ei fendith,
Dan y gwys y pydra'r gwenith.

3.
Dyn sy'n hau, a Duw sy'n hadu,
Duw sy'n peru i'r llafur dyfu,[C]
A dwyn ffrwythau ar ei ganfed,
I'r sawl sy ynddo yn ymddiried.

4.
'R un a geisio ffrwyth o'r ddaear,
Rhad a llwyddiant ar ei heiniar,[D]
Prudd weddïed ar yr Arglwydd,
Fe gaiff lwyddiant heb ddim aflwydd.

5.
Gwell yw gweddi gydag oged,
I gael llafur[E] ar ei ganfed,
Na chwech arad' ac ogedi,
Lle na byddo sôn am weddi.

6.
Fe gai Isaac, wrth fyfyried,
Lafur gan Dduw ar ei ganfed,[F]
Pan bai eraill heb weddïo,
Prin yn cael y chweched ganddo.

7.
O gweddïa ditheu'r hwsmon,[G]
Ar dy Dduw o ddyfnder calon,
Am roi rhad ar waith dy ddwylo,
Felly ti gai ddigon ganddo.

## XLVIII.—GWEDDI'R HWSMON.

1.
Lluniwr daear, helpwr dynion,
Awdwr hadau'r ddaear ffrwythlon,
Rhoddwr gwlaw, Cynhyddwr llafur,
Gwrando weddi hwsmon prysur.[A]

2.
R wyf fi'n myn'd i drin y ddaear,
Ac i hau yn hon fy heiniar,[B]
Heb gael gweled mwy o hono,
Oni roi dy fendith arno.

3.
Arglwydd, ofer ydyw plannu,
Hau yn gynghan[C] a gorlyfnu
Oni pheri di 'ddo 'gino,[D]
A rhoi rhad a chynnydd arno.

4.
Ni ddaw hedyn byth o'r ddaear,
O'r maint oll sydd genny' o heiniar,
Oni pheri di 'ddo darddu,
Tyfu allan a chynhyddu.

5.
'R wyf gan hynny'n begio'n[E] brysur,
Duw, dy fendith ar fy llafur,
Fel y gallwyf gael oddi wrtho,
Fodd fel Cristion i'm maintainio.[F]

6.
Agor im' ffenestri'r nefoedd,
Gwlawia fendith ar fy nhiroedd,
Portha'r hâd â brasder daear,
A rho lwyddiant ar fy heiniar.

7.
N'âd i'r nefoedd fyn'd yn bres,
Na'r ddae'r yn harn[G] gan ormodog wres;
N'âd i'r maesydd mawrion fethu,
Am ein llesgedd i'th was'naethu.

8.
Rho wrth fesur y gwlaw cynnar
Yn ei bryd, a'r gwlaw diweddar,
Hinon dempraidd,[H] gwres cymmedrol,
Rhad a llwyddiant i dy bobol.

9.
Gwa'rdd y locwst, gwa'rdd y lindys,[I]
Gwa'rdd y gwlith sy'n brychu'r barlys,[J]
Gwa'rdd y gwres, y gwynt a'r lluch-
Sydd yn peri i'r llafur niwed. [ed,[K]

10.
Corona'r flwyddyn a daioni,
Tywallt frasder dy râd arni,
Gwisg y dolydd oll â defaid,
A'n mynyddoedd â 'nifeiliaid.[L]

[A] Gyrrwr anifeiliaid wrth aredig. [B] Bendith, llwyddiant. [C] Psalm 104. 14. [D] Yd, cynnyrch y maesydd. [E] Yd, ffrwyth, llafur. [F] Gen. 24. 63, a 26. 12. [G] *Husbandman*, llafurwr.

[A] Diwyd, llafurus. [B] Yd. [C] Cysson, rheolaidd. [D] Iddo egino. [E] *Beg*, ceisio, deisyf. [F] *Maintain*, cynnal. [G] Haiarn. Lef. 26. 19. [H] Hin dymherus. [I] Y locust a'r lindys ydynt bryfed tra difaol; a phan ddelont yn heidiau i gymmydogaeth, distrywiant holl gynnyrch y ddaear. Joel 1. 4. Amos 4. 9. Psalm 105. 34. 35. [J] *Barley*, bara-lys, haidd. [K] Mellt. [L] Psalm 65. 11—13.

11.
Dyro ymborth i blant dynion,
Dyro wellt i'r 'sgrubliaid [M] mudion,
Dyro win ac olew'n helaeth,
I ddiwallu d' etifeddiaeth.

12.
Dyro in' gynhauaf ffrwythlawn,
Rhad o'r maesydd ac o'r fisgawn,[N]
Had o'r ardd a ffrwyth o'r berllan,
Mel o'r graig, a llaeth o'r gorlan.

13.
A bendithia waith ein dwylo,
Arglwydd grasol, byth tra ganddo;
Felly ni'th fendithiwn dithau,
Ar ein daulin nos a borau.

## XLIX.—CYNGHOR I'R TRAFAELWR.[A]

1.
Cyn y dodech droed mewn gwarthol,[B]
I fyn'd i siwrnai [C] angenrheidriol,
Cais gan Dduw fendithio'th siwrnai,
A'th ddwyn eilwaith yn iach adre'.

2.
Cais ei angel i'th gyf'rwyddo,
Cais ei aden i'th brotecto,[D]
Cais ei fendith ar dy siwrnai,
Fe rwyddha dy holl negesau.

3.
Fel yr helodd [E] Duw ei angel,
Gyda Thobi [F] yn ei drefael,[G]
Felly hel ef heddyw, heno,
Help i bawb ag alwant arno.[H]

4.
Dysg gan was y patriarch gorau,[I]
Alw ar Dduw wrth fyn'd i'th siwrnai,
Am fendithio dy amcanion,
Ti gei ffawd [J] wrth fodd dy galon.

5.
Oni cheisi ar dy liniau,
Gan Fab Duw rwyddhau dy siwrnai,
Cei drafaelu ar yr ormes,[K]
A d'od adref heb dy neges.

6.
Gwell yw gweddi i drafaelwr,
Nag yw'r gwin yn amser sychdwr,
Gwell na chastell rhag y lluched,[L]
Gwell na dim rhag pob drwg dynghed.[M]

7.
Gwell yw gweddi i'th amddiffyn,
Wrth siwrneia,[N] rhag y gelyn,
Nag un cleddyf dur na phistol,[O]
Carnau meirch, na mil o bobol.

8.
O gweddïa dithau'n wastod,[P]
Wrth siwrneia, ar y Drindod,
Ac fe ddyry ei angylion,
I'th rwyddhau wrth fodd dy galon.

## L.—GWEDDI'R TRAFAELWR.

1.
Helpwr [A] pob trafaelwr [B] ofnus,
Ceidwad cryf pob gwan gofidus,
Gwrando'n rasol o'th orseddfa,
Waedd trafaelwr wrth siwrneia.[C]

2.
Arglwydd mae'n rhaid i'm drafaelu
I wlad bell, nad wy'n ei medru,
Ac ni wn a ddeuaf adre',
Oni lwyddi di fy siwrnai.

3.
Tydi Arglwydd sydd yn llywio
Y byd hwn, a'r maint sydd ynddo,[D]
Fel na ddigwydd ond a fynnech,
I'r rhai anwyl ag a garech.[E]

4.
'R wyf gan hynny'n deisyf arnad,
O'th drugaredd, ac o'th gariad,
Roi i'm rwydd-deb yn fy siwrnai
A'm dwyn yn iach-lawen adre'.

5.
Danfon d'angel i'm cyf'rwyddo,
I'm confforddi [F] a'm protecto,[G]
I'm rhwyddhau yn fy negesau,
A'm dwyn eilwaith yn iach adre.'

6.
Tanna droswyf d'aden rasol,
Cudd fi dani yn wastadol,
N'âd un gelyn wneuthur niwed,
Ar y ffordd, i'm corph na'm henaid.

[M] Anifeiliaid. [N] Dâs, carn o ysgybau, beisgawn.

[A] *Traveller*, teithiwr. [B] Gwrthafl, er gwrthdaflu pwys y marchogwr. [C] *Journey*, taith. [D] *Protect*, amddiffyn. [E] Anfonodd. [F] Tobïas. Tobit 5. 6. [G] *Travel*, ymdaith. [H] Psalm 50. 15. [I] Eleazar, gwas Abraham. Gen. 24. 12. [J] Llwyddiant. [K] Mewn brys a thrafferth. [L] Mellt. [M] Damwain. [N] *Journey*, ymdeithio. [O] *Pistol*, llawddryll, dryll bychan, gwnn llaw. [P] Yn wastadol.

[A] *Helper*, cynnorthwywr. [B] *Traveller*, teithiwr. [C] *Journey*, ymdeithio. [D] Rhuf. 11. 36. [E] Rhuf. 8. 28. [F] *Comfort*, cysuro, diddanu. [G] *Protect*, amddiffyn.

7.
Danfon Raphael [H] dy anwyl was,
I'm rhwyddhau a'm dwyn o gwmpas,
Fel yr helaist [I] gyda Thobi'[J]
I'th rhwyddhau o bob clamwri.[K]

8.
Bydd o'm blaen fel niwl y boreu,
Bydd y nos fel tanllwyth oleu,
I'm cyfrwyddo, Crist dy hunan,
Megis Israel tua Chanaan.[L]

9.
Ti gyf'rwyddaist y gwyr doethion
Gynt â'r seren i'r ffordd union,[M]
O! cyf'rwydda felly finnau,
Nes fy nwyn i ben fy siwrnai.

10.
Fel y cedwaist Dobi i'anga' [N]
Rhag y pysg a fynnai'i ddifa,[O]
Felly cadw finnau'n rasol,
Rhag pob peryg' yn ddihangol.

11.
Cadw fi rhag rhwydau Satan,
A'i aelodau, pobol aflan,
A n'âd iddynt wneuthur niwed
Im', na ch'wilydd, stop,[P] na cholled.

12.
N'âd y twrw,[Q] n'âd y lluched,[R]
N'âd y storm i wneuthur niwed,
N'âd i'r follt,[S] na'r ddraig [T] fy nrygu,
Nac un gormail [U] fy ngorthrymmu.

13.
Cadw fi rhag bradau lladron,
Peryg' dyfroedd, a drwg ddynion,
Lletty anwir,[V] bwydydd afiach,
Rhwystyr ffordd, a drwg gyfeillach.

14.
Cwyn [W] fy nghalon, nertha f'yspryd,
Rhwyddha fy ffordd, a'th gymhorth [hyfryd,
Helpa 'nghefyl a'm cyfeillion,
Dwg ni i dref wrth fodd ein calon.

15.
Rho di rwydd-deb yn ein busnes,[X]
Helpa bawb i gael eu neges,
Ag sy a meddwl onest ganddo,
Fel y gallom dy fendithio.

16.
Arglwydd, cadw ni rhag tramgwydd,
C'wilydd, colled, anhap, aflwydd,
Nychdod, niwed, croes, a dolur,
Colli'r ffordd a'r cyfryw rwystyr.

17.
Arglwydd dwg ny yn iach-lawen,
At ein ffryns,[Y] i dref drachefen,
Fel y gallom dy glodfori,
Ddydd a nos am it' ein helpu.[Z]

## LI.—CYNGHOR I'R MILWR.

1.
Cyn yr elech i ryfela,
Dros y goron,[A] O! gweddïa,
Ar Dduw'r lluoedd am roi calon,
Scil,[B] a grym, i'r milwr ffyddlon.

2.
Duw sy'n rhoddi grym a chryfdwr,
A cyf'rwydd-deb i bob milwr,
Scil i'r bysedd i ryfela,[C]
Taflu'r [D] peic [E] a thynnu'r bŵa.

3.
Duw y lluoedd sydd ryfelwr,[F]
Ac yn noddfa mewn cyfyngdwr;
Duw sy'n rhoddi'r fuddugoliaeth,
Cais ei help,[G] fei rhŷ yn helaeth.

4.
Gwell yw gweddi mewn cyfyngdwr,
Wrth ryfela, i bob milwr,
Nag un harnais [H] i'w amddiffyn,
Gwell na glaif [I] i glwyfo'r gelyn.

5.
Mwy y laddodd dwylo Moesen,
Wrth eu dyrcha [J] tua'r wybren,
Nag y laddodd cleddyf Josua,
A holl Israel wrth ryfela.[K]

6.
Jonathan â'i weddi laddodd,
O'r Philistiaid fwy o filoedd,
Nag y laddodd Saul â'r cleddau,
A'i ryfelwyr oll, â'u harfau.[L]

[H] Un o'r angylion. [I] Anfonaist. [J] Tobias. Tobit. 5. 6. [K] *Clamour*, trwst, terfysg; "gofidiau." —R. Tomas. [L] Exod. 13. 21. [M] Mat. 2. 2, 9. [N] Tobias; enw ei dad oedd Tobit. [O] Tobit 6. 2, 3. [P] *Stop*, rhwystyr, attalfa. [Q] Taran, trystau. [R] Mellten. [S] *Bolt*, bollt y daran, angerdd y fellten. [T] Mellten, neu oruchyn tanllyd, am fod ei hymddangosiad fel draig goch fawr, neu sarph danllyd hedegog, yn saethu drwy y ffurfafen. [U] Gormes, trais. [V] Anonest. [W] Cyfod. [X] *Business*, masnach, neges. [Y] *Friends*, cyfeillion. [Z] *Help*, cynnorthwyo.

[A] O blaid y llywodraeth, nid yn ei herbyn. [B] *Skill*, medr, cyfarwyddyd. [C] Psalm 144. 1. [D] "Tosso" yn yr hen argraphiadau. [E] *Pike*, piccell, gwaywffon. [F] Exod. 15. 3. [G] *Help*, cynnorthwy. [H] *Harness*, trwsiad milwraidd. [I] Llafn awchus, cleddyf cam.—"Pladur."—S. Hughes. [J] *Dyrchafu*. [K] Exod. 17. 11. [L] 1 Sam. 14. 13, 20.

7.
Chwyrnach ydoedd gweddi Dafydd
I droi'r cawr â'i dorr i fynydd,[M]
Na'r holl gerryg aeth o'i goden,
Er ei glynu yn ei dalcen.[N]

8.
Hen Elias heb ddim arfau,
Ond ei weddi, a ddifethai,
Ddau ben-capten a'u cwmpeini :[O]
Beth sydd gryfach nag yw gweddi ?

9.
Cryfach ydoedd gweddi Judith,
Na'r holl welydd[P] cedyrn aruth',[Q]
I ymddiffyn tref Bethiwlia,
Rhag Holphernes idd ei difa.[R]

10.
Arfer dithau brudd weddïo,
Wrth ryfela â'th ddwy ddwylo,
Fel arferodd dewr-wych Josua,
Ti gei lwyddiant wrth ryfela.

11.
Dod dy dwylaw i filwrio,
Dod dy galon i weddïo,
Ti gei weled y gwna gweddi.
Fwy na dwylaw o fawrhydi.[S]

LII.—GWEDDI'R MILWR.

1.
Arglwydd grymmus, Llywydd lluoedd,
Pen-heolwr pob rhyfeloedd,
Unig roddwr buddugoliaeth,
Gwrando 'ngweddi o'm milwriaeth.

2.
'R ŷm ni yma 'mhlaid y goron,
A'n prins,[A] a'n gwlad, a'n da, a'n dynion,
Yn rhyfela â gwyr diras,
Sy'n amcanu treisio'n teyrnas.

3.
Duw gw'radwydda ein gelynion,
A'u bwriadau, a'u dichellion,
Tola[B] eu balchder, torr eu cryfdwr,
Dofa eu hawch,[C] gostega'u cynhwr'.

4.
Nertha ninnau, dy wael weision,
Chwareu'r gwyr[D] ym mhlaid y goron,
A rhoi ini rym a gallu
Eu congwerio[E] a'u gorchfygu.

5.
Arglwydd grasol, cwyn[F] ein calon,
Ymladd drosom â'n gelynion,
Hel[G] dy fraw a'th ofon arnynt,
Dyro ffwyl[H] a gw'radwydd iddynt.

6.
Er nad ydym yma ond gronyn
I'r fath nifer sydd i'n herbyn,
Etto'r ŷm yn ddigon grymmus,
Os tydi a fydd o'n hystlys.

7.
Arglwydd gwynn,[I] nid llai dy bŵer,[J]
Mewn ychydig nag mewn llawer ;[K]
Can's mewn gwendid 'rwyt fynychaf
Yn mynegu d' allu mwyaf.

8.
Peraist gynt i Gideon ddifa,
Gyda thri chant o'r gwyr gwanna',
Lu aneirif o'r Midianiaid,
Oedd mor amled a'r locustiaid.[L]

9.
Jonathan a'i gludydd arfau,
Helodd miloedd droi eu cefnau,
Pan yr helaist ofon arnyn' ;[M]
Pwy a feiddia droi yn d'erbyn !

10.
Rhoddaist rym i Samgar fraenu,[N]
Chwe' chan' wr, a'u lladd â'r ierthi,[O]
Ac i Samson ladd cyn gorphen,
Fil o wyr, â gên yr asen.[P]

11.
Ti ddifethaist trwy law gwreigyn,[Q]
Ben-tywysog brenhin Jabin,[R]
Ac a wnaethost i'r planedau,
Ymladd drosot yn eu graddau.

12.
Gelli, Arglwydd mawr os mynni,
Roi i ninnau rym a gallu,
I orchfygu ein gelynion,
Er nad ŷm ond milwyr[S] gweinion.

[M] I fynu. [N] 1 Sam. pen. 17. [O] 2 Bren. 1. 10. 12. [P] *Walls*, muriau, caerau. [Q] Aruthr rhyfeddol. [R] Judith, pen. 7—14. [S] "O orhydri."—S. Hughes ; "O wrhydri."—T. Durston Gwrolder, grymmusder.

[A] *Prince*, tywysog. [B] Lleiha. [C] Llymder, ffyrnigrwydd. [D] Ymwroli. [E] *Conquer*, trechu. [F] Cyfod. [G] Anfon, gyrr. [H] *Foil*, cwymp. [I] Bendigedig. gogoneddus. [J] *Power*, gallu. [K] 1 Sam. 14. 6. [L] Barn. pen. 7. [M] 1 Sam. 14. 15. [N] Baeddu, curo yn friw. [O] Gwialen at yrru ychain. Barn. 3. 31. [P] Barn. 15. 15. [Q] Gwraig eiddil. [R] Sisera. Barn. 4. 21. [S] Barn. 5. 22.

13.
Os tydi a fydd o'n hochor,
Nef a daear, dw'r a che'nfor
Haul, a lloer, a gwynt ystormus,
A ryfelant ar ein hystlys.[T]

14.
Arglwydd mawr, os byddi o'n hystlys,
Pe bai'r Twrc, a'r Pab, a'r Spanis,[U]
A holl uffern yn ein herbyn,
Ni roem ddim o'r garrai erddyn'.[V]

15.
Tydi'n unig sydd ryfelwr,
Gennyt ti mae scil [W] a chryfdwr,
Ti sydd roddwr buddugoliaeth,
Ti sy'n achub rhag marwolaeth.

16.
Ti sy'n peri'r rhyfel beidio,
Ti sy'n torri'r sper [X] yn yfflo,[Y]
Ti sy'n rhoddi'r march i gysgu,
Ti yn unig sy'n gorchfygu.

17.
Dyro gwmffwrdd [Z] i'n calonnau,
Dyro gryfder yn ein breichiau,
Dyro scil in' bawb ryfela,
Megis milwyr i'r Gorucha'.

18.
Gwna'n capteniaid [A] megis Josua,
I ymwroli i ryfela,
A bydd gyda'r rhain dy hunan,
I gyf'rwyddo'u plot [B] a'u hamcan.

19.
Dyro galon ym mhob milwr,
Deall, dewrder, scil, a chryfdwr,
Gallu, gwyllys, hyder eon,[C]
I gonffronto [D] ein gelynion.

20.
Dod d'angylion i'n castellu,[E]
Rhag pob gelyn, tra ni'n cysgu,
A dod lu o'th filwyr penna'.
I'n cyfnerthu wrth ryfela.

21.
Bydd dy hun yn disgwyl [F] arnom,
Ac yn llywio'r [G] hyn a wnelom,
N'âd in' wneuthur yn wrth'nebus,
Ddim yn erbyn dy lân 'wyllys.

22.
Gwna ni'n gywir bawb i'n brenhin,
Gwna ni'n ffyddlon i'r cyffredin,
Gwna ni'n ufudd i'n rheolwyr,
Ac heddychlon a'n lletywyr.

23.
Gwna ni'n foddlon bawb i'n cyflog,[H]
N'âd i'n 'speilio un cymmydog,
Na gormeilio [I] mawr na bychan,
Ond byw'n weddus yn dy ofan.[J]

24.
N'âd in 'ddilyn afreolaeth,
Na chynhenu mewn cwmnïaeth,[K]
Nac ymdynu [L] â'n capteni,
Na byw'n aflan mewn drygioni.

25.
N'âd i'n dreisio gwraig na morwyn,
Nac anrheithio un dyn addfwyn,
Rhag i'th lid gyfodi i'n herbyn,
A'n troi bawb dan ddwylo'r gelyn.

26.
Gwna ni bawb yng nghanol rhyfel,
Fyw fel pobol yn y demel,
A fai bob yr awr yn galw
Am dy gymhorth idd eu cadw.

27.
Lle'r ŷm beunydd ym mhyrth angau,
Ar flaen peics a safnau'r gwnnau,[M]
Pâr i'n fyw bob awr yn d'ofan,
A throi heibio'n buchedd aflan.

28.
Ni ŵyr un pa awr pa ennyd,
Y rhy gyfrif am ei fywyd,
Ger dy fron, O Farnwr cyfion;
Pâr i'n' fyw gan hynny'n union.

29.
Gwna ni'n barod ddyfod attad,
Bob yr awr, O anwyl Geidwad;
N'âd in' fyw un awr mewn pechod,
Rhag ein cyrhaedd yn ammharod.

30.
N'âd i'n wneuthur dim drygioni,
Nac un herc [N] na allom roddi
Cownt [O] o'i phlegid heb g'wilyddio,
Ddydd y farn pan ddeir i 'mpirio.[P]

31.
Arglwydd, achub ni dy weision,
A gw'radwydda ein gelynion,
Cadw'n brenhin a'i frenhiniaeth,
A rho iddo'r fuddugoliaeth.

[T] O'n plaid. [U] *Spaniards*, trigolion yr Yspaen. [V] Nid ystyriem hwynt o ddim pwys. [W] *Skill*, medrusrwydd. [X] *Spear*, gwaywffon. [Y] Yn ysgyrion, yn ddarnau. [Z] *Comfort*, cysur. [A] *Captains*, blaenoriaid lluoedd. [B] Plot, cynllun, bwriad. [C] Gwrol, calonnog. [D] *Confront*, wynebu, gwrthsefyll. [E] Amddiffyn, amgylchynnu. Psalm 31. 7. [F] Edrych. [G] Trefnu, rheoli. [H] Luc 3. 14. [I] Gormesu, gorthrymu. [J] Ofn. [K] *Company*, cyfeillach. [L] Ymryson, anghyttuno. [M] *Guns*, drylliau, arfau tân. [N] Gweithred ddrygionus. [O] *Count*, cyfrif. [P] *Appear*, ymddangos. 2 Cor. 5. 10.

## LIII.—CYNGHOR I'R PORTHMON.[A]

1.
Os 'dwyt borthmon, delia'n[B] onest,
Tâl yn gywir am y gefaist,
Cadw d'air, na thorr d'addewid,
Gwell nag aur mewn côd yw credid.[C]

2.
Na chais ddala'r tlawd wrth angen,
Na thrachwanta ormod fargen,[D]
Na fargenna â charn lladron,
Ni ddaw rhad ar ddim a feddon'.

3.
Gochel brynu fawr yn echwyn,
Pawb ar air[E] y werth yn 'sgymmun;
Prynu yn echwyn na i borthmon
Ado'r wlad, a myn'd i Werddon.[F]

4.
Gochel dwyllo dy fargenwyr;
Duw sydd Farnwr ar y twyllwyr;[G]
Pe dihangit hwnt i'r Werddon,
Duw fyn ddial twyll y porthmon.[H]

5.
Byth ni rostia[I] un o'r twyllwyr
'R hyn y heliant, medd y 'Sgrythyr;[J]
Ni ddaw twyll i neb yn ennill,
Fe rhed ymaith fel trwy'r rhiddyll.[K]

6.
Gochel feddwi wrth borthmonna;
Gwin hel[L] borthmon i gardotta;
Os y porthmon a fydd meddw,
F' â'r holl stoc[M] i brynu'r cwrw.

7.
Dela'n union, carca[N] d'enaid,
Na ddifanna[O] â da'r gwirionaid;
Pe difannid i'r low cyntres,[P]
Dial Duw a fynn d'orddiwes.

## LIV.—CYNGHOR CYN MYNED I GARU.

1.
Pan yr elech gynta' i garu,
Galw ar Dduw os mynni ffynnu;[A]
Cais ei Ysbryd i'th gyf'rwyddo,
Heb-ddo nid oes lun[B] it' lwyddo.

2.
Rhodd arbennig[C] oddiwrth Dduw
Yw gwraig rasol, weddaidd wiw;[D]
Rhodd na rydd i bawb o honi,
Ond y sawl a fo'n ei ofni.[E]

3.
Cais gan d' Arglwydd hyn o rodd,
Dy gei briod wrth dy fodd;
Cais ei nerth, a'i help[F] a'i gynghor,
Dy gei bob rai ar dy ochor.

### YR AIL RAN.

1.
Ymddarostwng i'th rieni,[G]
Cyn y ceisiech briod iti;
Cais eu h'wyllys mewn modd addas,
Felly ffynna dy briodas.[H]

2.
Fe fynn Duw it' ymgynghori
A'th dad a'th fam cyn iti briodi,[I]
Ac ymfaisto[J] 'nol eu h'wyllys,
Tra na cheisiont faits anweddus.

3.
Ni fynn Duw i'th dad dy fwrw,
Lle na byddo Duw'n dy alw,
Lle na allo'r galon hoffi,
Lle na bo cyfaddas iti.

4.
Os llawn o ras, os glân o ryw,
Os pur o gorph, a modd i fyw,
Os mwyn, os doeth, os da yw'r ferch
Lle galwodd Duw di, rho dy serch.

5.
Mae'r tad a'r fam yn rhwym i'th ffwrddro;[K]
Mae'n erbyn Duw i'r rhain dy rwystro;[L]
Cyffroi'r ysbryd a wna hynny,[M]
A themtio'r[N] cnawd i odinebu.[O]

[A] Un yn masnachu mewn anifeiliaid. [B] *Deal*, ymddwyn. [C] *Credit*, cymmeriad, enw da. [D] *Bargain*, mantais wrth brynu. [E] Ar goel. [F] I'r Iwerddon. Gellir casglu oddiwrth hyn, bod y rhai a wnaent ddrygau gynt ym Mhrydain, yn ffoi i'r Iwerddon, fel yr ânt i America yn awr, a'u bod yn dra diogel yn y wlad honno, pan nad oedd dan awdurdod y deyrnas hon i'r graddau y mae yn bresennol. [G] Mal. 3. 5. [H] 1 Thes. 4. 6. [I] *Roast*, pobi, crasu. [J] Diar. 12. 27. [K] *Riddle*, gogr bras. [L] A yrr. [M] *Stock*, golud, meddiannau. [N] *Care*, gofalu. [O] Cilio, ffoi [P] *Low Countries*, Netherlands, Holland.

[A] Llwyddo. Gen. 24. 7. [B] Modd. [C] Nodedig, neillduol. [D] Diar. 19. 14. [E] Preg. 7. 26. [F] *Help*, cymhorth. [G] Col. 3. 30. [H] Gen. 27. 46. [I] Barn. 24. 2. [J] *Match*, ymgyfarthrachu. [K] *Further*, cefnogi, cynnorthwyo i fyned ym mlaen. [L] Barn. 14. 4. [M] Col. 3. 21. [N] *Tempt*, hudo, denu, cynhyrfu. [O] 1 Cor. 7. 9.

## LIV.—CYNGHOR CYN MYNED I GARU.

### Y DRYDEDD RAN.

1.

Na ddigia'th dad, o bydd lle i beidio,
Ym mhob peth gweddus gostwng iddo,
Cais ei gyfnerth yn barchedig;
Cais yn fwyn, fe ddyry'n ddiddig.

2.

Cais wraig dduwiol, o'r iawn ffydd,
O grefydd Crist, heb nâg na nydd;[P]
Mewn un gwely byth ni chydfydd
Gŵr a gwraig o amryw grefydd.[Q]

3.

Cais wraig ddiwair o rieni,
Rhyw[R] a ymlusg i ddrygioni;
Oni cheidw Duw rhag nam,
Fe dripia'r[S] ferch lle tripio'r fam.[T]

4.

Cais wraig hygar, gryno, g'ruaidd,
Na ffansia[U] forwyn ffiaidd;
Trist, ac oer, a dof, a diflas,
Y fydd cariad at un atgas.

5.

Cais wraig ddistaw, dda ei nwydau,[V]
Ddof ei natur, bach ei chwedlau;
Gwaeth na defni,[W] gwaeth nag arthes,[X]
Gwaeth na gwiber yw sgoldies.[Y]

6.

Cais wraig fedrus, ddoeth, rinweddol,
Honno'th god[Z] yn ben i'th bobol,
Honno leinw dy gornelau,
Honno bair i'th galon chwareu.[A]

7.

Cais wraig hygar, a gwraig fedrus,
Cais un rasol a chysurus;
Llom yw'r ford, ac oer yw'r gwely,
Lle bo'r wraig heb drefnu'r lletty.

8.

Cais un weddus ar ei gwên,
Nid rhy ieuangc, nid rhy hen;
'R hen, ry oer, a'th ladd a'i pheswch,
A'r llall a bair it' aflonyddwch.

9.

Cais un ufudd, megis Sara,
Cais un ddisyml[C] fel Rebecca,
Cais un sorchog megis Rachel,
Cais un fedrus fel mam Lemuel.[D]

10.

Cais un rasol, hygar, hyfryd,
Syber,[E] sanctaidd, lân ei bywyd,
Araf, weddus, dda'i hymddygiad,
Hi dâl fwy na chyfoeth tair-gwlad.

### Y BEDWAREDD RAN.

1.

Gochel goegen falch, ddifeder,
Gochel soga,[F] sur ansyber,
Gochel un oludog ffromffol,
Honno'th flina di a'th bobol.

2.

Gochel wraig ry wen, ry gynnes;
Hi fydd neidr yn dy fynwes;
Odid gweled, medd y fran,[G]
Wraig ry wen a chalon lân.

3.

Na chais wraig â gwaddol lawer,
Ac heb fedru drin ei phŵer;[H]
Mwg, a niwl, a llif yn treio,
Yw gwaddol mawr heb fedru'i drino.[I]

4.

On' bydd ond dwy it' gael dy ddewis,
Un yn fras, a'r llall yn fedrus,
Gâd i fyn'd y fras ddi-feder,
Cais y fedrus a'th holl bŵer.

5.

Y ddoeth, a'r dda, a ddaw i ddigon,
O ddydd i ddydd hi wella'i dynion,[J]
Ni chwsg hi'r nos[K] ni phaid ei bysedd,
Nes cael cyfoeth ac anrhydedd.

6.

Y ddol[L] a fwrw ei thŷ i lawr,
A'r ddoeth a adail drefydd mawr,[M]
A ddol a bair i'r gŵr och'neidio,
A'r ddoeth a ddwg anrhydedd iddo.

[P] Cyndynrwydd. [Q] 2 Cor. 6. 14. [R] Gwaedoliaeth, perthynas. [S] *Tri*, tramgwyddo, syrthio. [T] Exod. 16. 44. [U] *Fancy*, serchu, hoffi. [V] Tymherau. [W] Diferion. Diar. 27. 15. [X] Diar. 17. 12. [Y] *Scold*, gwraig anynad, gointachlyd. [Z] A'th gyfyd. [A] Diar. 31. 22, 23. [B] Diar. 17. 22. [C] Dichell. [D] Diar. 31. 1. [E] Glanwaith. [F] Un ddiog front. [G] Medd y ddiareb—dull o grybwyll am beth y byddo perygl i'w ddywedyd pan na ewyllysir amlygu pwy a'i hyspysodd. [H] *Power*, awdurdod, gallu. [I] Ei drin, ei drefnu. [J] Diar. 31. 15. [K] Diar. 31. 18, 25. [L] Y ffol. [M] Diar. 14. 14.

7.

Y ffol ei phen y flina gawr,
Ac anrheithia'r gwaddol mawr,
Gan lwyr droi ei phac [N] yn ffardel,[O]
Nes gw'radwyddo'r ffrins [P] a'r gene'l.

8.

Archoll calon, baich anesmwyth,
Defni dyfal, gwawd i'w thylwyth,
Iau yn gwasgu, sarph yn pricco,[Q]
Yw gwraig drwg, gwae'r gŵr a'i caffo.

9.

Duw a'i Ysbryd i'th gyfrwyddo,
I gael yr oreu a'th foddlono,
O ddawn, o dda,[R] o ras, o ryw,
Wrth fodd dynion wrth fodd Duw.

## LV.—CANMOLIAETH GWRAIG DDA.

1.

GWELL bachgen doeth na brenhin ynfyd,[A]
Gwell enw da nag ennaint hyfryd,[B]
Gwell pwyll nag aur,[C] gwell gras na grym,
Gwell dyn na da, gwell Duw na dim.

2.

Gwell eigyr [D] ddoeth yn ofni Duw,
A 'chydig bach o fodd i fyw,
Na'r ddol ddi-ddawn o gene'l grin,
A thrysor mawr heb fedru'i drin.

3.

Gwraig rinweddol, hygar, hyfryd,
Sydd gant gwell na byd o olud;
Gwell na thir, na thai, na thrysawr,
Gwell na'r perls [F] a'r meini gwerthfawr.[G]

4.

Llong yn llawn o werthfawr dlysau,[H]
Perl â chan-mil o rinweddau,
Gemm [I] na fedr neb ei phrisio,
Yw gwraig dda, i'r sawl a'i caffo.

5.

Piler [J] aur mewn mortais [K] arian,
Tŵr rhag angau i ddyn egwan,
Coron hardd,[L] a rhan ragorol,
Gras ar ras yw gwraig rinweddol.

## LVI.—RHYBUDD A CHYNGHOR I'R GODINEBWR.

1.

GWRANDO, 'r godinebwr aflan,
Air o gyngor genny'n gynghan,[A]
Cyn yr elech di mor ddiriaid,[B]
Yn dy ŵyn [C] i ddamnio d'enaid.

2.

Gwel dy fargain [D] front anhywaith,
Cyn y bwriech dy hun ymaith,
Marca [E] d'ennill, bwrw'th [F] golled,
Ystyr ble'r wyt ti yn myned.

3.

'R wyt ti'n myn'd i dŷ putteiniaid,
I blesio'r [G] corph, i ladd yr enaid,
I ddigio Duw, i 'nurddo ei demel,[H]
I 'mado â Christ, i 'mlynu â chythraul.

4.

'R wyt ti'n myn'd fel ffol i werthu
D'enaid anwyl, pridwerth Iesu,
Ffafar Duw, a'r deyrnas lawen,
Am gael gorwedd gyda phuttain.

5.

O! na wna mor dost a'th enaid
A'i roi 'rwygo rhwng cythreuliaid,
Yn nhân uffern,[I] am gael gronyn
O drythyllwch i'r cnawd melyn.

6.

O! na werth y nef gyfoethog,
Ffafr Duw, a'th Brynwr serchog,
Gwir angylion, gwlad goleuni,
Am gael pleser [J] mewn drygioni.

7.

Pwylla, aros, n'âd dy dwyllo,
Margain hallt [K] yw'r fargain honno,
Am gael tippyn o drythyllwch,
Na werth nef a'i holl ddedwyddwch.

8.

Cno dy dafod, pig dy lygad,
Tro dy wegil, na fydd anllad,
Ymswyn [L] rhag i'r fall d'orchfygu,
Ac na chytgam [M] odinebu.

[N] *Pack*, baich. [O] *Fardel*, syppyn.—Gyrru llawer yn ddim. [P] *Friends*, cyfeillion. [Q] *Prick*, brathu, pigo. [R] Cyfoeth.

[A] Preg. 4. 13. [B] Preg. 7. 1. [C] Diar. 16. 32. [D] Llangces bridweddol. [E] Diar. 15. 16. [F] *Pearls*, math o gerrig drudion. [G] Diar. 31. 10. [H] Diar. 31. 14. [I] *Gem*, maen gwerthfawr. [J] *Pillar*, colofn, post. [K] *Mortise*, twll, amgarn. [L] Diar. 12. 4.

[A] Ar gân. [B] Drygionus. [C] Chwant. [D] *Bargain*, masnach, cyttundeb. [E] *Mark*, sylwi, ystyried. [F] Cyfrif. [G] *Please*, boddio. [H] 1 Cor. 3. 16, a 6. 19. [I] Diar. 7. 27. [J] *Pleasure*, hyfrydwch. [K] Edifar. [L] Gochel. [M] Cellwair, rhyfygu.

9.
Cenfydd Satan sy'n dy arwain
Wrth edefen i dŷ'r buttain,
Megis arwain ŷch i'r lladdfa,[N]
I ladd d'enaid drwy butteindra.

10.
Clyw'r 'postolion a'r prophwydi,
A'r holl 'Sgrythyr i'th gynghori [O]
I ochel rhag y cyfryw bechod,
Rhag dy daflu i uffern isod.

11.
A âi di i uffern i'th dormentio ?[P]
A âi di'r brwmstan poeth i'th frwylio ?[Q]
Am gael gorwedd megis filain,[R]
Ymbell bryd, ym maglau puttain.

12.
A âi di orwedd i'r tywyllwch ?
A âi di i'r carchar di-ddiddanwch ?
A âi di i drigo at blant Satan,
Am gofleidio menyw aflan.

13.
A droi di ffafr Duw oddi wrthyd,
A'i angylion hygar,[S] hyfryd,
Heb gael dim oddiwrth y fargain,
Ond cusanu gweflau puttain ?

14.
Ffei rhag c'wilydd ! tro yn d'wrthol,[T]
A dos adre'n edifeiriol ;
Na werth nef am gariad puttain,
Ni wnai Esau [U] o'r fath fargain.

15.
Cymmer gynghor, ofna Dduw,
Carca [V] d'enaid tra f'ech [W] byw,
Gochel wneuthur, ti a'th riain,[X]
Aelod Crist yn aelod puttain.[Y]

16.
Cadw'th gorph yn llester sanctaidd ;[Z]
Teml Dduw yw corph caruaidd,
Aelod Crist, preswylfa'r Drindod,
Gochel 'nurddo [A] hwn â phechod.

17.
Gwybydd nad oes pechod casach,
Na godineb brwnt, a llosgach,[B]
Y wnaeth difa da a dynion,
A dw'r diluw, tân a brwmston.[C]

18.
Digio Duw, a phlesio'r cythraul,
Gryddfu [D] i'r Yspryd, 'nurddo ei demel,
Croeshoelio Crist, halogi aelod,
Y mae'r rhyfyg brwnt yn wastod.[E]

19.
Pydru'r corph, a damnio'r enaid,[F]
Llygru'r enw, 'nurddo'r ddwy-blaid,
Difa'r cyfoeth, stainio'r [G] eppil,
Mae'r godineb brwnt yn rhugyl.[H]

20.
Llanw'r deyrnas o fastarddiaid,
Llanw'r eglwys o butteiniaid,
Llanw'r tai o gam 'tifeddion,
Mae godineb, medd y doethion.

21.
Hela [I] dynion i gardotta
Wna godineb a phutteindra,
Ac fel goddaith [J] o dân prysur,
Difa cyfoeth godinebwyr.

22.
Pa bo pob rhyw bechod diffaith
Heb ladd un ond un ar unwaith,
Mae godineb brwnt mor 'sgeler,[K]
Yn lladd dau bob gwaith y gwneler.

23.
Er nad oes un pechod atgas
Ag all dorri rhwym priodas,
Mae godineb cas yn torri
'R holl briodasau mae'n halogi.[L]

24.
Gwaeth na lleidr, gwaeth na mwrdd-
Gwaeth na neb yw'r godinebwr, [rwr[M]
Sy'n lladd enaid dau ar unwaith,
Pan bo'r lleill ond lladd cydymaith.

25.
Nid yw'r lleidr wrth ei ofid,
Ond lledratta'i gadw ei fywyd ;
Mae'r putteiniwr yn ei afraid,
Wrth butteindra yn lladd ei enaid.[N]

26.
Er na fynnai'r Phariseaid,
Ladd y sawl ammharchai henafiaid,
Etto mynnent ladd er hynny
'R wraig y fyddai'n godinebu.[O]

27.
Cyfraith Duw sy'n gaeth yn erchi,
Yn ddi-ffafar ladd â meini
Y gwr a'r wraig a odinebo ;[P]
Mae godineb yn gas ganddo.

28.
Mae'r godineb brwnt mor ffinion,[Q]
O flaen Duw a'i holl angylion,
Ag na fynn i neb o'r brodyr
Fwytta ynghyd a'r godinebwyr.[R]

[N] Diar. 7. 22. [O] 1 Cor. 16. 18. Eph. 5. 5, 6. [P] *Torment*, poeni. [Q] *Broil*, pobi, golosgi. [R] *Villain*, dyhiryn, dyn diras. [S] Hawddgar, carladus. [T] Yn dy ol. [U] Gen. 25. 29—34. [V] Gofalu am. [W] Fyddech. [X] Rhian, llances. [Y] 1 Cor. 6. 15. [Z] 1 Thes. 4. 3 4. [A] Ammharchu, halogi. [B] Godineb rhwng y perthynasau gwaharddedig. Lef. pen. 20. [C] Gen. pen. 6 a 19. [D] Poeni, gofidio. [E] Yn wastadol, bob amser. [F] Diar. 5. 5, 8—11. 1 Cor. 6. 9, 10. [G] *Stain*, diwyno. [H] Yn gyffredinol. [I] Gyrru. [J] Flam. [K] Tra phechadurus. [L] Mat. 5. 31, 32. [M] *Murderer*, lleiddiad dyn. [N] Diar. 6. 30—32. [O] Ioan 8. 4, 5. [P] Lef. 20. 10. [Q] Ffiaidd. [R] 1 Cor. 5. 11.

29.
Mae mor ffinion, mae mor ffiaidd,
Ac na fynn y 'Sgrythyr sanctaidd,
Unwaith enwi peth mor fudyr,[S]
Chwaithach arfer idd ei wneuthur.

30.
Crist sy'n erchi cadw'r llygad
Rhag y cyfryw bechod anllad;[T]
Mynych trwy ffenestri'r llygaid
Y mae hwn yn lladd yr enaid.

31.
Cyn trachwantech un wraig wen,
Tynn dy lygad ffwrdd o'th ben,
'R hwn na ffrwyna lygad wantan,[U]
Yn nhân uffern y caiff frwylian.

32.
Y mae'r pechod hwn mewn calon,
O flaen Duw yn bechod creulon,
Er na ddelo byth mewn gweithred,
Mae â'i chwant yn lladd yr enaid.[V]

## LVII.—CYNGOR I'R MEDDWYN.

1.
Os meddwyn wyt, yn arfer chwilio,[A]
Gwin, a chwrw, a thobacco,
Llef am ras ar Dduw yn fuan,
I orchfygu meddwdod aflan.

2.
Os cwympaist yn y wins[B] o feddwdod,
Llef am gymhorth oddi uchod;
Ni all dyn, na diawl, nac angel,
Godi o'r wins y cyfryw 'nifail.

3.
Nid â'r cythraul meddw o'r growyn,[C]
Mwy na'r cythraul mud o'r plentyn,
Nes del Crist a'i nefol Yspryd,
I'w droi maes drwy weddi ac ympryd.[D]

4.
O gweddïa dithau'n wastod[E]
Am gael nerth yn erbyn meddwdod,
Ac ymprydia rhag gormoddion,[F]
A rhag tramwy lle bo'r meddwon.

5.
Nid gwell meddwyn er gweddïo,
Heb ochelyd ac ymprydio;
Gweddi ac ympryd sydd yn groyw
Yn gorchfygu'r cythraul meddw.

6.
Os gweddïi'n erbyn meddwdod,
Ac heb wag'lyd[G] teiau'r ddiod,
Ni thâl gweddi, i ti ddimmai,
Eisiau gwag'lyd y tafarnau.

7.
Dannedd llew yw dannedd meddwdod,
Ni chyll ei ddant e'i graff[H] o honod,
Nes del Crist, y llew di-ofan,
I 'sigo ei siol,[I] a'th dynnu o'i safan.

8.
Ni ddaw march o'r ffos lle soddo,
Nes del chwech neu saith i'w lusgo;
Ni ddaw dyn o'i feddwdod aflan,
Nes del Crist i'w lusgo allan.

9.
Na chymmell neb i yfed gormod,[J]
Yfed pawb ei raid o'r ddiod;
Os mynn un feddwi megis ci,
Meddwed ef, na feddwa di.

10.
Rho barch i'th well os de'i i'w plith,
Trwy barchu'r fol[K] heb yfed rhith;
Os perchi'r gŵr trwy chwiffio'r cwppan,
Wrth barchu'th ffrind,[L] di ammharch-
i'th hunan.

11.
Iechyd trist, ac iechyd afiach,
Yw yfed iechyd a'th wna'n glafach;
Byth ni pharchaf iechyd un
A waetho'm iechyd i fy hun.

12.
Rhai sy'n chwerthin am fy mhen,
Am fod yn sobor, heb fawr chwen,[M]
Minnau'n wylo'r dagrau hallton,
Wel'd pob rhai o'r rhain yn feddwon.[N]

13.
Y meddw chwarddodd am fy mod
Yn cadw 'ngheiniog yn fy nghod,
Yn awr sy'n wylo'r dw'r yn frwd,
Wrth fegian[O] ceiniog fach o'm cwd.

14.
Er mwyn Iesu gochel feddwdod,
Gwaeth yw hwn nag unrhyw bechod,
Mae'n troi dyn ar lun y cythraul,
Ugain gwaeth nag un anifail.

[S] Brwnt, aflan. Eph. 5. 3. [T] Mat. 5. 28. 29. [U] *Wanton*, anllad. [V] Mat. 5. 28.

[A] *Quaff*, yfed.—Sonia yr Awdwr mewn man arall am "yfed tobacco," o herwydd bod dynion yn sugno ei fwg i'w genau. [B] *Winch*, pydew, ffynnon ddofn. [C] Cylla. [D] Mat. 9. 25—29. [E] Yn barhaus. [F] Gormodedd. [G] Gochelyd. [H] Gafael. [I] Pen. [J] Hab. 2. 15. [K] *Bowl*, llestr. [L] *Friend*, cyfaill. [M] Digrifwch. [N] Psalm 119. 136. [O] *Beg*, deisyf, cardotta.

15.

Tynn o'r dafarn, gochel feddwdod,
Na chais fyn'd yn drech na'r ddiod,
Ni ch'as[P] un o'r trecha' arni,
Ond y giliai'n ebrwydd rhagddi.

16.

Alexander[Q] a gongcwerodd[R]
Yr holl fyd,[S] y ffordd y cerddodd,
Ond y ddiod yn dra 'sgeler
A gongcwerodd Alexander.[T]

17.

Gwell yw diangc nag ymdrechu,
Gwell yw cilio nag ymdynnu,[U]
Gwell rhoi'r goreu i'r hwrswn[V] cwrw,
Nag ymostwng iddo'n feddw.

18.

Treiaist,[W] feddwyn, dy rym ddengwaith,
Cwympaist dan y ddiod ganwaith;
Oni chym'ri'r traed[X] oddi wrthi,
Hi rŷ etto gwdwm iti.

19.

Rhai fynn 'maflyd cwymp[Y] â'r cwrw,
A myn'd yn drech na'r ddiod loyw;
Ni 'bu 'rioed y ga's y trechaf,
Ond y giliai 'ddiwrthi'n gyntaf.

20.

O de'i at dân fe lysg dy grimpau,[Z]
O de'i at sarph hi frath dy sodlau,
O de'i at byg,[A] ond cwrdd fe'th 'nurdda,[B]
O de'i at ddiod gref hi'th feddwa.

21.

Cil rhag sarph rhag iddi'th frathu,
Cil rhag plag[C] rhag iddo'th 'nafu,[D]
Cil rhag tân rhag iddo'th losgi,
Cil rhag gwin rhag iddo'th feddwi.

22.

O holl slafiaid[E] y byd yma,
Caetha' slaf yw slaf i fola,
Ni chais hwn tra bywyd gantho,
Ond ei fol yn feistr iddo.

23.

F'â'r meddw i'r inn[F] yn gall, yn gwmpli,[G]
Fe ddaw maes heb gof, heb gyfri;
F'â mewn fel dyn, f'â maes fel 'nifail,
Fe chwyd fel ci, fe roch fel cythraul.

24.

F' ollwng meddwyn Dduw a'i ddoniau,
Tai a thir i fyn'd i chwarau,[H]
Fe geidw ei afael ar bob sini'[I]
Fe gyll ei hun, a'i gof, a'i gyfri'.

25.

Gynt ni feddwai ond bedlemmaid,[J]
A'r rhai gwaethaf o'r begeriaid;[K]
'N awr ni chaiff bedlemmaid tlodion,
Le i feddwi gan fon'ddigion.

26.

Brwnt gwel'd barnwr mewn anhemper,[L]
Neu bendefig draw'n y gwtter,[M]
Brwnt gwel'd cawr yn slaf i'r cwrw,
Brwnta' i gyd gwel'd 'ffeiriad meddw.

27.

Cyfraith dda oedd dodi meddwon,
Fel plant bychain, dan 'drycholion;[N]
Os ni fedrent fwy na bechgyn,
Drefnu[O] eu hun, na threfnu eu lifin.[P]

28.

Nid oes rheswm na naturiaeth,[Q]
Gan y meddw i drin ei arfaeth,[R]
Eisiau un o'r rhai'n i'w arail,
Gwaeth yw'r meddw na'r anifail.

29.

Blin na feder undyn meddw
Ei reoli'i hun yn hoyw,
Och! na gadael i neb arall
Lwyr reoli'r meddwyn anghall.

30.

Gwae, medd Duw, y dyn a gotto,[S]
Y boreu glas ddydd i gwnpnio,[T]
Ac arhoso gyda'r ddiod
Nes ennynir ef gan feddwdod.

31.

Y mae uffern booth, a Satan,
Yn lledanu ar led eu safan,[U]
Ac yn chwennych llyngcu'r meddw,
Yn ei feddwdod cyn bo marw.

32.

Gwae fo cryf i chwiffio cwrw,
Ac i gymmysg diod loyw;
Ni âd Duw na gwraidd na himpyn,
Heb ei difa i'r fath feddwyn.[V]

[P] Ni chafodd. [Q] Alexander fawr, brenhin Macedonia, yng Ngroeg. [R] *Conquer*, gorchfygu, goresgyn. [S] Yr holl fyd adnabyddus yn yr amser hwnnw. [T] Dywedir mai yn unlongyrchol ar ol yfed yn anghymmedrol y bu Alexander farw. [U] Cyndynnu, ymryson. [V] *Whoreson*, enw ammharchus—mab gast. [W] Profaist, mynnaist wybod. [X] Oni ffoi. [Y] Ymgodymmu. [Z] Crimmogau, blaenau bysedd. [A] *Pitch*. [B] Anurddo, gwneuthur yn aflan. [C] *Plague*, haint. [D] Niweidio, dinystrio. [E] *Slaves*, caethweision. [F] Gwesty, tafarndy. [G] *Complaisant*, moesgar. [H] Diar. 23. 20, 21. [I] "Benyw ofer."—Hen esponwyr. [J] *Bedlams*, gwallgofion, a gedwid yn yspytty Bethlehem, yn Llundain. [K] *Beggars*, cardottwyr. [L] *Out of temper*, mewn natur ddrwg. [M] *Gutter*, ffos, rhedfa dwfr. [N] Edrychollon, golygwyr, ymgeleddwyr, *trustees*. [O] "Ordro eu hun nac ordro eu lifing." S. Hughes. [P] *Living*, bywioliaeth. [Q] Amcan, bwriad. [R] Gofalu am, bugeilio. [S] A gyfodo. [T] Esay 5. 11. [U] Esay 5. 14. [V] Esay 5. 22, 21.

33.
Gwae ro ddiod gref i feddwi
Ei gymmydog, i'w ddinoethi,[W]
Mae Duw'n digio wrtho'n llidiog,
Am ladd enaid ei gymmydog.

34.
Tynn ar frys o'r gors o feddwdod,
Rhag dy lyngcu yn ammharod;
O hir aros ar draeth sugyn,[X]
Llwyr hi'th lwngc tra f'ech[Y] yn 'rofyn.[Z]

35.
Pob pechadur a gais guddio
Faint o feiau a fo arno,
Ond y meddw fynn ddinoethi
A datguddio ei holl frynti.

36.
Adda geisiodd guddio'n garcus[A]
Ei droseddau â dail ffigys,[B]
Noe y fynnai lwyr ddatguddio
Yn ei feddwdod faint oedd ganddo.[C]

37.
Crist sy'n gwa'rdd i Gristion fwytta
Gyda'r meddw glwth ei fola,[D]
Ac ymgadw rhag d'od atto,[E]
Fel rhag dyn â'r cowyn arno.[F]

38.
Fel y gyrr y mŵg o'r llester
Yr holl wenyn o'u hesmwythder,
Felly gyrr y meddwdod aflan
Ras a dawn o'r galon allan.

39.
Ni bu, meddant, frenhin Babel
Ond saith mlynedd ar lun 'nifail;[G]
Y mae'r meddw ar lun mochyn
Hwy na hwnnw lawer blwyddyn.

40.
Einioes ferr a chylla afiach,
Lletty llwm a drwg gyfeillach,[H]
Coppa twnn,[I] a siacced[J] frattog,[K]
Y gaiff meddwyn yn lle cyflog.

41.
Fe werth meddwyn dref ei dad,[L]
A'r maint y fedd o fraint yn rhad,[M]
A phob 'nifail sy'n ei helw;[N]
Gwerth ei grys i brynu'r cwrw!

42.
Fe 'medy'r meddw â'i holl bethau,
A'i aur, a'i arian, a'i drysorau,
Ei dai, ei dir, ei blant, a'i briod,
Ond ni 'medy byth â'i feddwdod.

43.
Gwir Dduw'r meddw ydyw Bachws,[O]
Tafarn hwydlyd[P] yw ei eglwys,
Gwraig y dafarn yw ei 'ffeiriad,
Y pot[Q] a'r bib yw ei gyfnesiad.[R]

44.
Bydd di sobr tr'ech[S] yn fachgen,
Nâ'd i'r bol yspeilio'r cefen,
N'âd i afraid ie'ngctid hala[T]
Bol, mewn henaint, i gardotta.

45.
Cyfraith Duw a fynn labyddio
Pob oferddyn ag a feddwo,[U]
I ddiwreiddio'r cyfryw frynti,
Ac i rwystro i eraill feddwi.

46.
Fe ddaw Crist yn chwyrn heb wybod
Ar ddyn meddw i ddial meddwdod,
Fe'i gwahana, fe'i rhŷ i orwedd
Mewn tân poeth i ringcian dannedd.[V]

47.
Duw ro ras i bob rhyw Gristion,
Yfed deigryn[W] lai na digon,
Cyn yr yfo fwy na'i gyfraid,
I ladd ei gorph, i ddamnio'i enaid.[X]

## LVIII.—CAN YNGHYLCH Y DIAWL A'R MEDDWON.[A]

1.
Y CYTHRAUL twyllodrus
Sy beunydd heb orphwys
Yn ceisio'n ofalus ein twyllo,
I wneuthur pechodau,
Pob amryw o feiau;
Duw gatwo'n heneidiau ni rhagddo.

[W] Hab. 2. 15. [X] Sugn-draeth, *(quicksand,)* lle peryglus yn y môr. [Y] Tra fyddech. [Z] Oedi, meddwl myned. [A] *Careful,* gofalus. [B] Gen. 3. 7. [C] Gen. 9. 21. [D] 1 Cor. 5. 11. [E] 1 Thes. 3. 6. [F] Chwarren, pla. [G] Dan. 4. 32. [H] Diar. 23. 29, 30. [I] Pen briw. [J] *Jacket,* hugan, gwisg. [K] Carpiog. [L] Treftadaeth, etifeddiaeth. [M] Am ychydig. [N] Yn ei feddiant. [O] *Bacchus;* efe a ystyrid yn dduw y gwin, ac yn noddwr meddwdod, ym mhlith y Groegiaid a'r Rhufeiniaid paganaidd. [P] Chwydlyd. [Q] *Pot,* llestr, cwppan. [R] Perthynasau agosaf. [S] Tra fyddech. [T] Gyrru. [U] Deut. 21. 18—21. [V] Luc 12. 45, 46. [W] Diferyn. [X] 1 Cor. 6. 9, 10.

[A] Yn ei Rhagymadrodd at y Darllenydd, y mae Stephen Hughes yn dywedyd ei fod yn ammeu mai nid gwaith y Ficer yw y Gân hon, er ei fod yn cyfaddef fod "Coppy yn y wlad yn dywedyd mai efe yw'r Awdwr;" a'i reswm dros ei ammheuaeth a roddir ganddo fel hyn;—"Er fod ynddi rai o gynheddfau'r meddwon wedi eu dodi maes, etto nid oes yno fawr o resymau yn erbyn y pechod cas

2.
Fel y bydd cysgod
Ar ddisglaer ddiwrnod
I'n dilyn yn wastod [B] wrth rodio,
Felly mae yntau
Yn dilyn ein sodlau,
Yn gosod ei faglau i'n cwympo.

3.
Duw gatwo bob Cristion
Rhag Satan anghyfion,
O 'wyllys fy nghalon 'r wyn ceisio
Cael dwyn ein heneidiau
Oddiwrth bob rhyw feiau,
O uffern [C] a'i phoenau, a'u rhwystro.

4.
Meddwdod yw'r gorau
A'r pennaf o'r rhwydau,
O honno mae'r beiau yn himpio,[D]
Tyngu, putteindra,
Gloddineb,[E] lledratta.
Ac ymladd yw'r mwya' fydd ynddo.

5.
Lle bo mawr gyn'lleidfa
Fe gân y dantara,[F]
Gyfeillion dewch yma i gwmnio[G]
I'w hala hi'n fuan
Drwy'r ffenestr allan;[H]
Mi fyddaf fy hunan yn campo.[I]

6.
Ac yno hwy ddawan [J]
Fel sawdwyrs [K] yn fuan,
I'r man lle bo Satan yn ceisio;
I gym'ryd eu hafraid,
Heb garco [L] yr enaid,
A llawer o'r gweiniaid fydd hebddo.

7.
Dechreuant yn llonydd,
Fel haulwen foreu-ddydd,
Nes cwnnu [M] tes blennydd [N] a thwymo;
Y ddau-rudd y gocha,
Y tafod y floesga,
Y ddau droed y flina â rhodio.

8.
'Nol darffo iddynt yfed,
Yn barod i fyned,
Fy'm hostess [O] a'm henaid moes etto,
Llanw di'r pottau [P]
Yn llawn o'r un gorau,
Ni awn ni i ddechreu carowsio.[Q]

9.
Bellach moes yma
Y ddalen o'r India,
A'i henw hi'n benna' tobacco,
Pibell a thewyn [R]
Neu'r ganwyll i'w ennyn,
N'âd orfod eu gofyn hwy etto.

10.
Ysgadan moes bellach,
Neu gig y fo halltach,
Yspardun cyfeddach,[S] y baro
Ei hyfed hi'n hoyw,[T]
Nes bo rhai yn feddw,
A darfod y cwrw a'i spendio.[U]

11.
Yno bydd dwndwr,
A briwio gwr llwfwr,
Oni bydd ei gwmnïwr i g'rowsio,
Gelwch yn galed,
Na spariwch [V] ag yfed
Na chwrw, na chlared,[W] lle bytho.

12.
Rhai sy'n ei fwrw,[X]
Rhai sy'n ei gadw,
A rhai sydd yn arw'n ei sipio;[Y]
Rhai yn eu Saisoneg,
A rhai yn ei Ffrangaeg,
A rhai yn Wyddelaeg yn pleidio.[Z]

13.
Rhai sydd yn tyngu,
A rhai yn cynhennu,
A'r cythraul yn gwenu'n eu hawntio;[A]
Atto, f eneidiau,
O ceisiwch eich arfau,
Ni raid i chwi odde' dim gantho.

hwnw; yr hyn beth sydd anarferedig yngwaith yr Awdwr; yr hwn oedd yn Scrifennu nid fel ffôl, ond fel un a allai roddi rheswm am y peth yr oedd efe yn ddywedyd." Er atteb yr wrthddadl hon, ef allai y byddai yn ddigon sylwi, fod yr Awdwr, yn ei "Gynghor i'r Meddwyn," ac mewn mannau eraill, wedi rhoddi rhesymau yn ol ei ddull arferol, ac y gallai ei fod, yn y Gân hon, yn amcanu cymmeryd llwybr arall i argyhoeddi y meddwon, drwy dynnu darluniad diystyrllyd a gwawdlyd o'u cyfarfodydd llygredig. Heblaw hynny, achwyna S. Hughes, yn yr un lle, bod "*Hil Adda*, yn anmherffaith yn yr holl gopyon" a welodd ef; a chan fod y Gân honno wedi ei chyhoeddi yn berffeithiach a chyflawnach gan Rhys Tomas, o Ysgrif yr Awdwr ei hun, tebygol yw fod ganddo sicrwydd mai ei waith ef ydoedd hon hefyd, cyn y buasai yn ei gosod yn y llyfr, ar ol darllen yr ammheuaeth; gan ei fod yn ei Ragymadrodd, yn dangos ei ofal i beidio cyhoeddi dim ond gwir waith y Ficer. Hefyd, y mae ffordd neillduol y Ficer o brydyddu ar y mesur hwn, a'r amgylchiad fod holl benillion y Gan hon yn terfynu yn *o*, fel y mae rhai "Hil Adda" yn *a*, yn brawf ychwanegol mai ei waith ef yw hon. [B] Yn wastad, o hyd. [C] "Allan o gyflwr o golledigaeth."—S. Hughes. [D] *Imp*, tarddu, egino. [E] Glythineb, anghymmedroldeb mewn bwytta. [F] *Taratantara*, canu udgorn, neu guro tabwrdd, er galw milwyr i frwydr, a'u hannog i ymladd. [G] *Company*, i ymgyfeillachu. [H] I wastraffu y cwbl. [I] Chwareu. [J] Hwy a ddeuant. [K] *Soldiers*, milwyr. [L] *Care*, gofalu am. [M] Cyfodi. [N] Tes ysplenydd, llewyrch disglaer yr haul.—"Tes glennydd."—S. Hughes. [O] *Hostess*, gwraig y tŷ. [P] *Pots*, llestri, cwppanau. [Q] *Carouse*, yfed yn anghymmedrol. [R] Pren yn llosgi. [S] Cyd-yfed. [T] Llawen, calonnog. [U] *Spend*, difa. [V] *Spare*, arbed. [W] *Claret*, math o win. [X] Chwydu. [Y] *Sip*, yfed, llymeitian. [Z] *Plead*, ymddadleu. [A] *Haunt*, mynych gyrchu attynt i'w hannog.

14.

Yno bydd cleisiau,
Ond odid g'lanastrau,[B]
Anhapus[C] yw'r chwareu lle bytho
Y cythraul cynfigenus,
Y bradwr hoccedus,[D]
Anghenfil anghenus lle delo.

15.

Nid oes neb heb feiau,
Ond llawn o bechodau,
Nid ydyw'r rhai goreu yn scapo,[E]
Na bo nhwy'n rhy ufudd
Yn fyw fai a'i gilydd,
Yn dilyn lleferydd y cadno.[F]

16.

O Arglwydd gorucha', rho ras i ni wella,
A chadw blant Adda rhag llithro;
Maddeu'n pechodau, a dwg ein heneidiau
I'r man lle by'ch[G] dithau'n gorphwyso.

## LIX.—RHYBUDD I DDYN I YMGADW RHAG LLETYA MEDDYLIAU DRWG YN EI GALON, AC I ROESAWI MEDDYLIAU DAIONUS.

1.

Mae holl feddwl dyn ysowaeth,[A]
Gwedi'i lygru wrth naturiaeth,
Ni fyfyria ond drygioni,[B]
Nes y darffo ei ail-eni.

2.

Nid oes dyn a all fyfyrio
Meddwl da, gwneud oreu ag allo,
Nes cael gallu Duw a'i radau,[C]
I gyf'rwyddo ei feddyliau.

3.

O gweddia'n daer gan hynny,
Ar i'r Arglwydd adnewyddu
Dy feddyliau a'th amcanion,
I fyfyrio ar yr union.[D]

4.

Felly denfyn Duw ei Yspryd,[E]
I oleuo dy feddylfryd,
Ac i newid dy feddyliau
I fwriadu'r hyn sydd oreu.

5.

N'âd i feddwl drwg lettya
Yn dy galon, rhag dy ddifa;
Gwas yn ceisio lletty i Satan,
Bob yr awr, yw'r meddwl aflan.

6.

Dod dy feddwl a'th fyfyrdod,
Ar y pethau sydd oddi uchod,
Lle mae Crist, dy Brynwr hygar
Nid ar bethau s'ar y ddaear.[F]

7.

Rho dy fryd ar bethau nefol,
Ac na sercha dim daearol;[G]
Meddwl am y wlad y gorfydd
Aros ynddi yn dragywydd.

8.

Meddwl am y pethau brynodd
Crist, â'i waed,[H] it' yn y nefoedd,
Heddwch Duw,[I] a choron hyfryd,[J]
Teyrnas hardd, a didrangc[K] fywyd.

9.

Meddwl dy fod, tra fe'ch[L] byw,
Bob yr awr yng ngolwg Duw,[M]
A bod Duw yn gwel'd d'ymddygiad.
Ym mhob man â chil ei lygad.

10.

Meddwl fod y gelyn gwaedlyd,
Ddydd a nos, fel llew newynllyd,[N]
Yn troi 'ddautu i'th orweddfa,[O]
Bob yr awr yn ceisio'th ddifa.

11.

Meddwl am reoli d'eiriau,
A'th weithredoedd, a'th feddyliau,
Wrth fodd Duw, rhag iddynt beri
Gwasgfa i'th enaid, ddydd dy gyfri'.

12.

Meddwl fel y daw dy Brynwr,
Ar y cwmmwl[P] 'chwareu'r Barnwr,[Q]
Ac ymg'weiria[R] i'w gyfarfod,
Fel priod-ferch gwrdd â'i phriod.

13.

Meddwl fal y gorfydd rhoddi,
Ddydd y farn, mor fanol gyfri',[S]
Am y meddwl drwg a'r bwriad,
Ag y roir am weithred anllad.[T]

14.

Meddwl fal yr awn oddi yma
I tŷ priddlyd am y cynta';
Mewn cwd canfas,[U] heb un beni,[V]
Pe bai ini rent[W] arglwyddi.[X]

[B] Niweidiau mawrion, lladdiadau. [C] *Unhappy*, anedwydd. [D] Twyllodrus. [E] *Escape*, diangc. [F] Y diafol. [G] Y byddech.

[A] Ysywaeth, fel y mae gwaethaf. [B] Gen. 6. 5. [C] 2 Cor. 3. 5. [D] Psalm 51. 10. [E] Jer. 4. 14. Diar. 6. 18. [F] Col. 3. 1, 2. 1 Petr 3. 22. [G] Mat. 6. 20, 21. Luc 12. 33, 34. [H] Eph. 1. 7. [I] Rhuf. 5. 1, 10. Col. 1. 20. [J] 1 Petr 5. 4. [K] Diddiwedd, tragwyddol. [L] Tra fyddech. [M] Psalm 139. 1—13. [N] 1 Petr 5. 1. [O] Mat. 13. 25. [P] Dat. 1. 7. Mat. 24. 30. [Q] I wneuthur barn. [R] Ymbarottoa. Mat. 25. 10. [S] Rhuf. 14. 12. [T] Preg. 12. 14. Rhuf. 2. 16. [U] *Canvass*. math o liain—mewn amdo. [V] *Penny*, ceiniog. [W] *Rent*, ardreth, cyfoeth. [X] Job 1. 21. Preg. 5. 15.

15.
Meddwl fod yr angau aethlyd,
Ar farch glas[Y] yn gyrru'n ynfyd,
Fel na ddichon hen nac ieuangc
Rhag ei saeth a'i ddyrnod ddiangc.[Z]

16.
Meddwl hefyd y daw angau
Megis lleidr am ein pennau,[A]
Heb un udgorn i'n rhybuddio,
Yn ddi-ymgais i'n anrheithio.

17.
Meddwl nad yw bywyd undyn
Ond fel bwmbwl[B] ar y llynwyn,[C]
Neu fel padell bridd[D] neu wydr,
'R hwn yn hawdd a dyrr yn glechdyr.[E]

18.
Meddwl fal y rhed ein heinio's
Megis llong dan hwyl, heb aros,[F]
Ac y derfydd am ein hamser,
Cyn in' dybied dreilio'i hanner.[G]

19.
Meddwl fod y byd yn gado
Pawb yn llwm i fyn'd o hono,[H]
Ac fel iâ yn torri danynt,
Pan bo rheita'i gymhorth iddynt.

20.
Meddwl na ddaw aur nac arian,
Tai na thir o'r droedfedd fechan,[I]
Gyda neb i fyn'd i'r frawdle,[J]
I roi cyfrif am eu beiau.

21.
Meddwl pan y delo angau,
Gorfydd gado'r byd a'i bethau,
A myn'd o flaen Crist yn wisgi,
Am y cwbwl i roi cyfri'.

22.
Meddwl fel y bydd dy dlysau,
A'th holl olud, a'th holl swyddau,
Yn ymofyn newydd feistri,[K]
Cyn y caffech gwbl oeri.

23.
Meddwl dosted y fydd pechod
Yn dolurio dy gydwybod,[L]
Pan y tafler yn dy ddannedd,[M]
Ddydd y farn, dy holl anwiredd.[N]

24.
Meddwl fal y gorfydd rhoddi
Ddydd y farn i'r Arglwydd gyfri',
Am bob gweithred ddrwg y wnelom,[O]
A'r gair ofer ag a dd'wedom.[P]

25.
Meddwl fel y bydd gwŷr gwychion,
Sydd heb ofni Duw na dynion,
Ddydd y farn yn crïo'n 'sgymmun
Am i'r creigiau gwympo arnyn'.[Q]

26.
Meddwl fal y bydd y duwiol,
Yn y nef mewn braint ragorol,
Yn clodfori Duw gorucha',[R]
Pan bo eraill yn Gehenna.[S]

27.
Meddwl fal y mae'r annuwiol
Yn ymdroi mewn tân uffernol,[T]
A'r pryf didrangc[U] yn eu bwytta
Bob yr awr, heb gael ei wala.[V]

28.
Meddwl am hyn, a dibrisia
Y byd hwn, a'i wagedd mwya',[W]
A myfyria, trwy wir grefydd,
Ar air Duw, a'r byd na dderfydd.[X]

## YR AIL RAN.[A]

1.
MEDDWL dyn a red heb orphwys
Ar y drwg neu'r da gyrhaeddwys,
Oni chaiff beth da i fyfyrio,
Ar y drwg fe red tra gantho.

2.
Meddwl dyn fel maen y felin,
Y dreulia ei hun nos myn'd yn gilyn;[B]
Oni roir rhyw rinwedd dano
Idd ei dalu a'i fyfyrio.

3.
Meddwl weithio'r gwaith y bwyntiodd[C]
Dy Greawdwr, pan y'th greodd,
A'i was'naethu a'th holl bwer,[D]
Yn dy alwad tra c'ech[E] amser.

4.
Meddwl mai gwell un diwrnod[F]
Y gwas'naethu'r sanctaidd Drindod,
Na'th holl ddyddiau, â'th holl oesach,[G]
Yn gwas'naethu dim amgenach.

[Y] Dat. 6. 8. [Z] Heb. 9. 27. Rhuf. 5. 12. [A] 1 Thes. 5. 2. Preg. 9. 12. [B] *Bubble*; cloch ddwfr, 'llygad yr ych." [C] Iago 4. 14. [D] Job 7. 6, 7. [E] Yn yfflon, yn ddarnau. [F] Job 9. 25, 26. [G] Psalm 90. 5, 6. [H] 1 Ioan 2. 17. Preg. 5. 15. [I] Psalm 49. 17. [J] Lle barn. 2 Cor. 5. 10. [K] Psalm 39. 6. [L] Luc 20. 26. [M] Pan yr edliwir iti. [N] Dat. 20. 12. [O] Preg. 12. 14. [P] Mat. 12. 36. [Q] Dat. 6. 15, 16. Hos. 10. 8. Luc 23. 30. [R] Dat. 7. 9–17. [S] Uffern. [T] Luc 16. 23. Dat. 21. 8 [U] Diddarfod. Marc 9. 44. [V] Digon. [W] 1 Ioan 2. 15. [X] Col. 3. 2.

[A] Nid oes rhaniad yma yn yr argraphiadau cyntaf. [B] Darn bychan. [C] *Appoint*, trefnu, gosod. [D] *Power*, gallu, nerth. [E] Tra y caech. [F] Psalm 84. 10. [G] Einioes fer.

5.
Meddwl cyn y gwnelech bechod,
P'wedd attebi, ddydd dy drallod,
A pha fodd y gelli ddiangc[H]
Ddydd y farn, rhag angau didrangc?[I]

6.
Dod dy feddwl ar ddaioni,
N'âd ar wagedd iddo ymborthi,
Hawdd y gelli ei gyf'rwyddo,
Os mewn pryd y ceisi'i ffrwyno.[J]

7.
Hawdd yw diffodd y wreichionen,
Cyn y 'maflo'i yn y nen-bren;
Hawdd yw newid meddwl aflan,
Os gwrthnebir hwn yn fuan.[K]

8.
Tro gan hynny'n ebrwydd heibio,
Bob drwg feddwl pan ddechreuo,
Rhag i'r gelyn mawr ei hocced[L] [red.
Droi'r ddrwg feddwl i'r ddrwg weith-

9.
Lladd blant Babel[M] tra f'ont fechgyn,
Sang ar sarph tra fo'n ei phlisgyn,[N]
Tynn y gangren[O] cyn ei gwreiddio,
Torr ddrwg feddwl cyn cynhyddo.

10.
Gad wreichionen fach i gynnu
Yn dy dô, hi lysg dy letty;
Gad i feddwl drwg lettya
Yn dy galon,[P] fe'th anrheithia.[Q]

## Y DRYDEDD RAN.[A]

### MOR ENBYDUS YW MEDDWL YR ANNUWIOL.

1.
NA lettya feddwl aflan
Yn dy galon, mwy na Satan;
Os llettyi, 'r wyt ti'n derbyn
Harbinger[B] o flaen y gelyn.

2.
Rho dy fryd ar gadw'r gyfraith,
A byw wrthi yn ddi-ragrith;[C]
Ac na ollwng Duw o'th feddwl,
Ond bendithia am y cwbwl.

3.
Na fwriada ddrwg o'th galon,
I anrheithio dy gyd-Gristion,[D]
Mwrddrwr yw'r fath feddwl gwaed-
Gochel rhagddo er dy fywyd. [lyd,[E]

4.
Na thrachwanta wraig cymmydog,
Ac na hoffa'i llygad serchog,[F]
N'âd i'th feddwl redeg arni,
Can's godineb yw ei hoffi.[G]

5.
Gochel roi dy fryd na'th fwriad
Ar anrheithio un ymddifad;[H]
Trais a blin orthrymder yw,
Y cyfryw fwriad o flaen Duw.[I]

6.
Gochel chwennych aur nac arian,[J]
Tai, na thir, trwy dwyll, a chogan,[K]
Nid yw'r cyfryw chwant a bwriad,
Ger bron Duw, dim llai na lledrad.

7.
Rhwym dy feddwl,[L] n'âd e'i wibian,[M]
Ar oferedd, mawr na bychan,
Nac ar ddim na ellech roddi
Cownt[N] am dano ddydd dy ddidri.[O]

8.
Cadw'th galon rhag drwg fwriad,
Fel y cedwi'th law rhag lledrad;
Mae'n rhaid atteb y cyn gaethed,
Am ddrwg fwriad[P] a'r ddrwg weithred.

## LX.—CYNGHOR I LYWODRAETHU YMADRODD WRTH FODD DUW.

1.
BID dy eiriau yn wastadol
Yn Grist'nogaidd ac yn rasol,
Yn rhoi gras i'r holl wrandawyr,
Ac adeilad[A] tra chymmesur.

2.
Y mae bywyd, y mae angau,
Yn y tafod, yn y genau;[B]
Gochel dd'wedyd geiriau diriaid,[C]
Cadw d'enau, cedwi d'enaid.

[H] 1 Thes. 5. 3. [I] Tragwyddol. [J] Rheoli, llywodraethu. [K] Iago 4. 7. [L] Twyll, dichell. [M] Babilon. Psalm 137. 9. [N] Yn yr ŵy. [O] *Cangrene*, cangcr. [P] Iago 1. 15. [Q] Dinystrio.

[A] Nid oes rhaniad yma ychwaith yn argraphiad S. Hughes, ond nodir y testun ar ymyl y ddalen. [B] *Harbinger*, cennad i barrottoi lle. [C] Diragrith. [D] Lev. 19. 17. [E] Ioan 3. 15. [F] Exod. 20. 17. Gen. 12. 17. [G] Mat. 5. 28. [H] Exod. 22. 22. Zech. 7. 10. [I] Diar. 23. 10. 11. [J] 1 Tim. 6. 10. Exod. 20. 17. [K] *Cog*, ymddwyn yn dwyllodrus, gwenieithio. [L] Psalm 1. 2. Eccles. 6. 17. [M] Gwibio, crwydro. [N] *Count*, cyfrif. [O] Dyryswch, cyfyngder. [P] Preg. 12. 14. Rhuf. 2, 16,

[A] Eph. 4. 29. [B] Diar. 13. 3. [C] Drygionus, annuwiol.

3.
Dilyn d'Arglwydd yn dy eiriau,
Dywed fel y d'wedai yntau,
Ni ddaeth twyll na gair anweddaidd
Erioed i maes o'i enau sanctaidd.[D]

4.
Traetha'n bwyllog, gwrando'n esgud,[E]
Mae dwy glust, un tafod gennyd,
Aml eiriau[F] bair cyfeiliorni,
Ni ddaeth drwg i neb o dewi.

5.
Cyn y 'dwedech, meddwl ennyd
P'wedd[G] y mynn Mab Duw it' dd'wed- [yd[H]
Yno[I] dywed 'r hyn sydd rasol,
A da, i adail rhai anneddfol.[J]

6.
Na ddoed 'madrodd brwnt o'th enau,
Na gair ffol, na choeg ddigrifau;[K]
Senn, na ffrost,[L] na ffrwmp,[M] na chel- [wydd,
Ond bid[N] rasol dy leferydd.

7.
Cadw d'enaid rhag gair diriaid,
Felly gelli gadw d'enaid;
Oni ffrwyni dafod anwir,[O]
Yn ol d'eiriau y'th gondemnir.[P]

8.
Arfer iaith ac aeg[Q] gwlad Canaan,
Bid am Dduw a'i Air d'ymddiddan;[R]
Wrth dy eiriau y ceir gwybod
O ba wlad yr wyt yn hanffod.[S]

9.
N'âd i'th dafod arfer tyngu
Cig a gwaed yr Arglwydd Iesu,[T]
'R wyt ti'n damsing[U] gwaed y cym- [mod,[V]
Pan arferych gyfryw bechod.

10.
Am air Duw, nid oes it' yngan,[W]
Heb anrhydedd, parch, ac ofan;
Ac os cym'ri ei enw'n ofer,
Ti ei'n euog pan y'th farner.[X]

11.
Dywed beunydd leia' ag allech,
D'wed yn rasol pan y d'wedech;
Oni dd'wedai eiriau hyfryd,
Gwell it' dewi â sôn na d'wedyd.

12.
Gochel fod yn ddau dafodog,
Cas dan Dduw bob dyn celwyddog;[Y]
Tad y celwydd ydyw'r cythraul,[Z]
Gwas i'r diawl yw'r ffalst[A] ei chwedel.[B]

13.
Arfer draethu'r gwir o'th galon,[C]
Hoff yw gwir gan Dduw[D] a dynion;[E]
Ni chaiff dyn celwyddog gredu
Gair o wir, pan bo'n ei dyngu.

14.
Na chno undyn lwyr ei gefen,[F]
Ac nac arfer gair drwg-absen;
Gwaeth na chleddyf llym dau-finiog[G]
Ydyw enllib dyn celwyddog.

15.
Na ddwg dafod drwg anhappus,[H]
Gwaeth yw hwn na gwenwyn[I] lindys,[J]
Gwaeth na marwor poeth yn llosgi,[K]
Gwaeth na saethau un o'r cewri.

16.
Er fy mendith na lysenwa[L] [Raca;[N]
Neb yn rhwyl,[M] neu'n ffol, neu'n
'R hwn a alwo'i frawd yn lled-ffol,
Mae e'n haeddu tân uffernol.[O]

17.
Gochel adrodd faint y glywech,
Gochel dd'wedyd faint y wybech;
Dywed wir pan gorffo[P] ei draethu,
Nes bo rhaid, gwell weithiau'i gelu.

18.
Bydd ddeallgar pan ganmolech,
Bydd gwrteisiol[Q] pan gyfarthech,
Bydd gariadus wrth geryddu,[R]
Bydd drugarog wrth gyfrannu.

## XLI.—GWEDDI AM LYWODRAETHU EIN GEIRIAU A'R GENAU WRTH FODD DUW.

1.
Arglwydd, agor fy ngwefusedd,[A]
I foliannu'th Dduwiol fawredd,
A chyf'rwydda di fy nhafod,
I ddatganu maes dy fawr-glod.

2.
Llanw 'ngenau o'th wir foliant,
I'th fendithio am fy llwyddiant;[B]
A'th glodfori, Dad trugarog,
Yn y dyrfa fawr liosog.[C]

[D] 1 Petr 2. 21. [E] Diwyd, dyfal. Iago 1. 19. [F] Diar. 10. 19. [G] Pa fodd. [H] Mat. 5. 37. [I] Yna. [J] Drwg, anfucheddol. [K] Eph. 5. 4. [L] Ymffrost. [M] *Frump*, gwawd, gogan, dirmyg. [N] Bydded. [O] Psalm 39. 1. [P] Mat. 12. 37. [Q] Lleferydd. [R] Psalm 145. 1. 2. [S] Bod. Iago 1. 26. [T] Cyfeiriad, y mae yn debyg, at yr hen lw "*Zounds*," (*God's wounds*—myn clwyfau Duw,) a arferid gynt gan dyngwyr halogedig, ac a glywir weithiau etto gan rai na ddeallant ei ystyr. [U] Damsang, sathru. [V] Heb. 10. 20. [W] Sôn, siarad. [X] Exod. 20. 7. [Y] Diar. 6. 16, 17. [Z] Ioan 8. 44. [A] *False* gau, anwireddus. [B] Ymadrodd, hanes. [C] Zech. 8. 16. [D] Psalm 51. 6. [E] Psalm 101. 7. [F] *Backbite*,—Na ddywed yn ddrwg am neb yn ei absennoldeb. [G] Psalm 64. 3. [H] Diar. 4. 24. [I] Psalm 140. 3. [J] Pryfyn distrywgar. [K] Iago 3. 6. [L] Difenwi. [M] Yn yr hwyl—penboeth, penwan. [N] Dyn gwâg, di-ddaioni. [O] Mat. 5. 22 [P] Gorfyddo. [Q] *Courteous*, mwynaidd, serchog. 1 Petr 3. 8. [R] Lef. 19. 17. [A] Gwefusau. Psalm 51. 15. [B] Psalm 40. 9, 10. [C] Psalm 68. 28.

3.

Llunia 'ngeiriau, llywia[D] 'nhafod,
A chyf'rwydda fy myfyrdod;
Clo a datglo fy nwy wefus,[E]
N'âd fi draethu ond dy 'wyllys.

4.

Arglwydd, cadw ddrws fy ngenau,
N'âd fi draethu ffiaidd eiriau, [lledd,
Ffrwmp,[F] na ffrost,[G] na senn, na chab-
Geiriau ffol, na dim anwiredd.

5.

Bid [H] myfyrdod fy holl galon,
Bid fy ngweithred a'm hamcanion,
Bid fy ngeiriau oll yn ddi-ddrwg,
A chym'radwy yn dy olwg.[I]

## LXII.—CYNGHOR I DDYN FOD BOB AMSER O YMDDYGIAD CRIST'NOGAIDD.

1.

Bid d'ymddygiad yn Gris'nogaidd,
Yn gwrteisiol,[A] ac yn g'ruaidd,[B]
Ym mhob tyrfa 'delych iddi,
Megis plentyn i'r goleuni.[C]

2.

Bydd fel seren yn disgleirio,
Bydd fel canwyll yn goleuo,[D]
Bydd fel patrwn [E] o Grist'nogaeth,
I'r rhai ddelo i'th gwmnïaeth.

3.

Bydd dra sanctaidd i'r Galluog,[F]
Bydd yn union i'th gymmydog,[G]
Bydd yn sobr it' dy hunan,[H]
Dyna'r tri phwynt[I] rheitaf allan.

4.

Bydd mor ddi-ddrwg ag yw'r g'lommen,[J]
Bydd mor gall a'r sarph drachefen,
Bydd ddioddefgar fel y ddafad;
Hoff gan Grist y fath ymddygiad.[K]

5.

Bydd yn dempraidd [L] megis Daniel,[M]
Cadw'r cnawd mewn diet [N] isel,
Gochel win,[O] a bwyd rhy foethus,
Rhag dy fyn'd yn afreolus.

6.

Bydd yn ddiwair, nid yn anllad,[P]
Bydd fel Joseph [Q] yn d'ymddygiad;
'R wyt ti 'ngolwg Duw bob amser,
Bydd gan hynny lân a syber.

7.

Delia'n [R] union wrth fargena,[S]
Na thwyll undyn wrth farchnatta;
Duw ei hun sydd union Farnwr,[T]
Rhwng y gwirion plaen [U] a'r twyllwr.

8.

Bydd o ffydd a chrefydd union,[V]
Ofna Dduw o ddyfnder calon,[W]
Na wna ddrwg o flaen ei lygad,
Ym mhob man mae'n disgwyl [X] arnad,

9.

Dilyn gynghor doeth bregethwyr,[Y]
Ymddarostwng i'th reolwyr,[Z]
Bydd gariadus a'th gym'dogion,
Ac heddychol â phob Cristion.[A]

10.

Bydd dra grasol yn dy eiriau,[B]
Bydd yn fedrus yn dy chwedlau,
Bydd yn gywir yn dy bromais,[C]
Bydd ym mhob peth lân a llednais.[D]

11.

Bydd di berffaith [E] ym mhob tyrfa,
Bydd fel sant ym mhlith y gwaetha';
Er diffeithed y fo'r cwmni,
Bydd fel Noe ym mhlith y cewri.[F]

12.

Cyfarch bob dyn yn dra siriol,[G]
Gostwng i'th well [H] yn gwrteisiol,
Parcha'r henaint a'r awdurdod,[I]
A rho'r blaen i'th well yn wastod.

13.

Bydd ddioddefgar a chymmesur,
Na fydd boeth na thwymn dy natur.[J]
Goddef gamwedd cyn cynhenu;[K]
Y ddioddefodd, hwnnw orfu.[L]

14.

Ymddarostwng i'th oreuon;
Duw ei hun a wrthladd [M] feilchion,
Ac fe ddyry ras yn ystig,[N]
I'r rhai ufudd gostyngedig.[O]

[D] Llywodraetha. [E] Psalm 141. 3. [F] *Frump*, gogan, gwawd. [G] Ymffrost. [H] Bydded. [I] Psalm 19. 14. [A] *Courteous*, mwynaidd, boneddigaidd. [B] Caruaidd, serchog. [C] 1 Thes. 5. 5. [D] Phil. 2. 15. Mat. 5. 15. [E] *Pattern*, cynllun, esiampl. Phil. 3. 17. [F] Yr Hollalluog. 1 Petr i. 15. [G] Exod. 22. 14. [H] 1 Thes. 5. 6. [I] *Point*, pwngc. Titus 2. 12. [J] Mat. 10. 16. Luc 10. 3. [K] Mat. 12. 50. [L] *Temperate*, cymmedrol. [M] Dan. 1. 12. [N] *Diet*, ymborth. [O] Eph. 5. 16. [P] 1 Thes. 4. 3, 4. [Q] Gen. 39. 9, 12. [R] *Deal*, ymddwyn. [S] *Bargain*, cyttuno. [T] 1 Thes. 4. 6. [U] *Plain*, syml, di-ddichell. [V] Titus 2. 2. [W] Deut. 6. 13. [X] Edrych. [Y] Heb. 13. 17. [Z] 1 Petr 2. 7. [A] Rhuf. 12. 18. [B] Psalm 15. 3. [C] *Promise*, addewid. [D] Gostyngedig, arafaidd. [E] Mat. 5. 48. [F] Gen. 7. 1. [G] Rhuf. 16. 16. [H] Rhuf. 13. 1, 7. [I] Lef. 19. 32. [J] Col. 3. 8. [K] Mat. 5. 39. [L] Diar. 16. 32. [M] Gwrthwynebu. [N] Diwyd. [O] Iago 4. 6.

15.
Na falchïa am un rhinwedd,
Nac am gyfoeth ac anrhydedd,
Ond rho ddiolch prudd[P] am danynt,[Q]
Rhag i Dduw dy adael hebddynt.

16.
Bydd di gryno yn dy ddillad,[R]
Dos yn lân yn ol dy alwad;[S]
Torr dy bais yn ol dy bŵer,[T]
Na fydd goeg[U] na brwnt un amser.

17.
Gochel bechu er cwmnïaeth,[V]
Cyflog pechod yw marwolaeth,[W]
C'nifer gwaith y b'ech yn pechu,
C'nifer angau wyt yn haeddu.

18.
Mae cyfathrach,[X] er y dechreu,
Rhwng pob pechod brwnt ac angau,
Fel na ddichon undyn bechu,
Na bo angau yn ei lyngcu.[Y]

19.
Na fydd anllad yn dy chwedlau,
Na fydd aflan mewn cornelau;[Z]
Ym mhob cornel bid[A] d'ymddygiad,
Fal ped fait wrth groes[B] y farchnad.

20.
Os cais dyn, na diawl, nac angel
Gennyd bechu yn y dirgel,
Cofia fod Duw a saith llygad[C]
Ym mhob man yn disgwyl arnad.

21.
Er nad ydyw dyn yn gweled
Yn y dirgel lawer gweithred,
Y mae Duw yn gwel'd y cwbwl,[D]
Pan na bytho dyn yn meddwl.

22.
Os troseddi yn y dirgel,
Duw ddatguddia dy holl gwnsel,[E]
Ac y faneg[F] dy ymddygiad,
I'r byd, yng ngŵydd haul a lleuad.

23.
Gochel ddilyn drwg gwmnïaeth
Pobol anwir, ddi-Grist'nogaeth,[G]
Can's fe 'nyrdda[H] rhai'n d'ymddygiad.
Fel y 'nurdda pyg[I] dy ddillad.

24.
Fal yr hallta'r môr y granffo[J]
O'r dw'r croyw a ddel atto,
Felly 'nurdda pobl 'sgymmun,[K]
Foesau'r goreu ddelo attyn'.[L]

25.
Gochel neidr rhag dy frathu,
Gochel bla rhag dy ddifethu,
Ac o ceri iechydwriaeth,
Gochel ddilyn drwg gwmnïaeth.[M]

26.
Câr â'th galon bob dyn duwiol,[N]
Bydd gyfeillgar a rhinweddol;
Dilyn arfer y rhai doethion,
A ffieiddia'r annuwiolion.[O]

## LXIII.—CYNGHOR YNGHYLCH BWYTTA AC YFED.

1.
GOCHEL eiste' i lawr i fwytta,
Nes bendithio'r bwyd yn gynta';
Gochel godi pan eisteddech,
Nes rhoi diolch am y fwyttech.

2.
Crist ni fwyttai fara barlis,[A]
Chwaithach bwyd oedd well ei relis,[B]
Nes yn gyntaf ei fendithio,[C]
A rhoi mawl i'w Dad am dano.

3.
P'am y cytgam[D] un dyn fwytta
Bwyd, sy â'r felldith er cwymp Adda,
Nes yn gyntaf ei fendithio,
A gair Duw a gweddi drosto?[E]

4.
Tost yw gweled mor 'nifeilaidd,
Mor anneddfol, mor anweddaidd,
Y rhed llawer dyn i fwytta
Bwyd, fel buwch y red i'r borfa.

5.
Tostach yw eu gwel'd yn cwnnu[F]
Oddiar y ford, i fyn'd i gysgu,
Fel y moch o'r trwc[G] i'r dommen,
Heb roi diolch mwy na'r asen.

6.
Nid oes son am ras cyn bwytta,
Nac am fendith Duw goruchaf,
Nac am ddiolch gwedi'u porthi,
Mwy na'r moch y fai'n eu pesgi.

[P] Difrifol. [Q] 1 Thes. 5. 18. [R] 1 Tim. 2. 9. Esay 3. 16. [S] Galwedigaeth, sefyllfa. [T] Bydd fyw yn ol dy radd. [U] Balch. [V] *Company*, cyfeillach. [W] Rhuf. 6. 23. [X] Perthynas. [Y] Ezec. 18. 4. [Z] Eph. 5. 11, 12. Esay 29. 15. [A] Bydded. [B] Yn amser Pabyddiaeth, gosodid croesau i fynu, i'w haddoli gan y bobl, mewn marchnadoedd, a lleoedd eraill y byddai llawer o gynnulliad iddynt. [C] Zec. 4. 10. [D] Jer. 16. 17. [E] *Counsel*, cynghor, cyfrinach, 1 Cor. 4. 5. [F] A fynega. [G] 2 Thes. 3. 6. [H] Diwyno. [I] *Pitch*. [J] "A gyrhaeddo."—S. Hughes. [K] Melldigedig. [L] 1 Cor. 15. 33. [M] Psalm 26. 4, 5. [N] Psalm 119. 63. [O] Psalm 139. 21, 22.

[A] *Barley*, haidd. [B] *Relish*, blas. [C] Ioan 9. 6, 11. [D] Cynnyg, rhyfygu. [E] 1 Tim. 4. 4. [F] Cyfodi. [G] Llestr pren.

7.
Er bod Duw yn rhoi gorchymmyn
I bawb, yn ol torri'u newyn,
Roddi moliant ar yr eitha',[H]
I'r Duw mawr am lanw eu bola.[I]

8.
Gochel fwytta ond dy ddigon,
Na fydd chwannog i ddanteithion,[J]
Mwy na raid o ffâr[K] lysieulyd,
Bair i'r cnawd orchfygu'r yspryd.

9.
Os rhoi i'r cnawd fwy na'i gyfraid,
'R wyt ti'n porthi gelyn diriaid ;[L]
Os rhoi iddo lai na digon,
'R wyt ti'n lladd cydymaith ffyddlon.

10.
Nac yf ddiod tu hwnt i fesur,
Gronyn a was'naetha natur;
Diod gadarn sydd yn peri
I wyr nerthol gwympo dani.

11.
Gwin a wnaeth i Noe ymnoethi,[M]
Gwin a yrrodd Lot i ymlosgi,[N]
Gwin a dorrodd yddfau llawer,
Gwin orchfygodd Alexander.

12.
N'âd dy ford[O] yn fagl i ti,[P]
Trwy lothineb[Q] cas a swrthni,[R]
Rhag i'r gelyn du dy hela[S]
'Gablu Duw, yn llawn dy fola.

13.
Mae dau lygad yr uchedydd
Yn eu gwaith wrth fwytta ei fwydydd,
Un yn gwel'd ei ymborth hyfryd,
Llall yn gwarchad[T] rhag y barcud.

14.
Bid[U] dy lygad dithau'n waetan[V]
Ddydd a nos, rhag rhwydau Satan,
'R hwn a gais a'th fwyd dy faglu,
Wrth giniawa a swpperu.

15.
Pan bo'r ceiliog coch yn bwytta,
Bydd ei lygad hwnt ac yma,
Rhag i'r barcud llwyd ei 'sglufied,[W]
Tra fo'n bwytta heb feddylied.

16.
Felly bydded dy ddau lygad
Dithau, uwch dy fwyd yn gwyliad,
Un yn canfod dy Greawdwr,
Y llall yn gwarchad rhag y temptiwr.[X]

17.
Gochel fwytta dim a baro
I'th gyd-Gristion gwan dramgwyddo;
Y mae 'Sgrythyr lân yn gw'rafun[Y]
It' drwy fwyd dramgwyddo undyn.[Z]

18.
Na châr fwytta bwyd dy hunan,
Dyro ran i'r tlawd a'r truan,
Galw'r gwan i brofi'th ginio,
Rhanna â'r hwn heb dammaid gantho.[A]

19.
Ni chiniawai hen Dobïas[B]
Nes cai'r gweiniaid bach o gwmpas;
Ac ni chorphai[C] ddim danteithion,
Nes rhoi rhan i'r bobl dlodion.

20.
Job ni fwyttai fwyd yn felus
Nes bai'r ymddifaid wrth ei ystlys ;[D]
Ac ni byddai iach ei galon,
Nes rhoi cyfran i'r rhai tlodion.

21.
Galw dithau'r gweiniaid tlodion,
I gael cyfran o'th ddanteithion;
Felly gelwir dithau ar fyrder,
I gael rhan o'r nefol swpper.[E]

22.
Gochel rwgnach, ond bydd foddlon
I beth bynnag fo Duw'n ddanfon;
Bara a dw'r oedd ffâr ddigonol
Gynt, i'r Patriarchiaid[F] duwiol.

23.
Daniel bach a fyddai'n foddlon
Fwytta ffa a ffacpys duon ;[G]
A holl feibion y phrophwydi,
Cym'rent fara haidd i'w porthi.[H]

24.
P'am na byddwn ninnau'n foddlon
I beth bynnag fo Duw'n ddanfon ?
Bid ef lawer bid ef ronyn,
Trwy gael modd i dorri'n newyn.

25.
Fe fu'r Drindod sanctaidd[J] foddlon
'Wledda gydag Abram ffyddlon,
Ar gig llo, a llaeth, a 'menyn,
Bara twymn,[K] heb fwy o 'moethyn.[L]

26.
'Nawr nid oes gan bob ofer-ddyn,
Er cael bwyd i dorri newyn,
Oni bai cael chwech o seigiau,
Gwin a chann, i borthi'i chwantau.

H A'u holl galon. I Deut. 6. 11. 12. a 8. 10. J *Dainties*, melus fwydydd. K *Fare*, ymborth. L Drwg, creulon. M Gen. 9. 21. N Godinebu gyda'i ferched. Gen. 19. 43—46. O *Board*, bwrdd. P Psalm 69. 22. Hos. 13. 6. Q Glythineb, gormodedd mewn bwytta. R Trymder, diogi. S Gyrru. T Gwylio. U Bydded. V *Wait*, disgwyl. W Ysglyfaethu. X *Temper*, hudwr. Y Gwahardd. Z 1 Cor. 8. 13. A Luc 14. 13. B Tobit 1. 16. C Cymmeryd i'w gorph. D Job 31. 17. E Luc 14. 14. F *Patriarch*, cyff cenedl. G Dan. 1. 12. H 2 Bren. 4. 42. I Tim. 6. 8. J Crist, mewn gwedd angel, oedd un o'r angylion a fwyttasant gydag Abram, canys fe'i gelwir ef yn Farnydd yr holl ddaear, (Gen. 19. 25.)—S. Hughes. K Gen. 18. 8. L Amheuthyn, danteithion.

27.
Rhaid cael saws,[M] a rhaid cael fineg',[N]
Rhaid cael capers,[O] sampier,[P] garlleg,[Q]
Cyn y gallo llawer fwytta
Pryd o fwyd, gan faint o'u traha.[R]

28.
Y mae'r saws yn awr yn costi
I'r oes hon, mewn gwres a gwegi,
Mwy nag oedd y breision seigiau[S]
Gynt, yn gosti i'n hen dadau.

29.
Gynt ni cheisiai Alexander[T]
Saws un amser gyda'i swpper,
Ond y saws oedd yn ei gylla,
Chwant i'r bwyd yn ol rhyfela.

30.
Cyrus[U] yntau fyddai foddlon
I swpperu ar lan ffynnon,
Lle cai ddw'r i dorri'i syched
Ef a'i filwyr, yn eu lludded.

31.
Rhaid yn awr i bobl ofer
Gael eu gwin ar ginio a swpper,
Rhaid cael peint neu ddau o glared,[V]
Cyn el tammaid bwyd i waered.

32.
Duw ro[W] fara i'r bobl dlodion,
Duw a'n gwnelo ninnau'n foddlon,
Duw faddeuo'n traha ini,
Duw fendithier am ein porthi.

## LXIV.—GRAS CYN BWYD.

1.
PORTHWR mawr y pum' mil gwerin,
A'r pum' torth haidd a'r ddau bysgod-
Portha ninnau, dy wael weision, [yn[A]
A'r hyn ymborth wyt yn ddanfon.

2.
A bendithia'r bwyd a'r ddiod,
'R hwn a roddaist yma i'n gwarchod,[B]
Fel y gwir fendithiaist cyn hyn
Oen y Pasg, a'r ddau bysgodyn.

3.
A rho ynddynt rym i'n porthi,
I'th was'naethu, a'th addoli,
Fel y rhoddaist rym o'th wiw-ras,
Gynt ar deisen i Elias.[C]

4.
A phâr iddynt ein cymfforddi,[D]
A'n cryfhau, a'n gwir ddigoni,
Fel y peraist i'r ffâr[E] isel
Ar y ffacbys borthi Daniel.[F]

5.
Ac n'ad ini, o'th ddanteithion,[G]
Gym'ryd gronyn mwy na digon,
Ond y maint y fo'n ein helpu,
Yn ein galwad i'th was'naethu.[H]

6.
Eithr pâr in' roddi moliant
It' bob amser am ein porthiant,
A chydnabod mai Duw Celi,[I]
Giniaw a swpper, sy'n ein porthi.

## LXV.—GRAS YN OL BWYD.

1.
PORTHWR grasol pob creadur,
Gwyllt a dof, yn ol eu natur,[A]
Derbyn foliant am ein porthi
Mor ddigonol â'th ddaioni.

2.
Er pan ddaethom o'r groth allan,[B]
Tydi'n porthaist, fawr a bychan;
Am dy fwynder yn ein porthi,
R' ŷm ni bawb yn diolch iti.

3.
Nid oes gennym ddw'r i'w yfed,
Bara i'w fwytta, grym i gerdded,
Goleu i ganfod, nerth i godi,
Ond y roddech, Arglwydd, ini.[C]

4.
I ti, Arglwydd, am ein porthiant,
Am ein iechyd, am ein llwyddiant,
Am ein heddwch, a'n llawenydd,
Y bo moliant yn dragywydd.[D]

[M] *Sauce*, gwlybwr at gynnyddu blys at fwyd. [N] *Vinegar*, gwin sur. [O] *Caper*, blagur neu flodau pren. [P] *Samphire*, math o lysiau, a gedwid mewn gwinegr, yn gymmysg â halen a llysiau poethion, i'w defnyddio i gryfhau awydd at ymborth. [Q] *Garlick*, llysieuyn adnabyddus. [R] Balchder. [S] Dysgleidiau. [T] Alexander Fawr, gorchfygwr y byd. [U] Brenhin Persia, yn oes Daniel y prophwyd, tua 530 o flynyddoedd cyn geni Crist. Dan. 10. 1. [V] *Claret*, math o win. [W] A roddo.

[A] Ioan 6. 9, 10. [B] Cadw. [C] 1 Bren. 19. 8. [D] *Comfort*, cysuro, siriol. [E] *Fare*, bwyd, bywioliaeth. [F] Dan. 1. 15. [G] *Dainties*, bwydydd blasus. [H] Preg. 10. 17. Y Duw anweledig, Col. 1. 15. 1 Tim. 1. 17.

[A] Psalm 145. 15, 16. [B] 1 Psalm 22. 10. [C] 1 Cron. 29. 11, 12. [D] Psalm 68. 19, a 103. 2.

## LXVI.—GRAS CYN BWYD.

1.

LLYGAID pob creadur bywiol,[A]
Sydd yn edrych, Arglwydd grasol,
Ac yn trusto[B] cael eu porthi,
Gennyt, Rhoddwr pob daioni.

2.

'R wyt ti'n agor dy law rasol,
Ac yn porthi pob peth bywiol,
Gan roi ymborth wrth eu natur,
Yn ei bryd i bob creadur.[C]

3.

O bendithia ni, dy weision,
A'r holl fwydydd a'r danteithion,
Y bar'töaist ar ein meder,
I'n digoni, ginio a swpper.

4.

A rho ini ras i fedru,
Bawb, yn ddyfal dy glodfori,
Am dy garc,[D] a'th rodd, a'th fwynder,[E]
Yn ein porthi ginio a swpper.

## LXVII.—GRAS YN OL BWYD.

1.

TI lenwaist, Crist, ein cylla
Ag ymborth o'r danteithia',[A]
Llanw enau pawb o'th blant
A moliant am eu bara.

2.

Yn foethus iawn ti'n porthaist,
Yn rasol ti'n diwallaist,
Rho ini weithian ras bob cam,
I'th foli am a roddaist.

3.

Ti roddaist i ni'n cinio,
Ac ymborth i'n maintainio,[B]
'R ym ni'n rhoddi, nos a dydd,
It' foliant prudd[C] am dano.

4.

Mae dyled arnom roddi
It' foliant am ein porthi;
O! rho galon in', a chwant,
I roi mawr foliant iti.

5.

Pob bol ag wyt yn lanw,
Clodforent byth dy enw,[D]
A bendithient, ar bob cam,
Dy fawredd, am eu cadw.

## LXVIII.—ARALL CYN BWYD.

1.

DUW, dod fendith ar ein hymborth,
Duw, rho ynddynt rym a chymhorth,
I'n digoni a gwir gryfdwr
I'th was'naethu di'n Creawdwr.

2.

Er bod llawer bwyd yn ddainti,[A]
Nid oes ynddynt rym i'n porthi,
Nac i dorri dim o'n newyn,
Oni roi dy fendith arnyn'.

3.

O, gan hynny, Duw, bendithia
Yr holl fwydydd roddaist yma,
Fel y byddo pŵer[B] ynddyn',
'Borthi'n corph, a thorri'n newyn.

4.

Lle mae llawer math o fwydydd
Yn troi'n eri[C] yn ein coludd,[D]
Am eu cym'ryd yn afradlon,
Ac yn magu cas glefydion:

5.

Rho ras ini, Arglwydd sanctaidd,
'Gym'ryd pob bwyd yn dymheraidd,[E]
Fel y gwnelont lesiant ini,
Ac na fagont haint na swrthni.[F]

6.

Rho rym ynddynt i'n cyfnerthu
Yn ein galwad, i'th was'naethu,
Ac i foli d'enw'n wastad,
Er mwyn Iesu Grist ein Ceidwad.

[A] Psalm 104. 27. [B] *Trust,* hyderu, ymddiried. [C] Psalm 145. 15. [D] *Care,* gofal. [E] Tiriondeb.

[A] *Daintiest,* mwyaf blasus. [B] *Maintain,* cynnal. [C] Dwys, difrifol. [D] Psalm 150. 6.

[A] *Dainty,* blasus, moethus. [B] *Power,* gallu, rhinwedd. [C] Bustl, llysnafedd. [D] Perfedd.
[E] *Temperate,* cymmedrol. [F] Clefyd na thrymder.

## LXIX.—GRAS YN OL BWYD.

1.

DERBYN, Arglwydd, loi'n gwefusedd,[A]
Am dy ffafar[B] a'th drugaredd,
Yn ein porthi mor ddigonol,
A'r creaduriaid sydd bresennol.

2.

Derbyn ddiolch ar ein dwylo,
Am roi ini gystal cinio,
Er nad ydym yn ei haeddu,[C]
Mwy na'r sawl sydd yn newynu.

3.

Rhoed pob genau ag a borthaist
Foliant i ti, am y roddaist;
Ninnau roddwn it' ogoniant,
Yn dragywydd am ein porthiant.

## LXX.—GRAS CYN BWYD.

1.

DUW mawr o'r nef sancteiddia
Ni oll â'r ymborth yma,
'Wyt ti'n roddi, wrth ein rhaid,
I'th blant a'th ddefaid borfa.[A]

2.

A phâr i ni gydnabod
Fod pob daioni'n dyfod
Oddiwrthyd, grasol wyd.[B]
Yn nod y bwyd a'r ddiod.

3.

A dysg in' bawb foliannu
Dy enw, a'th glodfori,
Am ein porthi'n well na neb,
Bob amser, heb ei haeddu.

4.

Ac er mwyn d'anwyl Blentyn,[C]
Yr ŷm ni'n daer yn canlyn[D]
Arnat roddi bara a dw'r,
I'r neb sy heb swccwr[E] ganthyn'.

5.

A rhoddi gras i ninnau
D' was'naethu nos a boreu,
Nes ein dyger lle mae'n blys,
I'th nefol lys a'th artre';

6.

Lle mae gwir fwyd a diod
Yn para byth, heb ddarfod,[F]
Yn dy blas,[G] lle mae dy blant,
Heb arnynt chwant na thrallod.

## LXXI.—GRAS GWEDI BWYD.

1.

DUW, pa'm yr wyt 'n ein porthi,
Mor foethus ac mor ddainti,[A]
Yn wastadol heb ddim trai,[B]
A gadael rhai mewn tlodi?

2.

Pa ham yr wyt yn anfon
I ni dy waelaf weision,
Fwy nag sydd raid i ni ym mhell,
A gado'n gwell yn llwinion.[C]

3.

Can's yr ŷm yn cyffesu
Nad ydym neb yn haeddu
Cael mwy swccwr[D] ar dy law,
Na'r neb sy draw'n newynu.

4.

Ond dy fod di, o'th fwyndor,
A'th gariad, a'th drugaredd,
Yn rhoi ini fwy ym mhell,
Na'r sawl sydd well eu buchedd;

5.

Ar hyder y rhoem ninnau
Fwy diolch byth i tithau,
Na'r sawl y sydd mor llwm eu ffâr,[E]
I'th foli ar eu gliniau.

6.

I ti gan hynny rhodder,
O'n genau ni bob amser,
Glod a moliant, tra ynom chwyth,
Ar ginio byth, a swpper.

[A] Aberth, moliant. Hos. 14. 2. Heb. 13. 15. [B] *Favour*, caredigrwydd. [C] Gen. 32. 10.

[A] Psalm 100. 3. [B] Iago 1. 17. [C] Dy anwyl Fab. Mat. 3. 17. [D] Deisyf, erfyn. [E] *Succour*, ymgeledd, cynhaliaeth. [F] Ioan 6. 27. [G] *Palace*, tŷ pendefig.

[A] *Dainty*, blasus, boddhaol. [B] Pallder. [C] Tlodion. [D] *Succour*, ymgeledd. [E] *Fare*, ymborth.

### LXXII.—GRAS CYN SWPPER.

1.

CODWN bawb ein pen a'n ffriw,[A]
  At Grist, 'r hwn yw'n profeier,[B]
A gweddïwn[C] arno'n daer,
  Roi'i fendith ar ein swpper.

2.

Mae e'n porthi pob peth byw,[D]
  Er maint eu rhyw a'u nifer,
Ac yn rhoi i rhei'ny gyd,
  Eu bwyd mewn pryd a themper.[E]

3.

Nid oes un o adar tô
  Yn disgyn,[F] na bo'i fwynder
Yn par'toi i hwn ar hast,[G]
  Ei ginio, brecffast,[H] swpper.

4.

Pa faint mwy y carca[I] Duw
  Am ddyn, 'r hwn yw ein bicter,[J]
A rhoi iddo'i raid bob tro,
  Ond bwrw arno'i hyder.

5.

Y mae'n rhoi i ddyn, yn fwyd,
  Y grewyd ar ei feder,
Llysiau, llafur, 'nifail glân,
  Pysg, adar mân, heb nifer.[K]

6.

Ni wnaeth Duw un genau 'rioed [der,
  Mewn tir, mewn coed, mewn dyfn-
Nes par'toi ei ymborth tynn[L]
  I'r genau cyn ei ganer.

7.

Llawer rhyw o 'nifail glân,
  A physgod mân ac ader,
Y rows[M] Duw i borthi dyn,
  A'u lladd bob un cyn bwytter.[N]

8.

Pa'm nad ystyriai dynion hyn?
  A rhoddi, cyn y cymmer,
Glod a moliant prudd[O] bob tro,
  I'r Arglwydd, ginio a swpper.

9.

Duw agoro'n llygaid dall,
  I wel'd heb wall a rodder,
A'n geneuau ar bob cam,
  I'w foli am ei fwynder.

10.

Clod a moliant bob yr awr
  I'r Arglwydd mawr a rodder,
Am ddiwallu'n cylla gwag,
  Ar ginio ac ar swpper.

### LXXIII.—ARALL AR OL SWPPER.

1.

RHOWN foliant prudd bob amser,
I'r Arglwydd, ginio a swpper,
Am roi ymborth in' mor hael,
Heb adael ffael[A] na phrinder.

2.

Rhown iddo ddiolch hyfryd,
Am dan ein bwyd a'n iechyd,
A'n llawenychu, a'i fawr ras,
I'n cadw i ma's o ofid.

3.

A cheisiwn gantho'n rasol,
Er mwyn ei Fab sancteiddiol,
Borthi'r enaid yn ei bryd,
A'i air a'i Yspryd nefol;

4.

A thywallt ei fendithion,
A'i ras yn ddyfal arnom,[B]
Fel y gallom nos a dydd,
Ei foli'n brudd[C] o'r galon.

### LXXIV.—ARALL.

1.

GWYR a gwragedd, gweision, plant,
  Rhown foliant am ein porthi,
I'r hael Dduw o bryd i bryd,
  Sy'n rhoi maeth[A] hyfryd ini.

2.

Mae'n diwallu pob peth byw,
  Bob pryd â rhyw ddaioni,
Ac o'i law, a'i ras, a'i rodd,
  Yn rhoddi modd i'n porthi.

[A] Wynebpryd. [B] *Purveyor,* parottowr ymborth. [C] "A chanlynwn."—S. Hughes. [D] Psalm 145. 15, 16. [E] *Temper,* nawsaidd, iawn ansawdd. [F] Mat. 10. 29. [G] *Haste,* brys. [H] *Breakfast,* boreufwyd, i dorri ympryd y nos. [I] *Care,* y gofala. [J] *Picture,* llun, delw. Gen. 1. 27. [K] Gen. 1. 29, a 9 2, 3. [L] Llawn. [M] A roddodd. [N] Gen. 9. 4. [O] Difrifol.

[A] *Fail,* meth, diffyg. [B] Arnom. [C] Dwys, syml, ystyriol.

[A] Cynhaliaeth, magwraeth.

3.

Mae'n rhoi bara i ni o'r dda'r,
A gwyllt, a gwâr[B] i'n pesgi[C]
Pysg o'r môr, a mel o'r graig,
A llawer saig[D] heb enwi.

4.

Mae e'n porthi pob rhyw gnawd,
Fel un dan sawd[E] i'w costi,
Heb anghofio'r adar mân,
Na'r llew, na'r fran sy'n gwaeddi.[F]

5.

Mae e'n porthi dyn yn rhin,[G]
A chann a gwin yn ddeinti,[H]
A brwd a rhost[I] o lawer rhyw,
Heb neb ond Duw'n eu peri.

6.

O, rhown ninnau foliant prudd,
Bob nos, bob dydd heb dewi,
I'r hael Dduw am dan ei borth,[J]
Sy'n rhoi'r fath ymborth ini.

## LXXV.—GRAS YN OL BWYD.

1.

Duw n'âd ini fwytta o'th ddoniau,[A]
Fel y bwytty'r moch afalau,
Heb ddyrchafu pen na llygad
I wel'd o b'le y maent yn dwad.[B]

2.

Ond pâr i ni godi'n pennau,
A chydnabod fod y doniau
Oll yn dyfod, sydd i'n porthi
Oddi wrthyd, Dad goleuni.[C]

3.

A phâr ini foli d'enw,
Am dy fwynder yn ein llanw,
A'th fendithio yn dragywydd,
Am ein iechyd a'n llawenydd.

## LXXVI.—CERYDD AM ESGEULUSO BENDITH AR, A RHOI DIOLCH AM YMBORTH.

1.

Fe g'wilyddia hen ddyn bâs,[A]
Ddechreu'n hen-wr dd'wedyd gras,[B]
Rheitiach yw i hwn g'wilyddio
Fod ef c'yd heb ei bracteisio.[C]

2.

Na ch'wilyddied unrhyw ddyn
Ddilyn arfer Crist ei hun;[D]
Ond c'wilyddied pob ofer-ddyn
Arfer bwytta'i fwyd fel mochyn.

3.

Fe 'nebydd ych, fe 'nebydd asen,
Pwy yw'u porthwr, pwy yw'u perchen,[E]
Ac a roddant ddiolch iddynt,
Yn y meder a fo ganddynt.

4.

Llawer dyn, yn waeth na'r 'nifail,
Ni adwaenant Grist eu Bugail,
'R hwn sy'n wastad yn eu porthi,
A'u trwm-lwytho â daioni.[F]

5.

Y mae'r adar bach yn cânu
Clod i Dduw yn ol swpperu,
Ac yn rhoddi diolch iddo,
Nes bo'n hyfryd in' eu gwrando.

6.

Maent hwy bob un yn ymdynnu,[G]
Am y goreu allo ganu
Mawl i'r Arglwydd, nos a boreu,
Sy'n rhoi bwyd i lanw'u boliau.

7.

Y mae dynion hwythau'n tewi,
Gwedi'r Arglwydd mawr eu porthi,
Heb roi clod na moliant iddo,
Mwy na'r pysg s'heb lafar[H] ganddo.

8.

On'd da dylai'r fath, gan hynny,
Fod yn uffern yn newynu,
Eisiau 'nabod Duw eu cymhorth,
A rhoi diolch am eu hymborth?

9.

O! na fydded unrhyw Gristion,
Yn gyffelyb i'r fath ddynion;
Ac o byddant, yn ddi-gwnsel,[I]
Maent hwy'n waeth nag un anifail.

[B] Dof. [C] Porthi, tewhau. [D] Dysglaid o fwyd. [E] Ar wasanaeth. [F] Psalm 147. 9. [G] Yn rhinweddol. [H] Yn foethus. [I] *Roasted*, wedi ei bobi. [J] Cymhorth.

[A] Rhoddion. [B] Dyfod. [C] Iago 1. 17.

[A] *Base*, brwnt, bawaidd. [B] Ceisio bendith ar fwyd. [C] *Practice*, arfer. [D] Mat. 15. 36. [E] Esay 1. 2. [F] Act 14. 17. [G] Ymdrechu, ymryson. [H] Llais, lleferydd. [I] Eglur, di-gel.

## LXXVII.—CYNGHOR I GYFRANU I'R ANGHENUS YN OL EIN GALLU.

1.

GWAE'r goludog di-dosturi,
A gauo ei glust rhag gwrando'r tlodi,
Fe gaiff hwnnw ddyfal grïo,
Yn y pwll heb neb i'w wrando.[A]

2.

Pan bo'i wraig, a'i blant, a'i drasau,[B]
Yn chwydu'r gwin yn nhai tafarnau,
Yntau fydd mewn carchar caled,
Heb y dw'r i dorri ei syched.[C]

3.

Iago ddywed nad oes crefydd
Na Christ'nogaeth yn y cybydd,
Na ddiwallo'r gwragedd gweddwon,
Yn eu hadfyd, a'r rhai tlodion.[D]

4.

Ifan[E] anwyl yntau dd'wedai,
O gwel carl[F] ei frawd mewn eisiau,
Ac heb roddi dim i'w swccro,[G]
Nid yw cariad Duw ddim ynddo.[H]

5.

Crist a ddywed yr â'r camel
Drwy grau'r nodwydd yn ddi-drafael,
Cyn yr el y carl goludog
I'r nef, os bydd yn annhrugarog.[I]

6.

Crist a'n dododd yn stiwardiaid,[J]
I gyfrannu rhwng y gweiniaid,
Y dâ a ddododd dan ein dwylo;
Rhannwn rhyngddynt rhag ei ddigio.

7.

Os bydd marw un gan newyn,
Bydd gwaed hwnnw ar ein cobyn;[K]
Ni all cyfoeth mawr yr holl-fyd,
Wneuthur iawn am dan ei fywyd.

8.

Rho dy gardod[L] yn ddi-attal,
Os bydd llawer, dyro'n amal;
Os bydd 'chydig, dyro ronyn,
Ond rho'n llawen heb ei w'rafun.[M]

9.

Dyro'n siriol dy elusen,
Hoff gan Dduw bob rhoddwr llawen,[N]
Dyro roddech yn gariadus,
Ni fynn Crist un rodd wrth'nebus.

10.

Er na roech i'r tlawd ond cyfran
Er mwyn Crist, o'i dda ei hunan,
Mae e'n addo gwabar[O] ffrwythlon,
Am gyfrannu hynny i'r tlodion.[P]

11.

Na ddyhiria hyd y foru
Roi'r peth allech roddi heddy';[Q]
Rho yn rhwydd, a rho yn hawddgar,
Diflas fydd y rhodd ddiweddar.

12.

Rhown, medd Paul, tra gennym bwer,[R]
Gwnawn ddaioni tra cawn amser;[S]
F'all y monarch[T] mwya' heddy',
Fod yn begian[U] d'wr y foru.

13.

'R oedd gan Ddeifes[V] wrth giniawa,
Llawer saig o'r bwyd danteithia;[W]
Nid oedd gantho ar ei swpper
O'r dw'r oer, mewn fflam a phoethder.[X]

14.

Wrth frecwasta[Y] ar ddanteithion,
Ni chai Lazar[Z] gantho o'r briwsion;
Wrth swpperu, ni chai yntau,
Ddafan dw'r, er maint a grïai.[A]

15.

Fe roddai 'nawr y byd am lymmaid
O ddw'r oer i dorri ei syched;
Pe rhoi'r nef a'r ddae'r am ddroppyn[B]
O'r dw'r oer, nis cai, er canlyn.[C]

16.

Nid oes gantho, o'i holl olud,
Mo'r dafn dw'r yn uffern danllyd;
Ni bydd gan y llanwa' ei gistau[D]
Foru, o bossibl, fwy nag yntau.

17.

F'aeth mor noeth, mor llwm oddi yma,
Ag y daeth i'r byd o'r cynta';
Pe cai e'r nef am hanner ffyrling,[E]
Nid oes gantho ddim o'r hatling.[F]

[A] Diar. 21. 13. [B] Perthynasau. [C] Luc 16. 24. [D] Iago 1. 27, a 2. 14—17. [E] Ioan yr Apostol, y disgybl anwyl. [F] *Carl*, cybydd. [G] *Succour*, ymgeleddu. [H] 1 Ioan 3. 17. [I] Marc 10. 25. [J] *Stewards*, goruchwylwyr. [K] Pen. [L] Elusen. [M] Gommedd, pallu. [N] 2 Cor. 9. 7. [O] Gwobrwy. [P] Luc 14. 13, 14. [Q] Diar. 3. 27, 28. [R] *Power*, gallu. [S] Gal. 6. 10. [T] *Monarch*, unben, brenhin. [U] Ceisio, cardotta. [V] *Dives*, (Lladin.) gŵr goludog. [W] *Daintiest*, mwyaf moethus. [X] Luc 16. 27. [Y] *Breakfast*, bwytta boreufwyd. [Z] Lazarus, y cardottyn. [A] A lefai. [B] *Drop*, dafn, diferyn. [C] Ymbil, erfyn. [D] Coffrau. [E] *Farthing, (fourthing)* y bedwaredd ran o geiniog.—Yn argraphiad S. Hughes, rhoddir y ddwy linell yma fel hyn;—

"Pe cae ê'r nef am hanner floring,
"Nid oes gantho'i phrynu o'r ffyrling."—

*Florin* sydd ddarn arian, yn amrywio mewn gwerth mewn gwahanol wledydd; yn Germany, 2s. 4c.; Yspaen, 4s. 4½c.; Palermo a Sicily, 2s. 6c.; ac yn Holland, 2s. [F] Hanner ffyrling.

18.
Heddyw, gall y gwyr goludog
Rannu llawer i'r newynog;
F' allai foru, trwy ryw ddamwain,
Na bydd ganthynt ddim eu hunain.

19.
Rhown, gan hynny, tra peth gennym,
I'r dyn tlawd i dorri'i newyn;
Foru, o bossibl, ni bydd dimmai,
I gyfrannu i'r mwya' ei eisiau.

20.
Torr dy fara i'r newynllyd,[G]
Fe fendithia Duw dy olud,
Ni bydd llai dy gig i'th grochon,[H]
Er y roddech i'r rhai tlodion.

21.
Ni bu'r weddw o Serepta
Dlottach er y ga's Elia';
Ni bu lai ei hoil na'i thoesyn,
Er rhoi teisen iddo o ronyn.[I]

22.
Gwelais lawer o wyr mawrion
Yn cyrwydro am dreisio'r tlodion;[J]
Ond ni welais wedi'm geni,
Ddyn ar feth am helpu'r tlodi.[K]

23.
Coegedd, syrthni,[L] trawsedd, traha,[M]
Helodd[N] lawer i gardotta;
Ond ni helodd rhoddi cardod
Ddyn erioed i fyn'd ar anffod.[O]

24.
Gwyn ei fyd, medd brenhin Dafydd,[P]
Y dyn a dynno'r tlawd o'i gystudd,
Duw ei hun mewn amser adfyd,
A'i tynn yntau maes o'i ofid.

25.
Duw a'i gwared o'i drallodion,
Duw a'i ceidw rhag gelynion,
Duw ei hun a g'weiria'i wely,
Pan bo claf heb allael cysgu.

26.
Rhowch i'r tlawd eu rhaid yn echwyn,
Crist ei hun â'n feichiau drostyn',[Q]
Efe a dâl i chwi drachefen
Faint a roddech wrth eu hangen.

27.
Pwy ond Iuddew brwnt ni fentrai[R]
Roi yn echwyn i'r fath feichiau?
'R hwn sy'n talu ar ei ganfed[S]
I'w ddyledwyr, ei holl ddyled.

28.
'R ych yn trusto[T] gwaith meichnafon
Na Mab Duw, am swmmau mawrion;
Trustwch Grist am grach dippynau[U]
Geisio'r tlawd, mae'n abal[V] meichiau.

29.
Y mae'n talu ar ei ganfed,
I bob Cristion ei holl ddyled;
Dwl[W] yw'r cybydd ni all hebgor
Dim i'r tlawd, am gymmaint occor.[X]

30.
Nid oes occor wy'n ei 'nabod
Fwy ei mael[Y] nag occor cardod,
Mae'n dod adref ar ei chanfed,
Pan bo rheitaf cael ei gweled.

31.
Nid oes trysor ar y ddae'ren
Well na chardod ac elusen;
Hi fydd gwell, yn nydd dy drallod,
Nag aur coeth ac arian parod.[Z]

32.
Fe dreulia'r aur, fe ryda'r arian,
Fe fwytty'r pryfed lawnd[A] a sidan,
Fe lwyda'r bwyd, fe sura'r ddiod,
Nid oes dim all gwaethu[B] cardod.

33.
Pan llosgo'r byd yn wen-fflam oleu,
A'r tai, a'r tir, a'r holl drysorau,
Fe fydd cardod uwchlaw'r boban,[C]
Ym mharadwys yn dy waitan.[D]

34.
Pan ddel angau glas i'th geisio,
Fyn'd i'r barr[E] yn noeth i 'mpirio[F]
Goreu stor,[G] medd Crist, yw cardod,
Ddydd y farn o flaen y Drindod.

35.
Pan bo'r tai, a'r tir a'r trasau,[H]
Gwedi'th ado dan law'r angau,[I]
Fe fydd cardod yn dy ddilyn,
Nes dy ddwyn i lys y Brenhin.

[G] Esay 58. 7, 8. [H] Crochan. [I] Bren. 17. 16. [J] Diar. 22. 16. [K] Diar. 19. 17. [L] Diogi. [M] Balchder. [N] A yrrodd. [O] Anffawd, aflwyddiant. [P] Psalm 41. 1—3. [Q] Diar. 19. 17. [R] *Venture*, anturio, bod yn galonnog. [S] Marc 10. 29, 30. [T] Coelio, ymddiried i. [U] Rhoddion bychain. [V] *Able*, cyfoethog, galluog. [W] *Dull*, ffol. [X] Llog. [Y] Ennill, elw. [Z] "Duw a rad obrwya y rhai a roddant elusennau o gariad atto ef, Mat. 10. 42, ond o herwydd bod ein gweithredoedd goreu ni yn am-mherffaith, nid ydynt hwy yn haeddu bywyd tragywyddol. Esay 64. 6. Luc 17. 10. Gal. 2. 16. Er hynny ble bo ffydd, y mae gweithredoedd da. Mat. 7. 17. Iago 2. 18."—S. Hughes. [A] *Lawn*, lliain main. [B] Gwaethygu, niweidio. [C] Pobfa, llosgfa. [D] *Wait*, disgwyl. [E] Brawdle, lle barn. [F] *Appear*, ymddangos. [G] *Store*, trysor. [H] Ceraint, perthynasau. [I] Dat. 14. 13.

36.
Mwy o ennill sydd yn dyfod
I'r dyn sydd yn rhoddi cardod,
Nag i'r tlawd sydd yn ei derbyn ;[J]
Mae'n cael llawer am y gronyn.

37.
Fe gaiff manna am y briwsion,
Aqua Vitæ[K] am ddw'r afon,
Gwisg ddisgleirwen am hen gadach,
Ar law Crist, a'i wir gyfeillach.

38.
Gwna gan hynny ffrins[L] o'r golud,
Ac o'r mammon[M] oll sydd gennyd,
Fel y'th dynner ar ddydd tywyll
Attynt, i'r tragwyddol bebyll.

39.
Storia lle bydd dy breswylfod,
Gwerth sydd gennyt, dyro gardod;
Na wan-ffyddia, fel dyn llanas,[N]
Werthu tyddyn i gael teyrnas.

40.
Gyrr ym mlaen yn nyrnau'r tlodion,
Drysor, lle na 'speilia lladron,[O]
Edrych beth a roddech iddyn',
O law Crist y cei ei dderbyn.

41.
A roech i'th wraig, a'th blant, a'th drasau, [piau,
Dy wraig, a'th blant, a'th ffrins a'u
Y roech i Grist, a'r tlawd, a'r truan,
Storio'r[P] wyt i ti dy hunan.

42.
Trysora o'th flaen i'r nefol bebyll,
Dod olew i'th lamp, mae'r ffordd yn dywyll,
Gwna bwrs di-draul o'r da nadderfydd,
Mae Crist ei hun yn rhoi it' rybudd.[Q]

43.
Haua'n aml tra c'ech[R] amser,
Fel y rhoddo Duw it' bŵer ;[S]
Ar ei ganfed di gei fedi
Yn ei bryd, oni ddiffygi.[T]

44.
Torr dy fara i'r newynog,
A dillatta'r noeth anwydog,
I'r cyrwydriaid dyro letty,
Duw ei hun sy'n erchi hynny.[U]

45.
Bydd yn llygaid i'r rhai deillion,[V]
Traed i'r cloff, a nerth i'r gweinion,
Rhwysgwydd[W] gweddw, câr dieithr-
Mam a thad i'r plant ymddifaid. [iaid,

## LXXVIII.—CYNGHOR I BOB PENTEULU I LYWODRAETHU EI DY YN DDUWIOL.

1.
Os mynni fod yn ddyn i Dduw,
Yn Gristion sanctaidd tra[A] f'ech byw,
Gwna dy dŷ yn eglwys fechan,
A'th deulu'n dylwyth Duw ei hunan.

2.
Gwna dy dŷ yn demel gyson,
Gwna dy dylwyth fel angylion,
Yn eu graddau o bob galwad,
I was'naethu Duw yn ddifrad.

3.
Gwna dy dŷ yn demel sanctaidd,
I addoli Duw yn weddaidd,
Gan bob enaid a fo ynddo,
Fore a hwyr yn ddi-ddiffygio.

4.
Dewis fain[B] o bobol rasol,
Gwedi'u scwario[C] i gyd wrth reol,
Yn byw'n sanctaidd ac yn gymmwys,
I adeilio dy lân eglwys.

5.
N'âd un main anghymmwys ynddi,
Nac un ddrwg-ddyn ddyfod iddi;
Nid rhai aflan, ond rhai cymmwys,
A fynn Duw yn fain i'w eglwys.

6.
Tro'r main aflan oll oddi wrthyd,
Ni fynn Duw'r fath feini sarnllyd,
Tŷ i Grist nid tŷ i gythraul,
A fydd d'eglwys di a'th demel.

7.
Ffittach[D] ydyw pobol aflan,
I fod yn fain i gorlan Satan,
Ac yn danwydd uffern drist,
Nac yn fain i eglwys Crist.

8.
Main anghymmwys, main afluniaidd,
Sy'n anffurfio temel g'ruaidd ;
Dyn anneddfol, dyn anesmwyth,
A bair anghlod i'th holl dylwyth.

[J] Act. 20. 35. [K] Y geiriau Lladin am ddwfr y bywyd. [L] *Friends*, cyfeillion. [M] Cyfoeth. Luc. 16. 9. [N] Diog, llybunaidd. [O] Mat. 6. 20. [P] *Store*, trysori. [Q] Luc 12. 33, 35. [R] Y caffech. [S] 2 Cor. 9. 6. [T] Gal. 6. 9. [U] Esay 58. 7. [V] Job 29. 12–16. [W] "Rhyscwy."—S. Hughes. *Rescue*, cymhorth, ymwared.
[A] Tra fyddech. [B] Meini. [C] *Square*, naddu yn bedwar onglog. [D] *Fitter*, addasach, cymmwysach.

9.
Na ddod glogfaen[E] cas anghymmwys,
Heb ei scwario yn dy eglwys.
Ac na dderbyn i'th dŷ deddfol,[F]
Rai di-grefydd at rai grasol.

10.
Ni wna meini, cas anghymmwys,
Ond diwreiddio gwelydd[G] d'eglwys,
Na'r rhai aflan, drwg, di-grefydd,
Ond troi'th dŷ a'i dorr i fynydd.

11.
Gyrr yr aflan ffwrdd o'th deulu
Cyn y ceisiech Grist i'th letty;
Ni ddaw Crist i'r lle ammherffaith,[H]
Nes troi'n gynta'r aflan ymaith.

12.
Byth ny chydfydd mewn un demel,
Wir blant Duw a phlant y cythraul,
Mwy na'r gwenyn bach â'r mwg,
Mo'r Yspryd Glân a'r yspryd drwg.[I]

13.
Ni thrig brenhin lle bo moch,
Brwnt eu buchedd, cas eu rhoch;[J]
Ni thrig Crist a'i Yspryd gwiwlan,
Yn yr un-tŷ a'r rhai aflan.

14.
Os bydd i'th dŷ di rai di-grefydd,
Meddwon, marllyd,[K] ac anufudd.
Tro hwy maes fel dafad glafrllyd,
Rhag clafrïo'r maint sydd gennyd.

15.
Fel y bwriodd Abram Ism'el,
Ffwrdd[L] o'i dŷ,[M] am chwareu'r rebel,[N]
Felly bwrw dithau'r aflan
I ffwrdd o fysg dy dylwyth allan.

16.
Ni adawai Dafydd frenhin
Was annuwiol yn ei gegin[O]
Na âd dithau ddrwg-weithredwr,
Yn dy blas,[P] nac yn dy barlwr.[Q]

17.
Un gwas aflan a bair anair
I laweroedd o rai diwair;
N'âd gan hynny'r aflan orphwys,
Yn dy dŷ, nac yn dy eglwys.

18.
Mynn rai duwiol i'th was'naethu,
Os dedwyddwch a chwennychi;
Duw fendithia waith y duwiol,
Pan ddel aflwydd i'r anneddfol.[R]

19.
Gwas fel Joseph, duwiol, geirwir,
A dynn fendith ar dŷ'i feistyr;
Ond y drwg-ddyn, megis Achan,[S]
All andwyo'r[T] tŷ a'r gorlan.

20.
Os bydd gwas crefyddol gennyd,
Duw fendithia dy holl olud,
Fel y gwnaeth ef, er mwyn Iago,[U]
I holl olud Laban lwyddo.

21.
Gwell gwas duwiol, llariaidd,[V] llonydd,
A dynn lwyddiant ar dy faesydd,
Na'r annuwiol goreu gaffech,
A dynn aflwydd ar y feddech.

22.
Gwell y llwydda gorchwyl gwas
Diddrwg, llariaidd, llawn o ras,
Nag y llwydda gwaith anneddfol
Gwas di-grefydd, grymmus, graddol.[W]

23.
Fe all gwas'naethwr doeth, crefyddol,
Droi ei feistr i fod yn ddeddfol,
Fel y dichon gwraig y pagan[X]
Droi ei gŵr yn Gristion gwiwlan.[Y]

24.
Oni cheisi bobl ddeddfol,
I'th was'naethu yn grefyddol,
Byth ni bydd dy dŷ yn demel,
Ond yn wâl a glwth[Z] i'r cythraul.

25.
Nid wyt nes[A] er gweision cryfion,
I gyflawni dy orchwylion,
Oni byddant hefyd, clyw,
Gryf i gwpla[B] gorchwyl Duw.

26.
Na fynn un i'th dŷ a'th drigfa,
Nes bo o deulu'r ffydd yn gynta',
Nac un gwas, tra fyddech byw,
Nes bo'n gynta'n was i Dduw.

27.
Ni fynn Eglwys Dduw it' dderbyn
Twrc na phagan it' i'r cymmun;
Na fynn dithau yn dy deulu
Rai di-grefydd i'th was'naethu.

28.
Ni bydd gwas di-grefydd cywir
Nac i'r Arglwydd Dduw na'i feistyr,
Can's arferol i'r fath ddrwg-was,
Werthu ei feistyr megis Suddas.[C]

[E] Carreg afluniaidd. [F] Rheolaidd, gweddaidd. [G] *Walls*, muriau. [H] "Er bod Crist yn dyfod at yr annuwiol i'w troi hwynt pan y bont yn eu hannuwioldeb; etto nid yw efe yn dyfod i'w cysuro hwynt, nes iddo eu sancteiddio. Ioan 14. 23. Dat. 3. 20."—S. Hughes. [I] 2 Cor. 6. 14, 15. [J] Swn, llais cryglyd. [K] Segurllyd, marwaidd; neu distrywgar, oddiwrth *mar*, niweidio. [L] Ymaith. [M] Gen. 21. 9, 10. [N] *Rebel*, gwrthryfelwr. [O] Psalm 101. 7. [P] *Palace*, tŷ pendefig. [Q] *Parlour*, ystafell i ymddiddan. [R] Drwg, anfucheddol. [S] Jos. 7. 24, 25. [T] Anafu, distrywio. [U] Jacob. Gen. 30. 30. [V] Addfwyn. [W] O radd uchel. [X] Dyn digred. [Y] 1 Petr 3. 1, 2. [Z] Gwely, gorweddfa esmwyth. [A] Gwell. [B] Cwblhau, cyflawni. [C] Judas Iscariot. Marc 14. 10.

29.
Cais gan hynny bobol sanctaidd,
Pobol dduwiol, pobol weddaidd,
I'th was'naethu tra fe'ch [D] byw
Os gwnei dy dŷ yn eglwys Dduw.

30.
Bydd dy hunan yn oleuni,
Ac yn batrwn [E] o ddaioni
I'th holl bobol mewn sancteiddrwydd,
Glendid buchedd, ac onestrwydd.

31.
A rho siamplau da i'w dilyn,
Yn y neuadd, yn y gegin,
Mewn gair, a gweithred, ac ymddygiad
I bob rhai fo'n disgwyl [F] arnad.

32.
Rhodia gyda Duw fel Enog,[G]
Bydd bob amser yn wagelog.[H]
Cofia fod Duw, â saith llygad,
Ym mhob man yn disgwyl arnad.[I]

33.
Gochel dd'wedyd dim na'i wneuthur,
Ond a fytho dra chymmesur [J]
O flaen Duw a chroes y farchnad,[K]
A phâr gofio hyn yn wastad.

34.
Bydd mor sobr, bydd mor sanctaidd,
Bydd mor gynnil, bydd mor weddaidd,
Bydd mor ddeddfol,[L] bydd mor gym-
Yn dy dŷ ag yn dy eglwys. [mwys,

35.
Y mae dyled ar ben-teulu
Ddysgu ei dylwyth wir grefyddu,
'Nabod Duw, a chadw ei ddeddfau,
Credu yng Nghrist, a'i 'ddoli'n ddiau.

36.
Fel y dysgai Abra'm 'n ebrwydd,
Bawb o'i dŷ i ofni'r Arglwydd,[M]
Felly dysg dy blant a'th deulu,
I 'nabod Duw a'i wir was'naethu.

37.
Dysg dy blant, a dysg dy bobol,[N]
I wir 'nabod eu Tad nefol,
A'r Iachawdwr a ddanfonwys ;[O]
Dyna'r ffordd i'r nef yn gymmwys.

38.
Planna gyfraith Duw'n wastadol
Yng nghalonnau pawb o'th bobol,
Sonia am dani hwyr a bore,
I mewn, i maes, wrth rodio ac eiste'.[P]

39.
Duw sy'n erchi i tadau ddangos
Deddfau'r Arglwydd i'w holl blantos,
A'u rhoi'n lasau [Q] ar eu dillad,[R]
Er mwyn cofio gair Duw'n wastad.

40.
Darllen bennod o'r 'Sgrythyrau,
I'th holl dylwyth nos a boreu,
Pair i bawb repento s allont,
A byw yn ol y wers a ddysgont.

41.
Bydd reolwr, bydd offeiriad,
Bydd gynghorwr, bydd yn ynad,[T]
Ar dy dŷ, ac ar dy bobol,
I reoli pawb wrth reol.

42.
Bydd offeiriad i'w cyfrwyddo,
Bydd cynghorwr i'w rhybuddio,
I draethu yr efengyl iddynt,
Ac i brudd weddïo drostynt.

43.
Bydd reolwr i gompelo,[U]
Ac i gospi'r rhai droseddo,
Ac i beri bawb o'th bobol
Fyw'n Grist'nogaidd ac yn foesol.

44.
Bydd di farnwr, i gyfranu
Union farn rhwng pawb o'th deulu,
I roi tâl i'r da a'r duwiol,
A dialau i'r anneddfol.

45.
Gwna di gyfraith gyfiawn, gymmwys,
I reoli'th dŷ, a'th eglwys ;
Pâr i'th bobol yn ddi-ragraith,[V]
Fyw yn gymmwys wrth y gyfraith.

46.
Dysg i bawb yn gynta' eu dyled,
Dangos b'wedd [W] y dylent fyned ;
Gwedi dysgu'r gyfraith groyw,
Pâr i'r wialen beri ei chadw.

47.
Bydd â'th law, a bydd â'th lygad,
Yn llwyr ddisgwyl ar eu hymddygiad ;
N'âd i neb, ar air na gweithred,
Droi ar draws,[X] heb gerydd caled.

48.
Pâr i bawb o'th dŷ ddisgleirio,
Megis seren yn goleuo
Yn rhoi llewyrch, dysg, ac urddas,[Y]
I bob rhai fo'n troi o gwmpas.[Z]

[D] Tra fyddech. [E] *Pattern,* cynllun, esiampl. [F] Edrych. [G] Enoch. Gen. 5. 24. [H] Gochelgar. [I] Zech. 4. 10. [J] Cymmwys. [K] Y lle mwyaf cyhoeddus. [L] Bucheddol, moesol. [M] Gen. 18. 19. [N] Jos. 24. 15, 6. 7. [O] A ddanfonodd. [P] Deut. 11. 19. [Q] *Laces,* ysnodenau, carreiau. [R] Deut. 6. 8. [S] *Repeat,* adrodd, [T] Barnwr. [U] *Compel,* cymhell. [V] Yn ddi-ragrith. [W] Pa fodd. [X] Troseddu. [Y] Anrhydedd. [Z] O amgylch.

49.
Pâr i'th dylwyth di ragori
Mewn duwioldeb a daioni.
Fel 'r oedd tylwyth Noe dduwiolaf
Yn rhagori'r holl fyd cyntaf.

50.
Pâr i'th wraig fod megis seren
Siriol, sanctaidd, lonydd, lawen,
Yn esiampl o sancteiddrwydd,
Mewn gair, gweithred, ac onestrwydd,

51.
Pâr i'th holl blant fod yn foesol,
Yn Grist'nogaidd, ac yn rasol,
Yn ymostwng i'w rhieni,
Fel plant Rechab[A] yn y stori.[B]

52.
Pâr i'th dylwyth fod yn ffyddlon,
Megis tylwyth tŷ Philemon,[C]
'R hwn a wnaeth ei dŷ yn eglwys,
Gan mor sanctaidd y rheolwys.

53.
Pâr i'th bobol fyw mor gymmwys,
Yn dy dŷ ac yn dy eglwys,
Ac mor sanctaidd ym mhob cornel,
A phe baent yng nghorph y demel.

54.
N'âd hwy ddangos gwaeth cynneddfau,
N'âd hwy wneuthur bryntach castiau,[D]
Yn y tŷ nag yn yr eglwys,
Ond pâr iddynt fyw yn gymmwys.

55.
N'âd hwy dorri un gorchymmyn
O'r rhai lleiaf, heb eu gw'rafun ;[E]
N'âd hwy ddilyn un drwg-arfer,
Heb eu cyffro[F] i wella ar fyrder.

56.
N'âd i fawr na bychan dyngu
Enw'r Arglwydd mawr, na'i gablu,
Na dibrisio gwaed y cymmod,
Heb roi dial am ei bechod.[G]

57.
N'âd hwy dreulio'r Sabboth sanctaidd,
Mewn oferedd anghrist'nogaidd,
Nac mewn gloddest[H] a phibïaeth,[I]
Heb roi union gospedigaeth.

58.
N'âd un wrando'r Gair yn ofer,
Heb ei ddilyn gwedi'i glywed,
A'i ail gnoi,[J] a son am dano,
A byw yn ol y wers a ddysgo.

59.
N'âd un fyn'd y nos i gysgu
Nes penlinio wrth ei wely,
Ac addoli Duw yn gynta',
Cyn y rhoddo i'w gorph esmwythdra

60.
N'âd un fyn'd y bore allan,
At un gorchwyl, mawr na bychan,
Nes addoli Duw'n ei 'stafell,
Ar ei ddeulin heb ei gymhell.

61.
N'âd un daro ei law ar arad',
Nac ar orchwyl o un galwad,
Nes y cotto[K] ei law yn gyntaf
Am gael cymhorth Duw goruchaf.

62.
N'âd un fyned i siwrneia,[L]
Nac i forio, nac i ffeira,[M]
Nes ymbilio'n daer â'r Arglwydd
Ei ddwyn adref yn ddi-dramgwydd.

63.
N'ad un arfer, megis mochyn,
Fwytta ei fwyd, a llanw ei growyn,[N]
Nes bendithio'r bwyd yn gyntaf,
A chydnabod Duw goruchaf.

64.
N'âd un godi megis 'nifail,
Gwedi llanw ei fol a'i fottel,[O]
Heb roi diolch prudd[P] a moliant,
I'r tad nefol am ei borthiant.

65.
N'âd fod un o'th deulu'n eisiau
Ar wasanaeth,[Q] nos na borau ;
Wrth was'naethu Duw, bydd garcus,[R]
Nas gwas'naetho neb o'n 'sgeulus.

66.
N'âd hwy arfer geiriau lloerig,[S]
Nac un ymadrodd brwnt, llygredig,
Senn, na rheg, na llw, nac enllib,
Ffrwmp,[T] na ffrost,[U] na dim cyffelyb.

67.
Dysg dy blant, a rhwym dy bobol
I arferyd geiriau grasol,
Geiriau a baro faeth a chysur,
Gras ac urddas i'r gwrandawyr.[V]

68.
N'ad hwy arfer castiau bryntion,
N'âd hwy watwor bobol wirion,[W]
N'âd hwy gablu rhai anafus,
Na bychanu'r tlawd gofidus.

[A] Jer. 35. 6. [B] *History*, hanes. [C] Philemon, adn. 2. [D] Gweithredoedd drwg. [E] Gwahardd. [F] Annog. [G] Diar. 13. 24. a 23. 13, 14. a 26. 3. [H] Anghymmedroldeb. [I] Llawenydd annuwiol. [J] Myfyrio arno. [K] Y cyfodi. [L] *Journey*, ymdeithio. [M] Masnachu mewn ffair. [N] *Craw*, cylla, bol. [O] *Bottle*, costrel—ei gylla. [P] Difrifol. [Q] Gweddi deuluaidd. [R] *Careful*, gofalus. [S] Ynfyd, ffol. [T] *Frump*, gogan, gwatwor. [U] Ymffrost. [V] Eph. 4. 29. [W] Diniwed ; diffygiol o synwyr.

69.
N'âd hwy chwiffio[X] yn y seler,
N'âd hwy feddwi ar un amser,
N'âd hwy sugno mwg y ddalen,
Sydd yn speilio'r bol a'r cefen.[Y]

70.
N'âd hwy hoffi ffasiwn[Z] anllad,
Ar eu gwallt nac ar eu dillad;
Pâr i bob un fyn'd yn weddaidd,
Fyn'd yn gryno, ac yn g'ruaidd.

71.
Ar y Sabbath n'âd hwy i'r pebyll
Lle mae'r deillion yn ymgynnull,
Nac i dramwy i'r tafarnau,
Lle mae'r diawl yn cadw ei wyliau.

72.
Dos i'th eglwys blwyf y Suliau,
A'th holl dylwyth wrth dy sodlau,
I addoli Duw'n gyhoeddus,
Gyda'r dyrfa'n ddiesgeulus.

73.
N'âd i'th dylwyth drigo gartre'
Amser Gosper[A] ar y Suliau,
N'âd hwy loetran[B] ar y Sabboth;
Y sawl a chwario chwarient[C] dranno'th.

74.
Na ddod ormod waith anesmwyth
Ddyddiau'r wythnos ar dy dylwyth,
Lwa[D] ambell awr yn llawen,
I'r diffygiol godi ei gefen.[E]

75.
Ar y Sabbath n'âd hwy'n segur,
Pâr i bob un chwilio'r 'Sgrythyr,
Ac i weithio gwaith Duw'n esgud,[F]
O flaen un-gwaith a fo gennyd.

76.
Dysg dy dylwyth ar y Suliau
Bob yr un i ganu Salmau,
Ac ymbyngcio'n[G] llon â'u gilydd
Am Air Duw a phyngciau crefydd.

77.
Ar bob cinio, ar bob swpper,
Pâr i ryw un ddarllen chapter,[H]
I roi ymborth i bob enaid,
Pan bo'r corph yn cael ei gyfraid.

78.
N'âd dy dŷ, na hwyr na borau,
Heb wasanaeth a gweddïau;
Gwell i'th dylwyth fod heb swpper
Tra font byw, na bod heb osber.[I]

79.
N'âd i'th eglwys fod un amser,
Heb wasanaeth pryd a gosper,
Nac heb aberth,[J] hwyr a borau,
I'r Tad nefol am ei ddoniau.

80.
N'âd un cornel a fo ynddi,
Heb ei 'sgubo o bob brynti,
A'r ysgubell o 'difeirwch,
Nes cael ffafr[K] Duw a'i heddwch.

81.
Golch ei llawr â heilltion ddagrau,
Trwsia'i gwelydd â rhinweddau,
N'âd ei hallor heb dân arni,
Ac aroglau mawl a gweddi.

82.
Cais dy hunan chwareu'r 'ffeiriad,[L]
Galw ar enw Duw yn wastad,
Pâr i'th bobol gyd-fyfyrio
Gyda thi tre'ch yn gweddïo.

83.
Pob pen-teulu carcus, cymmwys,
Ddylai fod fel gŵr o'r eglwys,[M]
Yn cynghori, yn rhybuddio
Pawb o'i dŷ, yn oreu ag allo.

84.
A'r fath drefen sy'n yr eglwys,
Yn rheoli pawb yn gymmwys,
Ddylai fod yn nhŷ pob Cristion,
I reoli'r tŷ a'r dynion.

85.
Gosod un neu ddau o'th deulu
Fel wardeniaid,[N] i'th gyd-helpu,
Gadw'th bobol oll wrth drefen,
A'u rheoli yn dy absen.[O]

86.
Rhaid yw disgwyl[P] ar arferion
Ac ymddygiad pawb o'th ddynion,
Ac ar lwybrau'r rhai sy'n pechu,
Fel y gallech eu ceryddu.

87.
N'âd un drwg-ddyn heb ei gospi.
Yn ol mesur ei ddrygioni,
Rhag i eraill bechu fwyfwy,
Ac it' ffafrio'r[Q] anghym'radwy.

88.
Dyro rybudd i'r troseddwr
Dair-gwaith bedair, 'wella'i gyflwr,
Cyn ei daflu ffwrdd o'r gorlan;
Oni wella, tro ef allan.

[X] *Quaff*, yfed yn helaeth. [Y] Rhwystra hwynt i fygu tobacco. [Z] *Fashion*, dull. [A] *Vesper*, (Lladin) hwyr; Gwasanaeth Prydnhawnol. [B] *Loiter*, segura. [C] "Ond gwaglent chwariaethau pechadurus."—S. Hughes. [D] *Allow*, caniattau. [E] Gorphwys. [F] Dyfal, diwyd. [G] Ymddiddan, ymresymu. [H] *Chapter*, pennod. [I] Gweddi hwyrol. [J] Aberth, moliant. Heb. 13. 15. [K] *Favour*, boddlondeb, cymmeradwyaeth. [L] Cyflawni swydd offeiriad. [M] Eglwyswr, offeiriad. [N] *Wardens*, goruchwylwyr. [O] *Absence*, absennoldeb—pan na fyddot ti gartref. [P] Sylwi, craffu. [Q] *Favour*, arbed, ochri iddo.

89.
Os bydd meddwon na bydd sobor,
Os bydd drel [R] na dderbyn gynghor,
Un di-grêd na charo grefydd,
Tro hwy maes yn ol cael rhybudd.

90.
Os bydd morwyn yn 'sgoldïes,[S]
Ac heb barchu Sara ei meistres,[T]
Bwrw Hagar i'r drws allan,[U]
Gad i'r feistres gael ei hamcan.

91.
N'âd i'th ddynion fod yn segur,
Rho ryw dasg[V] i bawb i'w wneuthur;
Maeth diffrwythder, mamaeth, gw'rad-
wydd,
Yw cyd-ddwyn â segurllydrwydd.[W]

92.
Mynn wel'd pawb o'th blant a'th deulu
Yn myn'd mewn pryd bob nos i gysgu,
Arfer ddrwg yw gadael gweision,
Fyn'd i gysgu pan y mynnon'.

93.
Pan bo'n amser myn'd i gysgu,
Cais gan Grist fendithio'th deulu;
A bod arnynt oll yn Geidwad,
Gwedi'n cymmer di dy gennad.[X]

94.
A rho rybudd i'th holl bobol
I alw ar Dduw yn ddefosiynol,[Y]
Fawr a bach, ar ben eu gliniau,
Cyn yr elont i'w gwelŷau.

95.
Ac rhag ofan i Dduw gyrchu,
Rhai o'u cwsg i fyn'd i'w barnu,
Pâr i bob un lwyr ymg'weirio,[Z]
Fyn'd o flaen Duw cyn y cysgo.

96.
Os fel hyn y llywodraethi
Dy holl dylwyth a'th holl letty,
Duw fendithia'th dŷ a'th dylwyth,
Ac fe'ch gwna chwi oll yn esmwyth.

97.
Crist a breswyl yn dy demel,[A]
Crist a'th wrendy yn dy drafael,
Crist a'th dderbyn o'th lân eglwys,
Ar y diwedd i Baradwys.[B]

## LXXIX.—DYLEDSWYDD PLANT I'W RHIENI.

1.
Os plentyn wyt, rho wir anrhydedd
I'th dad a'th fam, trwy barch a mawr-
Duw sy'n erchi eu hanrhydeddu [edd;
Os gras a hir-oes a chwennychi.[A]

2.
Gwna'r peth archo dy rieni,
Prawf[B] ym mhob peth eu boddloni;
Tra na cheisiont gennyt bechu,
Gwna bob peth a font yn fynnu.[C]

3.
Derbyn gynghor,[D] derbyn gerydd,
Derbyn gosp dy dad yn ufudd;
Derbyn addysg pan fo'n dy siacco,[E]
Derbyn bob athrawiaeth ganddo.

4.
Os dwl, os dall, os poeth, os lloerig,
Os annioddefgar, a dottiedig,[F]
A fydd dy dad a'th fam mewn henaint,
Godde'u gwendid drwy ddioddefaint.

5.
Os bydd dy dad a'th fam mewn tlodi,
A chennyt tithau fodd i'w peri,[G]
Maetha'n dirion y ddau henddyn,
Fel y maeth'sont dithau'n blentyn.[H]

6.
Dilyn siampl y ciconia,[I]
Sy'n porthi ei dad pan fyddo gwanna',
Yn c'weirio[J] ei nyth, yn ei adeinio,[K]
Yn hen, yn wan, heb allu cyffro.

7.
Dilyn arfer y dolphiniaid,[L]
Sy'n porthi eu tada'u mam yn weiniaid,
Gan eu cadw pan font gwanna',
Rhag i'r pysgod mawr eu difa.[M]

8.
Gw'radwydd mawr i feibion dynion,
Fod yn waeth na'r adar gwylltion;
Gwaeth na'r pysgod mewn caledi,
Wrth y rhai roes fywyd ini.

[R] Dyn anfoesol. [S] *Scold*, menyw anynad, gelntachlyd. [T] Gen. 16. 4. [U] Gen. 21. 10. [V] *Task*, gwaith pennodol. [W] Seguryd. Preg. 10. 18. [X] Ymadawa. [Y] *Devotional*, parchus, crefyddol. [Z] Ymbarottol [A] Ioan 14. 23. [B] 1 Sam. 2. 30.

[A] Eph. 6. 2, 3. [B] Cais, ymdrech. [C] Ewyllysio. [D] Diar. 4. 1. [E] *Check*, ceryddu, rhwystro i ddrygioni. [F] *Dottard*, un wedi p nysgafnu. [G] Cynnal. [H] 1 Tim. 5. 4. [I] Math o aderyn. [J] Esmwytho. [K] Yn ei gyfodi ar ei adenydd. [L] *Dolphins*, pysgod o'r enw. [M] Sylwyd o'r blaen ar y defnydd rhagorol a wna yr Awdwr o bob hanesion a thraddodiadau a gredid yn ei amser ef, gan nad pa un a fyddai sail iddynt neu beidio.

9.
Os wyt ŵr mawr o alwad[N] uchel,
A'th dad yn dlawd, a'i radd yn isel,
Rho barch i'th dad, er cuwch[O] dy alw-
Anrhydedda'th fam yn wastad. [ad,

10.
Er bod Joseph yn rheoli
Gwlad yr Aipht, a'i dad mewn tlodi,
Fe wnai Joseph fawr anrhydedd,
Idd ei dad er maint ei waeledd.[P]

11.
Er bod Salomon yn frenhin,
Ar ei orsedd yn gyffredin,
Fe ddisgynnai oddiar ei orsedd,
I barchu ei fam â mawr anrhydedd.[Q]

12.
Er bod Crist yn Dduw[R] yn ddyn,
Yn uwch na neb, yn well nag un,
Fe barchai ei fam, fe barchai ei dad-
maeth,
Fe fyddai ufudd i'w hathrawiaeth.[S]

13.
Ped fait ti Dduwc,[T] nid llai dy ddyled,
I barchu'th dad a'th fam, er tlotted;
Ni rydd uchelfaint rydd-did iti
Laesu'th[U] ddyled i'th rieni.

14.
Mae'th dad yn dad, ped fai ef cobler,[V]
A thithau'n fab, ped fait ti 'sgwier;[W]
Tra f'ech di'n fab, mae Duw'n dy
rwymo
Roi barch i'th dad, pwy bynnag fytho.

15.
Pan oeddit wan heb fedru cwnnu,[X]
Heb fwyd i'w gnoi, heb laeth i'w
lyngcu, [helpodd:
Heb glwt[Y] i'th gylch, dy fam a'th
Pa dâl a roi i'r hon a'th fagodd?

16.
Yn hir hi'th ddygodd tan ei gwregys,[Z]
A'i gwaed hi'th borthodd yno naw-mis,
A'i llaeth hi'th olchodd o'th holl frynti:
Pa dâl pwyth a wnai di iddi?

17.
Yn glaf hi geisiodd dy ddiddanu,
Lawer nos, gan golli ei chysgu,
Gan dy lwlan[A] rhwng ei breichiau,
Pan bait ti ar dorri yn rhengau.[B]

18.
Rho anrhydedd prudd[C] gan hynny,
I'th rieni am dy fagu;
N'âd wall[D] arnynt hyd dy farw,
Tr'o[E] gwerth ceiniog yn dy helw.[F]

19.
Y parch a'r bri, y bwyd a'r trwsiad,
A roech i'th dad yn hen-wr ingnad,[G]
A rydd dy fab i tithau'n hen-ddyn,
Wrth union farn, cyn del dy derfyn.

20.
Y garthen rawn a fu ar wely
Dy dad wrth orwedd yn y beudy,
A geidw'th fab i tithau'i orwedd,
Ar y daflod cyn y diwedd.

21.
Y mesur cwtta'r hwn a roddech,
A roddi'r iti pan heneiddiech:[H]
Yr ŵyr a ddial, medd y wlad,
Y mesur byr a ro'ech i'th dad.

22.
Bydd gan hynny hael a serchog,
Rhwydd a thirion, a thrugarog,
Wrth dy dad a'th fam mewn henaint,
Fel y caffech dithau'r cymmaint.

23.
Na ddos, fel Esau, i briodi,
Heb gael cennad dy rieni;[I]
Odid i Dduw 'rioed fendithio
'R fath briodas wyllt, na'i llwyddo.

24.
Os anweddus yw'th rieni,
Nid oes iti mo'u hammharchu,
Na'u bychanu, hyd eu diwedd,
Ond gweddio am wella eu buchedd.

25.
Cham, am watwor Noah ei dad,
A drwm-felldithiwyd yn ei hâd;[J]
Mae'r felldith hon heb fyned etto
O grwyn y Mŵrs[K] a ddaeth o hono.

26.
Absalom deg a fu anufudd,
A thrawsi'w dad, hen frenhin Dafydd,[L]
Duw a'i crogodd wrth ei locsen,[M]
Am ei drawsedd, wrth frig derwen.[N]

27.
Parcha'th dad a'th fam gan hynny,
Helpa'r[O] ddau pan font yn ffaelu;[P]
Felly'r estyn Duw dy ddyddiau,
Yn y tir lle bo dy drigle.[Q]

[N] Swydd, sefyllfa. [O] Er mor uchel. [P] Gen. 46. 29. [Q] 1 Bren. 2. 19. [R] Rhuf. 9. 5. [S] Luc 2. 51. [T] *Duke*, tywysog, enw o anrhydedd. [U] Lleihau. [V] *Cobbler*. cyweiriwr esgidiau. [W] *Esquire*, yswain, uchelwr. [X] Cyfodi. [Y] *Clout*, pilyn, dilledyn. [Z] Rhwymyn am y canol. [A] *Lull*, ysgwyd a chanu i ddiddanu plentyn. [B] Ar dorri yn ddarnau gan lefain. [C] Parchus, didwyll. [D] Diffyg, eisiau. [E] Tra fyddo. [F] Yn dy feddiant. [G] Anynad; "blinderus."—S. Hughes. [H] Luc 6. 38. [I] Gen. 26. 34, 35. [J] Gen. 9. 25. [K] *Moors*, dynion duon. [L] 2 Sam. 15. 10. [M] *Lock*, cudyn o wallt. [N] 2 Sam. 18. 9. [O] *Help*, cynnorthwyo. [P] *Fail*, methu. [Q] Exod. 20. 12.

## LXXX.—Y PETHAU A DDYLAI DYN FYFYRIO ARNYNT AR Y SABBOTH, WRTH FYNED I'R EGLWYS, A'R MODD Y MAE YMDDWYN YNO.

1.

CYN dy fyn'd i'r llan,[A] wrth gerdded,[B]
Meddwl i b'le 'r wyt ti'n myned,
O flaen pwy, ac i ba bwrpas,
A dos gwedi'n iddi'n addas.

2.

'R wyt ti'n myn'd i dŷ'r Goruchaf,
O flaen Duw yr Emp'rwr[C] mwyaf,
I chwedleua[D] ar dy ddeulin,
A'th Greawdwr ac â'th Frenhin.

3.

'R wyt ti'n myn'd i lys Jehofah,
I gael clywed Duw gorucha'
Yn ymddiddan â thi'n hyfryd,
Deg a theg,[E] o air y bywyd.

4.

'R wyt ti'n myn'd yn brudd[F] i adde'
O flaen Duw dy holl gamweddau,
Ac i ddeisyf ei drugaredd,
Gras, a grym i wella'th fuchedd.[G]

5.

'R wyt ti'n myn'd i geisio pardwn,[H]
Nawdd, a gras, ac absoliwsiwn[I]
Gan dy Grist, trwy enau'r 'ffeiriad,
Am dy bechod a'th gam'ddygiad.

6.

'R wyt ti'n myn'd i lwyr weddïo
Ar yr Arglwydd mawr sy'n addo
Rhoi in' bob peth sydd angenrhaid,
At y corph ac at yr enaid.[J]

7.

'R wyt ti'n myned i fendithio
Duw, am bob dawn a ge'st ganddo,
Ac i roddi i'r Gorucha'
Glod a moliant gyda'r dyrfa.[K]

8.

'R wyt ti'n myn'd i wrando'n hyfryd,
Efengyl Crist, a gair y bywyd,
Ewyllys Duw, a'i gyfraith sanctaidd,
I'th gyf'rwyddo i fyw'n Grist'nogaidd.

9.

'R wyt ti'n myn'd i geisio cyfran
O hael fendith Duw ei hunan,[L]
I'th rwyddhau y ffordd y cerddech,
Ac i lwyddo'r hyn a wnelech.

10.

Dos, gan hynny, trwy lawenydd,[M]
I dŷ Dduw â dirfawr awydd,
A hiraetha am fyn'd yno,
Fel yr hŷdd am ddyfroedd Silo.[N]

11.

Dos yn llawen, dos yn siriol,
Dos yn eon,[O] dos yn foesol,
Dos yn fuan, dos yn foreu,
Dos i dŷ Dduw ar dy liniau.

12.

Dos i'r eglwys gyda'r cyntaf,
Aros ynddi gyda'r olaf;
Tra f'ech[P] yno, na fydd segur,
Gweithia waith dy Dduw yn brysur.[Q]

13.

Na fydd segur yn nhŷ Dduw,
Gweithia ei waith yn brudd[R] tre'ch [byw;[S]
Melldigedig yw'r dyn gwallus,[T]
A wnel waith ei Dduw'n dwyllodrus.[U]

14.

Cwymp yn isel ar dy ddeu-lin
Llef yn eiriol[V] ar dy Frenhin;
Prudd weddïa â'th holl galon,
Na ragrithia[W] os wyt Gristion.

15.

Gwrando'r gair yn dra awyddus,[X]
Derbyn hwn i'th galon garcus,[Y]
N'âd i'r brain a'r fall[Z] ei 'sglyffied[A]
Nes ei ffrwytho ar ei ganfed.[B]

16.

Gochel edrych hwnt[C] ac yma,
Gochel gysgu na chwedleua,
Ond gwna naill ai prudd weddïo,
Gwrando'r gair, neu fyn'd oddi yno.

17.

Ni all Duw, yr union Farnwr,
Aros[D] edrych ar ragrithiwr,
A fo'n cym'ryd arno addoli,
Ac heb wneuthur dim o ddifri'.

18.

Pan weddïo'r gŵr eglwysig,[E]
Cyd-weddïa âg 'fo'n ystig,[F]
Air yn ngair, o'r dechreu i'r diwedd,
Mewn cyfundeb a chynghanedd.

[A] Lle cyssegredig, Eglwys. [B] Preg. 5. 1. [C] *Emperor*, ymerawdwr. [D] Ymddiddan. [E] Yn hynaws, yn fwynaidd. [F] Difrifol. [G] Ymddygiad, ymarweddiad. [H] *Pardon*, maddeuant. [I] *Absolution*, rhyddhad, gollyngdod. "Rhan o swydd Gweinidog yw cyhoeddi maddeuant i'r credadyn edifeiriol, ac nid i neb arall. Luc 24. 47. Esay 55. 7. Ioan 20. 23. Esay 57. 21." S. Hughes. [J] Psalm 34. 10. [K] Psalm 95. 2, 6. [L] Num. 6. 23, &c. [M] Psalm 100. 2. [N] Psalm 42. 1. [O] Hyderus, calonnog. [P] Fyddech. [Q] Yn egniol. Preg. 9. 10. [R] Difrifol. [S] Tra fyddech. [T] Belius. [U] Jer. 48. 10. [V] Yn daer. Jer. 29. 13. [W] Mat. 15. 7. 8. [X] Diar. 5. 1. [Y] *Careful*, gofalus. Psalm 119. 11. [Z] Y diafol. [A] Ysglyfaethu. [B] Mat. 13. 23. [C] Draw. [D] Goddef. [E] Y Gweinidog. [F] Yn ddyfal.

19.
Pan pregethir yr efengyl,
Gochel droi at hon dy wegil;
Gallu Duw yw'r 'Fengyl helaeth,
Sydd yn gweithio'n iechydwriaeth.[G]

20.
Craffa'n fanwl ar y 'ffeiriad,
Tro'n[H] pregethu, â'th ddau lygad;[I]
Cadw ei eiriau yn dy galon,
A chais ddilyn ei gynghorion.

21.
Cymmer bob gair ag a dd'wetto,
Megis cyngor i'th rybuddio,
Fel o bur enau Crist ei hunan,[J]
I fyw yn weddaidd yn ei ofan.

22.
Na ddos adref heb ystyriaeth,
Nes cael diwedd y gwasanaeth,
Ac na chytgam,[K] dan boen melldith,
Fyn'd i maes nes cael y fendith.[L]

23.
Bid[M] d'ymddygiad yn yr eglwys,
Yn Grist'nogaidd ac yn gymmwys,
Megis yn ngŵydd Duw ei hunan,
A'i angylion, fawr a bychan.

## LXXXI.—CYNGHOR I YMBAROTTOI CYN DYFOD I ADDOLI YN GYHOEDDUS.

1.
TYNN dy 'sgidiau, golch dy ddillad,
Ymsancteiddia cyn dy ddwad[A]
I dŷ'r Arglwydd i addoli,
O flaen gorsedd Tad goleuni.

2.
Cyffro'th yspryd, c'od dy galon,
Dring i'r mynydd uwch dae'rolion,
Gwel yr hwn sydd anweledig
Cyn yngenech[B] wrtho orig.[C]

3.
Cyn y delech o flaen Duw,
Meddwl byth mai Brenhin yw,
Ac na ddere[D] o flaen dy Frenhin,
Nes y delych ar dy ddeu-lin.

4.
Brenhin nefoedd, Tad angylion,
Crëwr daear, Barnwr dynion,
Duw'r dialau, Tad goleuni,
Wyt ar fedr[E] ei addoli.

5.
Dere'n barchus, dere'n barod,
Dere'n brudd[F] o flaen y Drindod;
Dere'n sanctaidd, dere'n ffyddlon,
Di gei'th arch[G] wrth fodd dy galon.

6.
Co'd dy olwg, tann dy ddwylo,
Plyg dy ddeu-lin, gostwng iddo,
Cur dy ddwyfron, bydd edifar,
Adde'th bechod, cais ei ffafar.[H]

7.
Galw ar y Tad yn danllyd,[I]
Yn enw'r Mab, trwy nerth yr Yspryd;
Cais ei deyrnas a'i gyfiawnder,
Ti gai'r cwbwl yn ddi-brinder.[J]

8.
Cais ogoniant Duw yn bennaf,
Cais nefolion bethau nesaf,
Cais ei ras yn dra awyddus,
Cais dy raid, os bydd ei 'wyllys.

9.
Cyn dy fyn'd i ddrws yr eglwys,
Edrych fod dy droed yn gymmwys;[K]
Bwrw heibio draws-feddyliau,
A gâd fydol fwriad gartre'.

10.
Abram ffyddlon, cyn addolai,
Rwymai ei asen yn yr hen-dre';[L]
Felly dylai pob dyn rwymo
Traws-feddyliau cyn gweddïo.

11.
Moesen hyfryd cyn y deuai
O flaen Duw, fe dynnai ei 'sgidiau;[M]
O tynn dithau dy fydolrwydd
Cyn y doech[N] o flaen yr Arglwydd.

12.
Joseph yntau fynnai ymg'weirio,[O]
Cyn ymddangos ger bron Pharo;[P]
Felly ymg'weiria dithau'n syw,[Q]
Cyn ymddangos ger bron Duw.

[G] Rhuf. 1. 16. [H] Tra fyddo yn. [I] Luc 4. 20. [J] Luc 10. 16. [K] Rhyfygu. [L] Y fendith Apostolaidd. 2 Cor. 13. 14. [M] Bydded.

[A] Dyfod. [B] Dywedyd, llefaru. [C] Dros ychydig. [D] Na thyred. [E] Yn bwriadu. [F] Syml, difrifol. [G] Cais, gofyniad. [H] *Favour*, ewyllys da. [I] Yn wresog. [J] Mat. 6. 33. [K] Preg. 5. 1. [L] Tir perchenn gedig gerllaw y mynydd. Gen. 22. 5. [M] Exod. 3. 5. [N] Y deuech. [O] Ymbarottoi. [P] Gen. 41. 14. [Q] Yn lân.

13.
Hesther dduwiol hithau ymolchwys,
Cyn myn'd ger bron Ahasuerus ;[R]
Ymolch dithau o'th ddrygioni,
Cyn rhoech ger bron Duw dy weddi.

14.
Pan y delech i dŷ Dduw,
Gwel mor hoff, mor hawddgar yw ;
A phan delych, dere'n chwarian,[S]
Mewn anrhydedd, parch, ac ofan.[T]

15.
Cwymp yn isel ar dy ddeu-lin,
Yn ei lŷs o flaen dy Frenhin,
Ac na yngan air o'th enau,
Nes ymostwng ar dy liniau.

16.
Ni rydd neb o'r saint triumphant,[U]
Yn y nef i'r Arglwydd foliant,
Nes y tynnont eu coronau,[V]
Ac ymostwng ar eu gliniau.

17.
Pa'm y cytgam[W] llwch a lludy,[X]
Ddod o'i flaen ef heb ymgrymmu ?
Pan y delont i weddïo,
Ac i fegian[Y] pardwn[Z] gantho.

18.
Crist ein meistr, fe 'mostyngai,
Ar ei wyneb pan gweddïai ;[A]
Braidd y gostwng rhai o'r gweision
Un o'u gliniau pan gweddïon'.

19.
Iago fwyaf[B] gynt addolai
Grist, mor ddyfal ar ei liniau,
Nes caledu yn y deinel
Groen pob glin fel carn y camel.

20.
Moesen,[C] Aaron, Josua, Samuel,
Dafydd, Selyf,[D] Joas, Daniel.
A'r holl saint sy'n rhoi goleuni[E]
Ini ar luniau brudd addoli.

21.
Gwedi cwympech ar dy ddeu-lin,
Mewn mawr barch o flaen dy Frenhin.
Ystyr beth, trwy brudd fyfyrio,[F]
Sy'n dy fryd i dd'wedyd wrtho.

22.
Daniel rasol a fyfyriai[G]
O flaen brenhin cyn llefarai ;
Tithau ddylit brudd fyfyrio
O flaen Duw, cyn yngan wrtho.

23.
Ar ol ystyr beth a dd'wedech,
Cur dy ddwyfron cyn gweddïech,[H]
A chydnebydd d'annheilyngdod,
A chais bardwn am dy bechod.

24.
Llef o'i flaen a chalon brysur,
Duw bydd rasol im' bechadur,
Sy'n annheilwng i edrych arnad,
Chwaithach derbyn fy nymuniad.

25.
Hael yw Duw i'r sawl a'i ceisiant,
Rhwydd yn rhoi i'r rhai ofynant ;
Rhoi i bawb heb ddim danodiaeth,[I]
Yn rhwydd eu rhaid yn daran[J] helaeth.

26.
Y peth a geisiech, cais trwy ffydd,[K]
Na chymmer ball, ond begia'n brudd ;
Nac ammeu dderbyn'r hyn a geisiech,
Os ceisi'n daer, ti gei ofynech.

27.
Nac ammeu ewyllys da dy Dad,
Na gallu Duw sy'n rhoi mor rhad ;
Duw galluog, Tad 'wyllysgar,
Helpwr[L] rhwydd yw'n Harglwydd hygar.

## LXXXII.—GWEDDI I'R HWN SYDD YN MYNED I ADDOLI DUW YN GYHOEDDUS.

1.
Duw trugarog, Tad goleuni,
Rhoddwr gras a phob daioni,
Er mwyn Crist clyw weddi eiriol,[A]
Un o'th blant dros bawb o'th bobol.

2.
'R ŷm ni heddyw yn ymgynnull
I'th addoli yn dy bebyll ;
Duw, rho allu in' a meder,
I'th addoli fel y dirper.[B]

[R] Esther 2. 12. [S] Araf. [T] Ofn. [U] *Triumphant*, buddugoliaethus, gorfoleddus. [V] Dat. 4. 10. [W] Rhyfygu. [X] Lludw. [Y] *Beg*, gofyn, ceisio. [Z] *Pardon*, maddeuant. [A] Mat. 26. 39. [B] Iago y mwyaf, neu yr Hynaf, oedd fab i Zebedeus, a brawd Ioan yr Efangylwr. [C] Moses. [D] Solomon. [E] Cyfarwyddyd. [F] Psalm 5. 1. [G] Dan. 4. 19. [H] Luc 18. 13. [I] Iago 1. 5. [J] Yn dra helaeth. [K] Iago 1. 6. [L] *Helper*, cynnorthwywr.

[A] Taer. [B] Y dylai, y weddai.

3.
A bendithia di'n cyfarfod,
A chyf'rwydda ein myfyrdod,
A dod awen [C] yn ein calon
I'th addoli bawb yn ffyddlon.

4.
Gwna ni'n addas ac yn weddaidd
I glodfori d'enw sanctaidd;
Gwna ni'n barod a gofalus,
Bawb i wrando d'air yn barchus.

5.
Duw, par'toa di'n calonnau,
Crist, sancteiddia di'n meddyliau,
Awcha'n zêl,[D] 'chwanega'n hawydd
I'th addoli mewn gwir grefydd.

6.
Cwyn [E] y galon, deffro'r yspryd,
'Nynn [F] â'th ras ein hawen oerllyd,
Settla'r [G] meddwl, dysg y genau
I'th glodfori am dy ddoniau.

7.
Tynn oddi wrthym draws-fwriadau,
N'âd i'r rhai'n ŵyrdroi'n meddyliau;
Pâr in' wrando d'air yn fuddiol,
A gweddïo'n ddefosiynol.[H]

8.
O cyf'rwydda â'th Lân Yspryd,
Ni i weddïo bawb yn danllyd,
Fel y caffom gennyt wrando,
A rho ini fom yn geisio.

9.
Dod dy fysedd yn ein clustiau,
Pâr i'n wrando d'air yn olau,
A rho feder i bob calon
I ddeallu hwn yn union.

10.
Gwedi deall hwn, a'i gofio,
Duw, rho gymhorth i'w bracteisio,[I]
A'i wir ddilyn yn awyddus,
Nes y dycco ffrwyth toraethus.[J]

11.
Duw, bendithia di'n pregethwr,[K]
Rho iddo ddeall, gras, a chryfdwr,
I bregethu gair y bywyd,
Ini'n bur o'th 'Fengyl hyfryd.

12.
Goleua'i feddwl a'i fyfyrdod,
'Nynn ei galon, dysg ei dafod,
Nertha i barthu'r [L] gair yn fedrus,
Ini bawb yn ol d'ewyllys.

13.
Nertha ef i'n tynnu o'r t'wllwch [M]
I'r goleuni a'r diddanwch,
O gorlannau tywyll Satan,
I wir deyrnas Crist a'i gorlan.

14.
Gwna'i athrawiaeth ini'n rymmus,
Gwna in' ei ddilyn yn awyddus,
Gwna ini bawb ei garu yntau,
Lle mae'n gwylied ein heneidiau.[N]

15.
Duw, bendithia ef a ninnau,
Duw, sancteiddia di'n calonnau,
Duw, rho ras a meder ini
Bawb yn brysur [O] dy addoli.

## LXXXIII.—POROTTOAD I'R CYMMUN.

1.
Pob rhyw Gristion ag a garo
Ddysgu'r modd y mae ymg'weirio,[A]
Myn'd yn lân i ford [B] yr Arglwydd,
Dysged hyn o weisi'n ebrwydd.

2.
Cyn yr elech rhwp [C] i'r Cymmun,
Ystyr b'le yr wyt yn 'rofyn,[D]
A pha beth yr wyt ti ar feder
Cael ei dderbyn yn y swpper.

3.
Nid i ford rhyw Emprwr llidiog,[E]
Ond i ford yr Hollalluog,
'Rwyt ti'n 'rofyn myn'd i fwytta
Bwyd sydd gan'-mil gwell na manna.

4.
Gwell na manna,[F] os fel Cristion
Y derbynni hwn yn ffyddlon;
Gwaeth na gwenwyn, [G] os trwy anras[H]
Y derbynni hwn fel Suddas.[I]

5.
Meddwl dithau am ei dderbyn
Yn Grist'nogaidd, fel y perthyn,[J]
Mewn sancteiddrwydd, ffydd a gobaith,
Glendid pur, a chariad perffaith.

[C] Awydd, cynhyrfiad. [D] *Zeal*, awyddfyd, gwresogrwydd yspryd. [E] Cyfod. [F] Ennyna. [G] *Settle*, sefydlu. [H] *Devotional*, crefyddol, parchus. [I] *Practise*, arferyd. [J] Helaeth, cynnyrchiol. [K] 2 Thes. 3. 1. [L] Dosparthu, iawn gyfranu. 2 Tim. 2. 15. [M] Act. 26. 18. [N] Heb. 13. 17. [O] Dyfal, diwyd.

[A] Ymbarottoi. [B] *Board*, bwrdd. [C] Yn fyrbwyll. [D] Bwriadu myned. [E] *Emperor*, ymerawdwr. [F] Ioan 6. 49, 50. [G] 1 Cor. 11. 29. [H] Annuwioldeb, anrasoldeb. [I] Judas Iscariot. Ioan 13. 26, 27. [J] Y dylid, y gweddai.

6.
Gochel redeg yn ammharod
I ford Crist yn llawn o bechod,
Rhag it' dderbyn barnedigaeth
Lle caiff eraill iechydwriaeth.

7.
Cofia'n garcus pa sancteiddrwydd,
Pa ymg'weirio, pa barodrwydd,
Gynt osododd Duw ar dasc,
Cyn cai Israel fwytta'r Pasc.[K]

8.
Cofia hefyd pa ymolchi,
Pa lanhau, a pha syberwi [L]
A wnaeth Crist â'i ddwylo tyner,
Ar ei saint, cyn profi ei swpper.[M]

9.
O! na ddere dithau'n sarnllyd,[N]
Yn dy rŵd a'th bechod drewllyd,
I ford Crist, heb lwyr ymolchi,
O'th holl feiau a'th holl frynti.

10.
Bwrw lefain pob ryw bechod,[O]
Llid, cenfigen, malais, meddwdod,
Rhyfyg, ffalsedd, [P] ffrwd o'th galon,
Ni thryg Crist y man lle byddon'.

11.
Cofia fel yr aeth hen Satan
Gynt i Suddas, fradwr aflan,
Yn ol iddo fwytta'r tammaid [Q]
Yn ei bechod brwnt, mor enbaid.[R]

12.
Gochel dithau rhag digwyddo
Y fath beth yr eilwaith etto,
Os ti ddoi [S] i ford yr Arglwydd
Yn d' aflendid, heb barodrwydd.

13.
Cofia i'r Corinthiaid feirw,
A nychu'n hir o'r gwres a'r gwayw,[T]
O achos myn'd yn ammharodol,
Lwyr eu pen [U] i'r bwrdd sancteiddiol.

14.
Gochel dithau fyn'd yn rhwysgus,[V]
I'r ford hon, heb ofn parchus,
Heb ystyried beth sydd arni,
Rhag dy farw yn dy frynti.

15.
Hola dy hunan,[W] a mynn wybod
'Wyt ti'n edifar am dy bechod,
Ac a oes gennyt ffydd a gobaith,
Calon lân, a chariad perffaith.

16.
Barna dy hun yn ddi-weniaith,
Fel na farno Duw di'r eilwaith;
Ac lle gwelych ddim yn eisiau,
Cais gan Grist ei roi, neu faddeu.

17.
Pedwar peth sydd angenrheidiol
I rhai fynn gymmuno'n dduwiol,
Ffydd Grist'nogaidd, Gwir 'difeirwch,
Cariad perffaith, Diolchgarwch.

18.
Nid oes lle bod heb y lleia'
O'r rhai hyn, cyn myn'd i fwytta;
A'r neb a êl i swpper hebddyn',
Ni chaiff les oddiwrth y Cymmun.

I. FFYDD.

19.
Ffydd sydd gynta'n angenrheidiol,
I gredu i Grist roi'i hun yn hollol
Ar y groes, i farw drosom,[X]
Am y pechod oll a wnaethom.

20.
Ffydd sy'n cyrraedd ffrwyth y pardwn[Y]
A bwrcasodd [Z] Crist drwy bassiwn,[A]
Ac yn derbyn ar y swpper
Grist ei hun, a'i holl gyfiawnder.

21.
Nid yw Crist yn fwyd i'r bola,
I'w gnoi â dant a'i roi i'r cylla:
Bwyd yw Crist i borthi enaid [B]
Yn ysprydol, trwy ffydd danbaid.[C]

22.
Ni all neb fwynhau'n ysprydol,
Grist a'i waed, a'i gorph sancteiddiol,
Ond yn unig trwy ffydd rymmus [D]
A ddel o galon edifarus.

23.
Mae'r efengyl ini'n dangos,
Fod Crist yn y nef yn aros,[E]
Ac na ddichon undyn cnawdol,
Fwytta Crist [F] ond yn ysprydol.[G]

24.
Ffydd, gan hynny, sydd angenrhaid,
I gyrraedd Crist, i borthi'r enaid,
Ac i ddyrcha'r [H] galon atto
Os mynn enaid borthi arno.

25.
Bwyd i'r enaid, bwyd i'r galon,
Bwyd yw Crist i'r meddwl ffyddlon,
Bwyd i'w gym'ryd trwy ffydd fywiol,
Bwyd i'w fwytta yn ysprydol.

[K] Exod. pen. 12. [L] Ymdrwsio. [M] Ioan 13. 4, 5. [N] Brwnt, aflan. [O] 1 Cor. 5. 7, 8. [P] *Falsity*, twyll, anonestrwydd. [Q] Ioan 13. 27. [R] Enbyd, peryglus. [S] A ddeui. [T] 1 Cor. 11. 30. [U] Yn fyrbwyll. [V] Rhyfygus. [W] 1 Cor. 11. 28, 31. [X] Eph. 5. 2. [Y] *Pardon*, maddeuant. [Z] *Purchase*, prynu. [A] *Passion*, dioddefaint. [B] Ioan 6. 35. [C] Eglur, goleu. [D] Eph. 3. 7. [E] 1 Petr 3. 32. Actau 3. 20, 21. [F] Y mae y Ficer yma yn gwrthwynebu athrawiaeth y Pabyddion ynghylch Traws sylweddiad, y rhai a haerant fod y bara a'r gwin yn y Cymmun, ar ol eu cyssegru, yn troi yn wir gorph a gwaed Crist. Gwrthbrofir y cyfeiliornad hwn yn yr Wythfed ar Hugain o Erthyglau Eglwys Loegr. [G] Ioan 6. 63. [H] Dyrchafu.

26.

Pan bo'r corph yn cym'ryd bara[I]
Yn y Cymmun, er ei goffa,
Cwyn[J] dy galon y pryd hynny,
A thrwy ffydd mwynha Grist Iesu.

II. EDIFEIRWCH.

27.

Nesa' at ffydd rhaid edifeirwch,
Am bob pechod, trwy ddyfalwch,[K]
A llwyr fwriad gwella beunydd,
Troi at Dduw mewn buchedd newydd.

28.

Edifara o ddyfnder calon,
Am bob bai, trwy ddagrau heilltion,
Ac na ddere[L] i ford yr Arglwydd
Nes edifaru, rhag cael tramgwydd.

29.

Golch dy faril,[M] carth dy waddod,
Na ddod win mewn casc[N] o bechod,
Rhag i'r gwin mewn llester aflan,
Dorri'r casc, a rhedeg allan.

30.

Ni thrig Duw, na'r Oen, na'r G'lommen,
Lle bo pechod a chenfigen;
Golch gan hynny'n lân dy lester,
Os derbynni Grist na'i swpper.

31.

Chwyd dy feddwdod, cladd dy frynti,
Gad dy faswedd brwnt a'th wegi,
Attal nwyfiant, ffrwyna natur,
Gwella'th fuchedd, na fydd segur.

32.

Golch dy ddwylo mewn uniondeb,[O]
Golch dy feddwl mewn duwioldeb'
Golch mewn cariad ben a chynffon,[P]
Os derbynni Grist i'th galon.

33.

Câr gyfiawnder, dilyn sobrwydd,
Arfer lendid a sancteiddrwydd,
Gwisg am danat gariad perffaith,
N'ad un bai dy 'nurddo[Q] eilwaith.

34.

Nid oes rhoi'r cŵn o'r pethau sanctaidd,
Na'r gwerthfawr berls[R] i'r moch anghru'aidd, [an,
Na'r manna gwyn mewn halog[S] groch-
Na Chymmun Crist mewn cylla aflan.

35.

Mewn crochan aur y dodir manna,[T]
A chelain[U] Crist mewn crys o'r meina'.[V]
A gwin o'r grawn mewn baril g'ruaidd,
A'r Cymmun hwn mewn calon sanct-aidd.

III. CARIAD.

36.

Y trydydd peth sydd raid ei geisio
Yw cariad perffaith cyn cymmuno,[W]
Heb ddwyn meddwl drwg at undyn,
Pell nac agos câr na gelyn.

37.

Cariad ydyw'r nodau[X] tirion
Sydd gan Grist[Y] ar lifrai'i weision,
Ac wrth gariad yr adwaenir
Defaid Crist[Z] oddiwrth y geifyr.

38.

Nid yw Crist yn derbyn undyn
I fwynhau ef yn y Cymmun,
Ond yr hwn a fo'n ddi-ragraith[A]
A phob dyn mewn cariad perffaith.

39.

Ped fai gennyt fil o ddoniau,
A bod cariad i ti'n eisiau,[B]
Nid wyt deilwng byth i ddwad[C]
I ford Crist, heb berffaith gariad.

40.

Câr, gan hynny, dy gym'dogion,
Maddeu'n rhwydd i'th holl elynion;[D]
Ac os gwnaethost gam âg undyn
Cymmod cyn bwyttaech y Cymmun.[E]

41.

Gochel ddyfod yn ddigofus,
I ford Crist mewn llid a mal'is,[F]
Rhag i Satan fyn'd i'th gylla
Gyda'r tammaid wrth ei fwytta.[G]

42.

Dysg di gan y neidyr dorchog,
Chwydu maes dy wenwyn llidiog,
Cyn dy fyn'd i'r ford yn llawen,
Rhag i'th falais ladd ei pherchen.

43.

Y neidyr fraith, medd rhai a'i gwelas,[H]
A chwyd ei gwenwyn ar y gamlas,[I]
Cyn yr yfo ddw'r o'r afon,
Rhag i'r gwenwyn dorri ei chalon.

[I] Luc 22. 19. [J] Cyfod. [K] Diwydrwydd. [L] Na thyred. [M] *Barrel*, llestr i gadw gwlybwr. [N] *Cask*, llestr, barril. [O] Cor. 7. 1. [P] Yr holl ddyn. [Q] Difwyno, aflanhau. [R] *Pearls*, gemmau, meini gwerthfawr. Mat. 7. 6. [S] Aflan, halogedig. [T] Heb. 9. 4. [U] Corph marw. [V] Mat. 27. 59. [W] "Cyn recefo," (derbyn).—S. Hughes. [X] "Arwms," (arwyddion).—S. Hughes. [Y] *Livery*, gwisgiadau, dillad. [Z] Ioan 13. 35, [A] Diragrith. [B] 1 Cor. 13. 1—13. [C] Dyfod. [D] Mat. 5. 44. [E] Mat. 5. 24. [F] *Malice*, dymuniad drwg. [G] Ioan 13. 27. [H] Gwelodd. [I] Lle dwfrllyd.

44.

Bwrw dithau dy lid allan,
A'th ddrwg-feddwl, a'th draws-amcan,
A'th holl falais, a'th genfigen,
Rhag i'r rhain andwyo [J] eu perchen.

45.

Os bydd gennyt y tri yma,—
Ffydd, 'Difeirwch, Cariad, coda,
Dere i'r Cymmun, mae it' reso,[K]
Crist ei hun sy'n d'alw atto.

46.

Pan y gwelych dorri'r bara,
A thywalltu'r gwin i'r cwppa',
Cofia fel y torrai'r waywffon
Gorph dy Grist nes gwaedu ei galon.[L]

47.

Pan dderbyniech o law'r 'ffeiriad
Fara a gwin, yn ol cyssegriad,
Derbyn Grist trwy ffydd i'th galon,
Portha d'enaid arno'n ffyddlon.

48.

Nid â dannedd y mae bwytta
Crist, yn gnawdol, a'i roi'r bola;
Ond trwy ffydd y mae'n ysprydol
Fwytta Crist, a'r galon fywiol.[M]

49.

C'od dy galon, dring i'r nefo'dd,
Edrych ar yr hwn a'th brynodd,
Cofia faint a wnaeth ef erod,[N]
Pan croeshoeliwyd am dy bechod.

50.

Cred i Grist ar groes a'i hoelion,
Offrwm drosot waed ei galon,
A phwrcasu bywyd iti,
'Rwyt ti'n bwytta Crist o ddifri'.[O]

51.

Os gofynni pa ddaioni
Ddyry Crist o'i swpper iti,
Pan dderbyniech hi'n Grist'nogaidd,
Mewn gwir ffydd a chariad perffaidd ?[P]

52.

Mae'n rhoi iti bardwn perffaith
O'th holl bechod cas a diffaith,
Gwedi'r Brenhin mawr ei selu,[Q]
A gwaed gwerthfawr calon Iesu.

53.

Mae'n rhoi pardwn,mae'n rhoi bywyd[R]
Mae'n rhoi cysur, mae'n rhoi iechyd,[S]
Mae'n rhoi'i Yspryd Glân a'i ddoniau,
Mae'n rhoi'i hun a'i holl rinweddau.

54.

Mae'n dy wneuthur di'n gyfrannog[T]
O'i holl ddoniau mawr galluog,
A thrwy'i Yspryd y mae'n trigo
Yn dy galon byth tra bytho.

55.

Y mae'n porthi d'enaid egwan
A'i wir gorph a'i waed ei hunan,
Ac yn rhoddi ei nefol Yspryd,
Iti'n ernes [U] o'r gwir fywyd.

IV. DIOLCHGARWCH.

56.

O pa ddyled mawr sydd arnad,
I foliannu Crist yn wastad,
Am dy wneuthur yn gyfrannog
O'r fath swpper fawr gyfoethog !

57.

A pha daliad sy'n dy bŵer,[V]
I roi iddo am ei fwynder,
Felly'n porthi d'enaid aflan,
A'i wir waed a'i gnawd ei hunan ?

58.

Na fydd dithau mor 'nifeilaidd,
A myn'd o'r llan yn anweddaidd,
Nes rhoi clod a moliant iddo,
Am yr ymborth a ge'st [W] gantho.

59.

Crist ni fwyttai fara barlys,[X]
Chwaithach bwyd oedd well ei relis,[Y]
Heb roi moliant mawr am dano,
I'w Dad nefol, heb anghofio.

60.

Pa faint mwy na ddylit tithau
Fwytta Crist y penna o'r seigiau,[Z]
Heb roi diolch i'r Duw cyfion,
Am ei Fab, o ddyfnder calon.

61.

A gwa'wdd nef, a dae'r, a dynion,
Seraphiniaid, ac angylion,
I'th gyd-helpu foli'r Arglwydd,
Am ei gariad a'i gar'digrwydd.

[J] Dinystrio, anafu. [K] Groesaw, derbyniad. [L] Ioan 19. 34. [M] Eph. 3. 17. [N] Drosot. [O] Yn wirioneddol. [P] *Perfect*, perffaith. [Q] *Seal*, selio. [R] Ioan 6. 51. [S] Iechydwriaeth. [T] 1 Cor. 10. 16. [U] *Earnest*, gwystl. [V] *Power*, gallu. [W] A gefaist. [X] *Barley*, haidd. [Y] *Relish*, blas. [Z] Dysgleidiau.

## LXXXIX.—Gweddi cyn derbyn y Cymmun.

1.
Arglwydd grasol, 'r hwn a roddaist
Iesu Grist, y mwya' geraist,
Fod yn bridwerth [A] dros ein beiau,
Ac yn ymborth i'n heneidiau;

2.
Dyro ras i minnau'n sanctaidd,
Ymbar'toi fel Cristion gweddaidd,
Dderbyn Crist trwy ffydd i'm calon,
I borthi f'enaid arno'n eon.[B]

3.
Carth [C] fy meddwl a'm cydwybod,
Golch fi'n llwyr oddiwrth fy mhechod,
Gwna fi'n llester glân i dderbyn
Crist i'm calon yn y Cymmun.

4.
Cryfha fy ffydd, amlha fy ngobaith,
Ennyn ynnof gariad perffaith, [aid
Sancteiddia'r corph, cyf'rwydda'r en-
I dderbyn Crist, y bwyd bendigaid.

5.
C'od fy nghalon cuwch [D] a'r nefo'dd
Lle mae Crist yr hwn a'm prynodd;
Pâr i'm henaid borthi arno,
A thrwy ffydd gael grym oddi wrtho.

6.
Pâr im' gredu fod im' bardwn [E]
Am fy mai, er mwyn ei bassiwn,[F]
A rhan hefyd o'i holl ddoniau,
A bwrcasodd [G] trwy loes angau.

7.
Pâr im' gredu y daw i drigo,
I fy nghalon byth tra bytho,
Ac na 'medy ei Sanctaidd Yspryd,
Nes fy nwyn i'r nefoedd hyfryd.

8.
N'âd gan hynny i mi 'nurddo [H]
Ei deml sanctaidd, lle mae'n trigo,[I]
Nac halogi byth o'm llester,
Ond ei gadw'n lân bob amser.

9.
Pâr im' hefyd ei glodfori,
Nos a dydd, hyd eitha' o'm gallu,
A'i fendithio'n brudd [J] bob amser,
Am yr ymborth sy'n ei swpper.

## Epigrams,

NEU WERSAU, AR GYNHEDDFAU RHAI DYNION A PHETHAU, AG A GRYBWYLLIR AM DANYNT YN YR YSGRYTHYR LAN, AC YN YR APOCRYPHA.[A]

ADDA.

Dysg, fy mab, wrth gwymp hen Adda,
Wel'd mor bryd [B] yw'r pechod lleia',
Ac mor enbyd cym'ryd gronyn.
O'r peth a fo Duw yn ei w'rafun.[C]

Cofia hefyd, tra f'ech [D] byw,
Gadw holl orch'mynion Duw,
Rhag dy blago,[E] megis Adda,
Os torri wnai'r gorchymmyn lleia.'

Os ca's Adda cymmaint dial,
Am ei waith yn bwytta'r afal,
Ystyr faint y bydd dïalau
Rhai sy'n byw ar gyfryw 'falau.

EFA.

Efa hen, a'i chwymp a'i hanffod,[F]
Sy'n rhoi iti rybydd hynod,
Na chytgammech,[G] tra f'ech byw,
Wrando'r cythraul o flaen Duw.

Pan y rhoddo Duw it' ddigon,
Dysg gan Efa fod yn foddlon;
Ac rhag iti golli'r cwbwl,
Byth na wrthgriff [H] fwy na'i feddwl.

AFAL.

Blin yw'r afal a wnai'r ddincod,
Ar bob dant o'r byd heb wybod;
Na fydd un o'r rhai ddymunai
Gael eu maeth ar gyfryw 'falau.

[A] Iawn. [B] Hyf, calonnog. [C] Glanha. [D] Mor uchel. [E] *Pardwn*, maddeuant. [F] *Passion*, dioddefaint. [G] *Purchase*, prynu. [H] Difwyno. [I] 1 Cor. 6. 19. [J] Yn ddifrifol.

[A] "Scrifeniadau dynol yw'r Apocrypha."—S. Hughes; eithr, fel y dywed Hierom, "y mae'r Eglwys yn eu darllen er siampl buchedd, ac addysg moesan; etto nid yw yn eu gosod i sicrhau un athrawiaeth." [B] Drud. [C] Gwahardd. [D] Fyddech. [E] *Plague*, cospi, poeni, taro â phla. [F] Anffawd, aflwydd. [G] Na ryfygwch. [H] "Ceisio yn wrthwyneb."—R. Tomas.

Oni bu'sai i Grist ddiodde'
Ar bren drosom ddu loes angeu,
Bu'sai'r byd i gyd mewn attal,[I]
Ym mhwll uffern, am un afal.

HAD Y WRAIG.

Er maint a fo drwg y ddraig,[J]
Dod dy drust[K] yn Had y Wraig,
Mae ef gwedi 'sigo ei siol,[L]
Torri'i chrib,[M] a thynnu'i chol.[N]

Os brath sarph â cholyn pechod
D'enaid bach, heb allu'i orfod,
Nid oes dim a wna it' les,
Nes myn'd at Grist, y Sarph o bres.

PARADWYS.

Adda gollodd hen Baradwys,
Am yr afal gynt a fwyttwys;[O]
Gochel dithau golli'r llall,[P]
Am fath 'falau, os 'dwyt gall.

CAIN.

Y dyn a wnelo ddrwg, fel Cain,
Medd Duw'n amlwg ac yn blain,[Q]
Nid ymedy drwg â'i dŷ
Nes dêl dial oddifry.

Gochel dywallt gwaed dyn gwirion,[R]
Megis Cain, y mwrddrwr[S] creulon:
A dywallto waed yn siccyr,
Ei waed yntau a dywelltir.[T]

Na wna 'lanas[U] yn y dirgel,
Duw ddatguddia fwrddrad[V] Abel;
Yn y dirgel os gwnâi fawr-ddrwg,
Duw a'i dial yn yr amlwg.[W]

ABEL.

Bydd fyw'n wirion, megis Abel,
Ofna Dduw, arfera'i demel;
Offrwm iddo nos a boreu,[X]
Aberth brudd[Y] ar ben dy liniau.

Dyro i Dduw dy holl offrymmau,
Dyro i'r 'ffeiriad dy ddegymmau,
Dyro i Cæsar dreth a theyrnged,[Z]
Dyro i bob rhyw ddyn ei ddyled.[A]

OFFRWM.

Pan offrymmech ddim i Dduw,
Offrwm iddo'r goreu o ryw;[B]
Ffiaidd gantho, ac nid hoff,
Y gwan, a'r gwael, y claf a'r cloff.[C]

Os offrymmi â'th holl galon,
Duw a dderbyn dy anrhegion;[D]
Oni offrymmi o'th lwyr fodd,
Byth ni dderbyn Duw dy rodd.[E]

ENOS.

Pan bo pawb yn myn'd yn ddiog,
I was'naethu'r Hollalluog,
Cyffra[F] bawb o'r byd, fel Enos,[G]
I addoli Duw heb aros.

Cais gan bawb was'naethu Duw,
(Dyled pob gwir Gristion yw;)
Gosod allan ei ogoniant,
Ti gâi gantho ffawd[H] a ffyniant.[I]

ENOC.

Rhodia gyda Duw, fel Enoc,[J]
Dilyn lwybrau'r Hollalluog,
Cofia fod Duw'n disgwyl[K] arnad,
Ym mhob man â chil ei lygad.

Gwel pa ymdal[L] y ga's Enoc,
Am was'naethu'r Hollalluog,
Myn'd i'r nef cyn gweled angeu;[M]
Pwy gan hynny nas gwas'naethai?

Dysg gan Enoc dair gwers rasol,
Fod dy enaid yn anfarwol,
A bod i'th gorph adgyfodiad,
Ac i'r duwiol nefol daliad.

Na wna frynti yn y cornel,
Mae Duw'n gwel'd pob pechod dirgel;
Ac am hynny meddwl fyw,
Megis un sy'n 'ngolwg Duw.

Gochel ddilyn arfer tyrfa,[N]
A fo'n pechu am y cynta';
Gwell na hynny yw dilyn un
A ofno Dduw, a barcho ddyn.

CEWRI.

Ped fai iti gryfdwr cawr,
Duw a fyn dy dorri i lawr,
A'th roi'n fwyd i borthi'r chwilod,[O]
Os ymroi di ddilyn pechod.

Oni allai cawr ddifannu,[P]
Pan ddaeth diluw d'wr i'w farnu;
B'wedd[Q] y dichon gwan ddiengyd,
Pan y del y diluw tanllyd?[R]

[I] Mewn gafael, mewn carchar. [J] Y diafol. Dat. 20. 2. [K] Ymddiried. [L] Pen. [M] Darostwng ei balchder. [N] Colyn. [O] A fwyttaodd. [P] Y nefoedd. [Q] *Plain* eglur. [R] Diniwed. [S] '*Murderer*, llofrudd. [T] Gen. 9. 6. [U] Galanas, llofruddiaeth. [V] *Murder*, lladdiad. [W] Luc 12. 2. [X] Gen. 4. 4. [Y] Dwys, difrifol. [Z] Mat. 22. 21. [A] Rhuf. 13. 7. [B] Lef. 22. 21, 22. [C] Mal. 1. 13, 14. [D] Rhoddion. [E] Gen. 4. 4. 5. [F] Annog, cynhyrfu. [G] Gen. 4. 26. [H] Dedwyddwch. [I] Llwyddiant. [J] Gen. 5. 24. [K] Edrych. [L] Gwobrwy, taledigaeth. [M] Heb. 11. 5. [N] Exod. 23. 2. [O] Pryfed. [P] Cilio. [Q] Pa wedd, pa fodd. [R] 2 Petr 3. 7.

### NOAH.

Er cynddrwg a fo'r byd o ddautu,
Er cymmaint a fo o rai'n pechu,
Bydd di berffaith yng ngŵydd Duw,
Dilyn Noah tra fyddech byw.

Os byw wnai di megis No',
Yn wr perffaith ar bob tro,
Byddi gyda No'n gadwedig,
Pan bo eraill yn golledig.

Gwell it' ddilyn Noah ei hunan,
Mewn perffeithrwydd, ffydd, ac ofan,
Nag it' ddilyn yr holl fyd,
Mewn drygioni, a boddi i gyd.

### DILUW.

Gwel mor ddrewllyd yw putteindra,
Gwel mor gas gan Dduw ddiffeithdra,[S]
Pan na was'naethai[T] dyfroedd lai
Na dw'r diluw i gospi'r bai.

### ARCH NEU LONG.

Gwna dy long tra'i'n amser gras,
Cyn y delo'r diluw cas;[U]
Mae'n ddiweddar gwneuthur bad[V]
Pan bo'r diluw'n boddi'r wlad.

Gwell o lawer, nid ychydig,
Yw bod gyda No'n gadwedig
Yn y llong, na chyda llawer
Yn y diluw du a'r dyfnder.

### BWA'R GWLAW, NEU'R ENFYS.

Pan y gwelech fwa'r Drindod,
Cofia farn Duw, a'i gyfammod;[W]
A bendithia'i dduwiol fawredd,
Am ei fwynder a'i drugaredd.

Ystyr amryw liwiau'r enfys,
Glas a choch yw'r ddwy farn gofus,
Glas oedd dw'r y diluw cyntaf,
Coch yw tân y farn ddiweddaf.[X]

Lle mae'r bwa yn gyffredin
A'i gyrn i'r ddae'r, heb saeth, heb [linyn,
Y mae'n dangos mor heddychlon
Yw hi yng Nghrist rhwng Duw a dyn- [ion.

### MEDDWDOD NOAH.

Gochel Satan hen a'i rwydau,
Pan b'ech tra diofal gartre';
Efe a ddilyn megis No',
Nes rhoi iti ffwyl[Y] rhyw dro.

Oni allai Satan ddala
Noe, â'i rwydau o butteindra,
Fe brawf[Z] ddala No' heb wybod,
Yn hen wr, a rhwyd o feddwdod.[A]

### LOT.

Os ai i drigo i Gommorah,
Lle mae meddwdod a phutteindra,
Cadw arnat[B] megis Lot
Rhag dy halogi â'r hŵr[C] a'r pot.[D]

Os gwel' di'r dre' lle b'ech[E] yn byw
Yn pechu 'n gas yn erbyn Duw,
Tynn, fel Lot, i maes o Sodom,
Cyn disgynno arni'r storom.[F]

Gwell bod gyda Lot ei hunan,
Ar y mynydd tan y geulan,[G]
Na bod gyda holl wyr Sodom,
Yn y dre' yn godde'r storom.

Pwy ymgadwai'n well na Lot
Yng nghanol Sodom rhag y pot?
Yn yr ogof pwy a feddwai,
Ar y gwin yn gynt nag yntau?

Os diengaist rhag putteindra,
Rhwng y styw-dai[H] yn Gommorah,
Gochel wneuthur pechod aflan,
Gartre' ym mysg dy ffryns[I] dy hunan.

Os diengaist rhag y tân,
O ganol Sodom am fyw'n lân,
Gochel rhag dy losgi'r eilwaith,
Yn dy dŷ am fyw yn ddiffaith.[J]

### GWRAIG LOT.

Os gadewaist Sodom unwaith,
Na ddychwela[K] i Sodom eilchwaith;[L]
Trow'd gwraig Lot yn bil[M] o halen,
Am droi'i hwyneb tu ei chefen.

### GOMORRAH.

Agor d'olwg, gwel mor ffyrnig
Y mae Duw yn cospi rhyfyg,
Pan y llosgai â thân a brimston[N]
Dref Gomorrah a'i thrigolion.

### LLEF SODOM.

Clyw mor cuwch[O] y gwaedda pechod,
Ddydd a nos yng nghlustiau'r Drin- [dod[P],
Ac na ddichon pechod dewi,
Nes dialo Duw ar frynti.

S Drygioni. T Gwneuthur y tro. U Esay 55. 6. V *Boat*, cwch. W Gen. 9. 12—17. X 2 Petr 3. 6. 7. Y *Foil*, cwymp. Z Ceisio, cynnyg. A Gen. 9. 21. B Gofala am danat dy hun. C *Whore*, puttain. D *Pot*, cwppan. E Y byddech. F *Storm*, tymhestl. G Gen. 19. 30. H *Stews*, putteindai. I *Friends*, cyfeillion. J Drygionus. K Troi yn ol. L Drachefen. M *Pile*, carnedd, colofn. N *Brimstone*, brwmstan, defnydd llosgadwy. O Mor uchel. P Gen. 18. 20, 21.

### GWLAD SODOM.

Och! mor ddrewllyd ac mor enbaid,[Q]
Ydyw llosgach[R] y Sodomiaid;
Pan bo'r wlad yn drewi etto,
A'r mwg a'r tarth lle bu'nt yn trigo.[S]

### CAM.

Gochel haeddu rheg[T] dy dad,
Byth nis gorfu[U] Cam na'i had;[V]
Melldith Noe sy'n glynu ffinion,[W]
Byth yng nghrwyn y Moyrys[X] duon.

### SEM.

Megis Sem, trwy ddawn a rhad,[Y]
Cuddia g'wilydd Noe dy dad;[Z]
A phan ddel mewn gwth o oedran,
Na watwara megis Canaan.

### SELYF NEU SALOMON.

Parcha Bathseba dy fam,
Anrhydedda hi ar bob cam,
Rho'r llaw ddehau iddi'n ufudd,
Fel y rhoddai Selef Dafydd.[A]

### ABRAHAM.

Cynta' peth a wnel dy ddwylo,
Pa le bynnag 'r elech iddo,
Codi allor gydag Abr'am,[B]
I addoli Duw'n ddigytcam.[C]

Cred bob gair o enau Duw,[D]
Gwir, a phur, a pherffaith yw,
Nef a daear a ddiflanna,
Cyn el iot[E] o'i air heb gwpla.[F]

Lle archo Duw it' fyned, dos,
Y peth orch'mynno gwna yn glos,[G]
Bydd mor ufudd ag oedd Abra'm,
Gwna'r peth archo yn ddigytcam.

Offrwm d'Isaac, os Duw arch,[H]
Enwaeda'r galon iddo o barch;
Gado ddelwau aur dy dad,[I]
Os Duw a'i mynn tynn ffwrdd o'r wlad.

### ISAAC.

Dysg gan Isaac fod yn ufudd,
Mwyn, a llednais,[J] dof, a llonydd;
Felly byddi'n siwr[K] i fyw,
Mewn ffafar[L] dyn mewn ofan Duw.

Gwely'th briod na haloga,
Ond bydd foddlon i'th Rebecca,
Fel y byddai Isaac sanctaidd;
O flaen Duw mae hyn yn weddaidd.

### JACOB.

Os bydd geiriau Jacob gennyd,
Gochel ddwylo Esau waedlyd;[M]
Cas gan Dduw, a pheth digwnt,[N]
Yw'r geiriau braf[O] a'r gwaith fo brwnt

Pan bwriadech geisio gwraig,
Bydd i Jacob yn 'sgolhaig;[P]
Dilyn gynghor mam a thad,
Os mynni lwyddiant ar dy had.

### ESAU.

Na fydd lwth i lanw'th fola,
Esau ga's[Q] y c'wilydd mwya',
Am roi i Jacob ei holl afael,[R]
Am y phiolaid fawr o gruel.[S]

Ffei ar afrad, ffei ar feddwdod,
Na werth nef am fwyd a diod;
Esau gollodd Ganaan decca',
Am werthu'i fraint i lanw ei fola.[T]

### JOSEPH.

Os cais meistres, yn y cornel,
Gennyd orwedd gyda hi'n ddirgel,
Cilia gyda Joseph allan,[U]
Na ladd d'enaid ar ei chusan.

Dos i garchar, goddef gur,
Gorwedd mewn cadwynau dur,
Cyn y gwnelech, megis filain,[V]
Aelod Crist yn aelod puttain.[W]

Na châr buttain tra f'ech[X] byw,
Na haloga demel Duw;[Y]
Ni wnai Joseph beth mor ffinion,
Pe y pydrai yn y cyffion.

Margain[Z] front fel margain Esaw,[A]
Margain a bair cnoi ac wylaw,
Ydyw gwerthu'r nefoedd berffaith
Am gyfeillach puttain noswaith.[B]

Joseph, am na fynnai orwedd,
Gyda'i feistres mewn anwiredd,
A ga's[C] myn'd yn brins[D] arbennig
Ar yr Aipht, am attal rhyfyg.

[Q] Enbyd, ysgeler. [R] Aflendid, godineb. [S] O herwydd bod y gwastadedd, ar yr hwn y safai Sodom, yn llawn pyg a defnyddiau hylosg, y mae arogl anhyfryd yn dyrchafu oddi wrtho. [T] Melldith. [U] Cael gwared o beth. [V] Gen. 9. 25. [W] Ffiaidd. [X] *Moors*, dynion duon. [Y] Gras. [Z] Gen. 9. 23. [A] 1 Bren. 2. 19. [B] Gen. 13. 18. [C] Yn ddigellwair. [D] Gen. 15. 6. [E] *Iota*, (Groeg,) y llythyren leiaf. [F] Cwblhau, cyflawnu. [G] *Close*, dyfal. [H] Gen. 22. 2. [I] Jos. 24. 2, 3. [J] Addfwyn. [K] *Sure*, sicr. [L] *Favour*, cymmeradwyaeth. [M] Gen. 27. 22. [N] Digyfrif, distadl. [O] *Brave*, gwych. [P] Gen. 28. 1. 2. [Q] A gafodd. [R] Hawl, maddeuant. [S] *Gruel*, cawl. [T] Gen. 25. 32–34. [U] Gen. 39. 7, 8, 12. [V] *Villain*, dyn drygionus, anrasol. [W] 1 Cor. 6. 15. [X] Fyddech. [Y] 1 Cor. 3. 17. [Z] *Bargain*, cyttundeb. [A] Esau. Gen. 25. 34. [B] Diar. 6. 25. 32. [C] A gafodd. [D] *Prince*, tywysog.

Gwell bod gyda Joseph ddiwa'r,
Am onestrwydd yn y carchar,
Na bod gyda Herod Frenhin,
Ac Herodias [E] ar ei ddau-lin.

REUBEN.

Os dringhadi i wely'th dad,
Gyda Reuben hyna' o'r gwa'd,[F]
Juda gaiff yr holl 'tifeddiaeth,[G]
Ni chai dithau ond yr hiraeth.

SIMEON.

Simeon, gochel werthu'th frawd,
Nid drwg y gwyddost beth yw'r ffawd,[H]
Fe fydd Joseph, gwedi'i werthu,
Yn troi Simeon i'r carchardy.[I]

MOSES.

Dysg gan Foesen fod yn fwyn,[J]
Araf, llednais,[K] da dy gŵyn,
Hawddgar, ffyddlon, pur, di-dwyll,
Cefnog, diddig, da dy bwyll.

PHARAO.

Gwel pa filwyr sydd gan Dduw,
Yn plygu'r brenhin cryfa'n fyw;[L]
Llau, a llyffaint, ceiliog rhedyn,
Yn gyrru Pharao i geisio canlyn.[M]

CANAAN.

Os ceisi fyn'd o'r Aipht i Ganaan,
Lle mae'r mel a'r llaeth yn droppian,[N]
Rhaid it' fyned drwy'r Môr Coch,
Er maint ei rym, er cuwch ei roch.

MANNA.

Gochel 'laru [O] ar y manna,
Claf iawn wyt oni elli fwytta;
Ac os ceisi pwmps [P] a phannas,[Q]
O flaen manna,[R] mae 'ti anras.[S]

SOFL-IEIR.

Cyn gadawo Duw dim eisiau,
Ar y sawl a gatwo ei ddeddfau,
Pair i'r nefoedd wlawio manna,
A chwails [T] iddynt idd eu bwytta.

CORAH.

Na wrth'neba byth o'r 'ffeiriad,
Angel [U] Duw yw wrth ei alwad,
Rhag i'r ddaear ddu dy lyngcu,
Os fel Corah y gwrth'nebi.[V]

OFFEIRIAD.

Gochel fedlo [W] maes o'th alwad,
Bethau berthyn at offeiriad;
Ni fynn Duw ond 'ffeiriad gweddaidd
Drin yr arch a'r pethau sanctaidd.[X]

Y SABBATH.

Gwel mor gaeth y mynn Duw iti
Gadw'r Sabbath heb ei dorri,
Pan y parai bwyo 'mennydd,
Dyn ddydd Sul am gasglu briwydd.[Y]

Treulia'r Sabbath byth yn sanctaidd,
Dere [Z] i demel Duw yn weddaidd,
Ac nac arfer tra f'ech byw,
Waith y cythraul ar ddydd Duw.

YR HAUL.

Gwelwn allu Duw bob un,
Yn stoppi'r [A] haul wrth weddi dyn,
Ac attal hon ddiwrnod cyfan,
Uwch ben ei lu, heb fyn'd o'r un-man.[B]

Cofiwn byth mai c'wilydd yw,
Os stoppa'r [C] haul pan archo Duw,
Fod plant dynion, crach [D] fudreddi,
Pan arch Duw, heb fedru ymstoppi.

JOSHUA.

Os ceisir gennyd addoli delwau,
Megis Joshua atteb dithau,
Nid addolaf tra fwyf byw,
Mi a'm tylwyth, ond fy Nuw.[E]

ZIMRI.

Zimri, Zimri, gwel y cleddeu,
S'uwch dy ben gan Dduw'r dialau,
A'r ffon-wayw sydd gan Phine's,
I'th drywanu di a'th langces.[F]

BALAAM.

Balaam, Balaam, agor lygad,
Gwel yr angel sy'n dy warchad;[G]
Tro yn d'wrthol, gochel fribri,[H]
Gwrando'r assen yn d'arg'oeddi.

SAMPSON.

Na châr buttain mwy na chythraul,
Na ro iddi byth o'th gwnsel,[I]
Hi dyrr gwddwg, hi dynn galon
Gwr, pet fai mor gryf a Sampson.[J]

[E] Mat. 14. 3, 4. [F] Gen. 49. 3, 4. [G] Gen. 49. 8. [H] *Fate*, digwyddiad. [I] Gen. 42. 24. [J] Num. 12. 3. [K] Llariaidd. [L] Exod. pen 8. [M] Arch, deisyfiad. [N] *Drop*, diferu. [O] Diflasu. [P] *Pompions*, math o ffrwythau. [Q] *Parsnips*, llysiau Gwyddelig, moron gwynion. [R] Num. 11. 4—6. [S] Drigioni, anraslondeb. [T] *Quails*, sofl-ieir. [U] Cennad. [V] Num pen. 16. [W] Meddle, ymyrraeth. [X] 2 Sam. 6. 6, 7. [Y] Num. 15. 32—36. [Z] Tyred. [A] *Stop*, attal. [B] Jos. 10. 13. [C] *Stop*, aros. [D] Gwael, distadl. [E] Jos. 24. 15. [F] Num. 25. 7, 8, 14. [G] Num. 22. 22—34. [H] *Bribery*, llwgrwobrwy, gwobr anwiredd. [I] *Counsel*, cyfrinach. [J] Barn. 16. 4—21.

### GIBEAH.

Byth na chynnal bobol ddrwg,
Ond bydd attynt byth ar d'wg,
Gibeah losgwyd, a'i holl bobol,
Am ymddiffyn gwyr anneddfol.[K]

### BENJAMIN.

Benjamin, attolwg clyw,
Pa'm y tynni ddial Duw,
Ar dy dŷ a'th ben dy hunan,
Am ymddiffyn plant i Satan?

### ELI.

Cymmer rybudd oddiwrth Eli,
I ddysgu'th blant a'u dyfal gospi;
Lle na chospo'r tad â'r wialen,
Duw â'r cleddyf dyrr eu cefen.[L]

### SAMUEL.

Dysg gan Samuel, tre'ch[M] yn blentyn,
Brudd[N] was'naethu Duw a'i ganlyn,
Ac arferu hyd dy ddiwedd,
Fyw yn gyfiawn, yn ddi-gamwedd.

Dysg gan Samuel, farnwr gwych,
Na chymmerech fuwch nac ych,[O]
Ond rhoi barn ym mhob rhyw fatter,[P]
I bob dyn yn ol cyfiawnder.

### JOEL MAB SAMUEL.

Beth ennillodd Joel aflan
Wrth gam-farnu ac wrth fribian?[Q]
Colli'i swydd a'i etifeddiaeth,
Ennill c'wilydd a dannodiaeth.

### UZZAH.

Uzzah, gochel gwrdd â'r arc,[R]
Gâd i'r 'ffeiriad hynny o garc;[S]
Trin dy swydd dy hun a'th alwad,
Nid yw'r arch yn perthyn attad.[T]

### JOB.

Bydd ddioddefgar megis Job,[U]
Tre'ch yn glaf, na lef ôb, ôb,[V]
Yn dy golled gochel gablu,
Duw sy'n rhoi, a Duw sy'n tynnu.[W]

Pe dygai Duw sydd yn dy helw,
Pe'th d'rawai'n glaf nes bait ti'n farw,
Dywed, pet fai Duw'n fy mlingo,
Etto mi ymddiriedaf ynddo.[X]

### DAFYDD.

Ganol nos, fel brenhin Dafydd,[Y]
C'od i lawr, penlinia'n ufudd,
A molianna Dduw'r pryd hynny,
Pan bo eraill yn hwrn[Z] gysgu.

Hoff o beth, a hyfryd yw,
Ganol nos glodfori Duw,
A rhoi diolch iddo'r borau,[A]
Am ei ras a'i amal ddoniau.[B]

Bydd mor 'difar am dy bechod
Ag oedd Dafydd, brophwyd hynod,[C]
Ac na orphwys wylo'n irad,[D]
Nes cael ffafar[E] Duw a'i gariad.

Wyla nes bo'th wely'n foddfa,[F]
Bwytta ddeigrau gyda'th fara,[G]
Gwisg di sach,[H] a thro mewn llethrod,[I]
Nes cael pardwn[J] am dy bechod.

### ABSALON.

Er melyned a fo'th gudyn,[K]
Gochel, f'enaid, chwareu'r coegyn,[L]
Ac nac arfer loesau[M] hirion,
Rhag dy faglu fel Absalon.[N]

Os aiff Dafydd i felina,[O]
Ganol nos at wraig Uria,[P]
Fe ddaw un ganol-ddydd goleu,
I felina i'w felin yntau.

### AMNON A THAMAR.

Gwel mor fyrr yw pleser[Q] oflyd,[R]
A wnai i Amnon golli ei fywyd;
Gwel mor chwerw yn y diwedd,
Yw blas pechod ac anwiredd.[S]

Na ddod d'enaid byth mewn peryg',
I gyflawnu chwant a rhyfyg;
Fe fydd chwerw ac edifar,
Yn y diwedd dreisio Tamar.

### HEZEKIAH.

Dod dy dŷ mewn trefn addas,
Fel y dodai Hezekias:[T]
A bydd barod byth yn gwyliad
Angeu, cyn y delo attad.

[K] Barn. pen. 20. [L] 1 Sam. 3. 13, a 4. 11. [M] Tra fyddech. [N] Difrifol. [O] 1 Sam. 12. 2, 3. [P] *Matter*, achos. [Q] Derbyn gwobrwyon, *(bribes.)* [R] *Ark*, arch. [S] *Care*, gofal. [T] 2 Sam. 6. 6, 7. [U] Job pen. 12. [V] Whwb. [W] Job 1. 21. [X] Job 13. 15. [Y] Psalm 119. 62. [Z] Yn chwyrnu wrth gysgu. [A] Psalm 92. 1, 2. [B] Rhoddion, cymmwynasau. [C] Psalm 51. [D] Galarus, tosturus. [E] Ewyllys da. [F] Psalm 6. 6. [G] Psalm 102. 9. [H] Sachliain, lliain bras a wisgid i arwyddo galar ac ymostyngiad. [I] Llwch, briwsion mawn. [J] *Pardon*, maddeuant. [K] 2 Sam. 14. 25, 26. [L] Ymddwyn yn falch. [M] *Locks*, cudynau. [N] 2 Sam. 18. 9. [O] Edr. Job 31. 10. [P] Urias yr Hethiad, 2 Sam. 10. 12. [Q] *Pleasure*, mwyniant, hyfrydwch. [R] Llygredig. [S] 2 Sam. 13. 14, 28, 29. [T] Esay 38. 1.

### AHAB A NABOTH.

Gochel chwennych gwinllan Naboth,
Trais a lef am ddial beuno'th;[U]
Gwinllan Naboth os trachwanti,
Teyrnas Israel a fforffetti.[V]

Ahab, Ahab, dela'n[W] union,
Na ddwg winllan Naboth wirion,[X]
Ac os dygi trwy udoniaeth,[Y]
Duw ddifetha dy hiliogaeth.[Z]

### DANIEL.

Er maint a fo'th boen a'th drafael,[▲]
Cwymp i addoli Duw fel Daniel,
Dair-gwaith yn y dydd o leiaf,[B]
Dyna'r unig waith sydd reitaf.

Cau dy 'ystafell, plyg dy liniau,
Cod d'olygon, agor d'enau,
Ac addola Dduw yn brudd,[C]
Felly dair-gwaith ar bob dydd.

Er dy daflu i fysg llewod,
Na 'sgeulusa 'ddoli'r Drindod;
Y bwystfilod gwaetha'u natur,
Fedrant arbed gwir addolwyr.[D]

### SADRACH.

Nac ymgrymma byth i ddelw,
Pe gorfyddai arnat farw,
A myn'd gyda Sadrach hyfryd,
Ar dy ben i'r ffwrnais[E] danllyd.

Duw yn unig sydd i'w 'ddoli,[F]
Nid yw'r ddelw ddim ond gwegi,[G]
Coed a cherrig, aur ac arian,
Bwbach na all helpu ei hunan.[H]

### BELSAZZAR.

Pan bo'r cwppan wrth dy fin,[I]
Yn cablu Duw, yn yfed gwin,
Gochel angau dig dy daro,
Fel Belsazzar wrth garowso.[J]

Pan b'ech yn carowso'n dal,
Gwel y llaw sydd ar y wal,[K]
Yn 'sgrifenu o flaen d'wyneb,[L]
Dy farn aethlyd[M] a'th lothineb.[N]

### TOBIAS.

Bydd drugarog, fel Tobïas,[O]
Wrth bob tlawd a fo o'th gwmpas,
Ac na fwytta bryd yn iachus,
Nes rhoi rhan i'r tlawd anghenus.

Helpa'r gwan, a chladd y marw,
Swccra'r[P] noeth, cyf'rwydda'r weddw,
Bydd yn rhysgwydd[Q] i'r ymddifaid,
Na fydd anfwyn wrth ddieithriaid.

### RAPHAEL.

Pan y b'ech ar feder gwreicca,[R]
Cais gan Dduw dy helpwr[S] hela[T]
Raphael sanctaidd i'th gyf'rwyddo,[U]
Cyn ymlygrech wrth ymfaitsio.[V]

### TOBI IEUANGC A SARA EI WRAIG.

Cyn gorweddech gyda Sara,
Law yn llaw â hi gweddïa,[W]
Ar i'r Arglwydd roi it' lwyddiant,
Help, a chymmorth, ffawd,[X] a ffyniant[Y]

Dysg gan Dobi ieuangc berchi,
Dy dad a'th fam, a'u hael gymfforddi;[Z]
Pan bont marw, claddhwy'n weddaidd[▲]
Hyn sydd rasol a Christ'nogaidd.

### YR EFENGYL.

Bydd fyw'n gyfiawn ac yn gynnil,[B]
Fel pet faet heb un efengyl;
A bydd farw'n gystal d'obaith
A phet faet heb wel'd y gyfraith.

## YR AIL RAN.[▲]

### ARGLWYDD.

BETH dâl bod yn arglwydd heddy',
Ac yn waelaf was y fory?
Gwell bod yn was i'r Arglwydd nefol,
Nag yn bennaf arglwydd bydol.

Beth dâl awr o bleser pechod,
Ac wedi'n byth ddioddef poendod?[B]
A pheth raid son am ofid bydol,
A chael dros fyth lawenydd nefol?[C]

[U] Bob nos, yn barhaus. [V] *Forfeit*, colli. [W] *Deal*, ymddwyn. [X] Diniwed. [Y] Anudoniaeth, llw celwyddog. [Z] 1 Bren. 21. 19. [▲] *Travail*, trafferth. [B] Dan. 6. 10. [C] Yn ddifrifol. [D] Dan. 6. 22. [E] *Furnace*, ffwrn o dân poeth, Dan. 3. 20. [F] Mat. 4. 10. [G] Gwagedd, oferedd. [H] Psalm 115. 4—8. [I] Genau. [J] *Carouse*, yfed yn anghymmedrol, Dan. 5. 30. [K] *Wall*, mur, pared. [L] Dan. 5. 5. [M] Dychrynllyd. [N] Glythineb, anghymmedroldeb. [O] Tobit 1. 16, 17. [P] *Succour*, ymgeleddu. [Q] Cynnorthwywr. [R] Ymofyn am wraig. [S] *Helper*, cynnorthwywr. [T] Anfon. [U] Tobit 6. 10. [V] *Match*, priodi. [W] Tobit 8. 4. [X] Dedwyddwch. [Y] Llwyddiant. [Z] *Comfort*, diddanu, cysuro. [▲] Tobit 14. 10—12. [B] Manwl, gofalus.

[▲] Nid yw y Penillion canlynol yn yr argraphiadau henaf; oblegid yn argraphiad Rhys Tomas y cyhoeddwyd hwynt gyntaf, o bapurau yr Awdwr. [B] Mat. 16. 26. [C] 2 Cor. 4. 17.

ENAID.

Meddwl beunydd am dy enaid,
Nid oes dim sydd mor anghenrhaid;
Gwell it' golli'r byd a'i bethau,
Nag i'th enaid fyn'd i'r poenau.

WELE.

Wele, ddyn, dy ddydd yn darfod,
Wele'r tywyll nos yn dyfod,
Wele'r gwaith sydd heb ei wneuthur,
Wele'th fod di'n hir yn segur.

DOETHINEB.

Doethineb goreu yn y byd
Yw cym'ryd cynghor da mewn pryd;
Ni thâl ceisio help [D] y doctor,[E]
A'r gwr yn myned ar ei elor.

FFURFAFEN.

Y mae rhod fawr y ffurfafen,
Yn dirwyn einioes dyn nes gorphen;
Nid yw pellen bywyd un-dyn,
Ond berr,a brau,[F] yn darfod chwippyn[G]

Mae'n hoes, medd rhai, fel un diwrnod,
Ond nid felly y mae hi'n darfod;
Can's pwy a all ddywedyd allan,
Nid wyf yn awr ond hanner f'oedran?

Y mae'r i'engctid megis boreu,
Fytho'n addo yn deg weithiau,
A chyn diwedd y diwrnod,
Yn myn'd yn storom[H] dost ddi-gysgod.

MORGRUGYN.

Deffro, cyfod di, ddiogyn,
Dos, a dysg gan y morgrugyn,
Mae e'n casglu y cynhauaf,
Fwyd a lluniaeth erbyn gauaf.[I]

Gwn y rhedi, am dy fywyd,
Yn ddoeth, yn ddewr, yn hir, yn ddi-
O rhed felly am dy enaid, [wyd;
Y mae'n llawer mwy anghenrhaid.

Hir y gwelir mis mewn twymyn,
Hwy yw carchar lawer blwyddyn;
Ond beth yw hyn at gosp annuwiol
Yn y pwll a'r tân trag'wyddol?[J]

Marwolaeth sydd i bawb yn ddilys,
Mae'r pryd, a'r modd, a'r lle'n anhys-
Ac am hynny, ddyn, bydd barod,[pys;
Ym mhob lle, bob pryd yn gwarchod.[K]

Gwae ddewisio'r byd a'i sorod,
A phob rhyw bleserau pechod,
Ac wrthodo Dduw a'i deyrnas,
A'i gogoniant mawr a'i hurddas.[L]

CALLESTR.

Mae cyfoeth mawr yn meddiant llawer,
Heb roi iddynt les na phleser,[M]
Fel dwyn carreg dân mewn codau,
Heb roi iddynt wres na golau.

BARA.

Mae cais mawr am fara bydol,
Heb fawr gais am fara nefol;
Ond meddwl hyn, a chofia'n ddibaid,
Mai rheitaf dim yw bara'r enaid.[N]

DELW-ADDOLIAETH.

Delw-addoliaeth sydd beth ffrom-ffol,
A phutteindra brwnt ysprydol;
Caru un peth yn rhy helaeth,
Sydd yn wir yn ddelw-addoliaeth.[O]

ZACHEUS.

Zacheus a aeth i wel'd Crist Iesu,
Er nad ydoedd yn ei garu;
Ond fe ddaeth yn ol yn llawen,[P]
A Christ a heddwch yn ei berchen.[Q]

TYNGU.

Tyngu sydd yn arfer greulon,
Wedi dyfod ym mysg dynion;
Nid oes parch na lles oddi wrtho,
Ac er hyn nis rhoddir heibio.

CYBYDD-DOD.

Cybydd-dod sydd yn wangc ysprydol,
Dropsi [R] enaid, syched marwol;
Nid oes dim all helpu'r clefyd,
Nes dêl Crist â dw'r y bywyd.

GWENYNEN.

Bydd yn debyg i'r wenynen,
Sydd yn casglu ar bob damwain;
Ond na ddwg y mêl mewn genau,
A cholyn gwenwyn wrth dy sodlau.

TAFOD.

Cadw'th dafod yn dy enau,
Ti ymgedwi rhag mawr ddrygau;
Er nad yw ond bychan aelod,[S]
Fe wna dda neu ddrwg yn wastod.[T]

[D] *Help*, cynnorthwy. [E] *Doctor*, meddyg. [F] Iago 4. 14. [G] Yn fuan. [H] *Storm*, tymhestl. [I] Diar. 6. 6—8. [J] Preg. 11. 8. [K] Gwylio, disgwyl. [L] Anrhydedd, gogoniant. [M] *Pleasure*, hyfrydwch. [N] Ioan 6. 27. [O] Col. 3. 5. [P] Luc 19. 6. [Q] Yn ei feddiant. [R] *Dropsy*, dyfrglwyf. [S] Iago 3. 5. [T] Yn wastadol.

RHYFYG.

Na ryfyga am drugaredd
A dilyn pleser ac oferedd;
Mae'n rhaid ymladd, a gorchfygu,
Cyn cael nefoedd i'w meddianu.[U]

NOS.

Meddwl, ddyn, am dy wasanaeth,
Cyn y delo nos marwolaeth;[V]
Pa fodd y gall yr hurwr ddisgwyl
Cael ei hur[W] heb wneuthur gorchwyl?

GWYLIADWRIAETH.

Gwylia ar dy eiriau'n wastod,
Dy waith, dy serch, a'th holl fyfyrdod;
Gwylia rhag dy holl elynion,
Ac am foddio Brenhin Seion.

NEFOEDD.

Yn y nefoedd mae llawenydd,
A dedwyddwch yn dragywydd;
Crist yw'r wledd sydd ynddi'n wastod,
A'i gogoniant mawr di-ddarfod.

UFFERN.

Uffern sydd yn le anhyfryd,
Lle nad oes ond poen ac adfyd,
Pob anobaith ac och'neidio;[X]
Ni chym'rwn fyd er myned yno.

RHYBYDD.

Cymmer rybudd, ddyn, mewn amser,[Y]
Onis gwnai, gwae di ar fyrder:
Ac os cym'ri rybudd prudd,[Z]
Heddyw, heddyw, ydyw'r dydd.[A]

DWYLO.

Gwel dy ddwylo, edrych arnynt,
Diolch i dy Dduw am danynt,
Ac ymro, tra paro d'oes,
I weithio gwaith yr Hwn a'u rhoes.

LLIFEIRIANT.

Mae pleserau, a phob trachwant,
Yn dwyn dyn fel rhyw lifeiriant;
Gan hynny gochel ynfyd bleser,
Rhag it' foddi yn y dyfnder.

LLYGAD.

Meddwl ddyn, am hyn yn wastad,
I beth rhoddodd Duw dy lygad,
Ond i wel'd ei wyrthiau mawrion,
A'th ffordd, a'th les, a'th holl beryglon.

YSPAID.

Nid yw bywyd dyn ddim mwy
Nag yspaid munud fach neu ddwy;[B]
Am hyn, cais yn glaf, yn iach,
Wir ddefnyddio'r yspaid fach.

RHAGLUNIAETH.

Y mae Duw a'i ddoeth ragluniaeth
Yn rheoli pob cenhedlaeth;
Am hynny dylem ymfoddloni
I'r hyn fyddo Duw'n ei beri.[C]

IAR.

Mae Duw'n adeinio[D] ei holl weision,
Fel yr adeinia iar ei chywion;[E]
Ond rhaid dyfod tan ei aden,
A gochelyd troi drachefen.[F]

HYNOD.

Hynod ydyw gwaith yr Arglwydd,[G]
Hynod yw ei drugarowgrwydd;[H]
Hynod yw cyndynrwydd dynion,
Hynod iawn yw'r annuwiolion.

PAHAM?

Pa'm nad ystyriai dyn mewn oedran,[I]
Pa'm nas gwel ei les ei hunan,
Pa'm na chariai dyn ddaioni,
Pa'm na throi oddiwrth ei frynti?

RHYFEDDOD.

Bod Duw'n cyd-ddwyn â dyn mewn pechod,
Cyhyd, cyhyd, sy fawr ryfeddod;
Bod dyn yn dewis drwg mor anghall
I'm tyb, sydd fawr ryfeddod arall.

GWENWYN.

Gwenwyn neidr a ddwg ein bywyd,
Gwenwyn asp[J] sydd yn fwy aethlyd,
Ond nid yw'r ddau ond bwyd a diod,
At y gwenwyn sydd mewn pechod.

SYCHED.

Gorau syched yn yr holl-fyd
Yw syched mawr am ddw'r y bywyd;[K]
Yr hwn a yfo hwnnw unwaith,
Ni sycheda byth yr eilwaith.[L]

NEWYN.

Newyn corph sydd beth tra chreulon,
Gwae i'r rhai lle caffo'i ddanfon;
Ond gwyn eu byd y rhai newynllyd
Am ddw'r o'r graig,[M] a bara'r bywyd.

[U] 1 Tim. 6. 12. 2 Tim. 4. 7, 8. [V] Ioan 9. 4. [W] *Hire*, cyflog. [X] Mat. 22. 13. [Y] 1 Cor. 10. 11, 12. [Z] Pwysig, difrifol. [A] 2 Cor. 6. 2. [B] Psalm 39. 5. [C] Trefnu, gorchymmyn. [D] Cysgodi â'i adenydd. [E] Luc 13. 14. [F] Troi yn ol, gwrthgilio. [G] Dat. 15. 3. [H] Psalm 17. 7. [I] Deut. 32. 29. [J] *Asp*, math o sarph, gwenwyn yr hon, medd rhai, a ladd yn anocheladwy cyn pen tair awr. [K] Mat. 5. 6. [L] Ioan 4. 13, 14. [M] 1 Cor. 10. 4.

### GWYNT.

Tebyg[N] rhaid nad oes un enaid,
Am nad ydynt yn ei weled;
Nid ŷnt yn gwel'd mo'r gwynt yn chwythu,
Ac etto hwy a allant gredu.

### CYSGOD.

Nid yw dyn ond megis cysgod,
Yn myn'd ymaith ac yn darfod,[O]
Nis gellir attal dim o hono,
Na gwel'd ei ol pan el ef heibio.

### YMPRYD.

Ympryd corph sydd angenrheidiol,
I ddarostwng gwyniau cnawdol;
Ond gorau ympryd gan Dduw uchod,
Ydyw 'mgadw rhag pob pechod.

### GAUAF.

Y mae'r henaint megis gauaf,
Yn oer, yn drist, ac yn dywyllaf,[P]
Nid yw hwn yn amser gweithio;
Casglwn ŷd tra'r haul yn twymno.

### HAUL.

Yr haul y sydd yn rhoi goleuni,[Q]
Yr haul, yr haul, sydd yn gwresogi,
Yr haul y sydd yn troi o'n cwmpas,
I was'naethu dynion atgas.

### HYDREF.

Amser casglu ydyw'r hydref,
Pob rhyw ffrwythydd tuag adref;[R]
'R hwn ni hauo'i had mewn amser,
Ni bydd casgliad hwn ond prinder.[S]

### HAF.

Canol oedran dyn sydd haf,
Yn deg, yn hyfryd, ac yn braf;[T]
Ond dyma'r amser mwya'i chwynn,[U]
A'r lleia' gwylia dyn at hyn.

### GWANWYN.

Gwanwyn ydyw'r amser gweithio,
Hau, a llyfnu, a llafurio;
A chwenycho fedi gwynfyd,
Haued dir yng ngwanwyn bywyd.[V]

### LLEUAD.

Y mae'r lleuad yn cyfranu
Yr hyn mae'n caffael o oleuni;
Ninnau ddylem, fel y lleuad,
Wir gyfrannu'n doniau'n wastad.[W]

### AUR.

Aur yw'r trymmaf peth mewn byd,
Aur sy'n tynnu'n serch i gyd,
Aur sy'n lladd, ac aur sy'n cadw,
Aur sy'n ddiffrwyth iawn i'r marw.

### ARIAN.

Gwraidd pob drwg yw ariangarwch,[X]
A ffrwyth pob drwg yw poen a thristwch;
Meddwl, ddyn, am hyn yn ddyfal,
Ac na ro serch ar fyd anwadal.[Y]

### RHY HWYR.

Rhy hwyr 'mofyn olew'n wasdod,[Z]
Pan bo'r farchnad wedi darfod;
Rhy hwyr ceisio gwisg priodas,
Pan fo'r cwmni'n[A] myn'd i'r deyrnas.[B]

### GOLEUNI.

Rhyfedd, rhyfedd yw'r goleuni,
Rhyfedd beth, fe dâl ei hoffi;[C]
Ond rhyfeddach, dyn mewn dryswch!
Etto'n caru y tywyllwch![D]

### SER.

Edrych ar holl ser y nefoedd,
Meddwl am yr Hwn a'u creodd,[E]
Gwel eu maint, cyflymdra'n myned,[F]
Yn fwy na'r byd,[G] yn gynt na bwled.[H]

### HENAINT.

Henaint sydd yn gyfaill lleban,[I]
Henaint ni ddaeth 'rioed ei hunan,
Henaint sydd lawn o bob trallodion,[J]
Henaint nid yw ond gŵr echrysolon.

### HWYAD.

Ni wlych y gwlaw yn llwyr mo'r hwyad,
Ni fawdd mewn llyn, hi fedr nofiad;
Bydd yn hyn yn debyg iddi,
Yn mhob croesau a gofidi.[K]

### GWEDDI.

Gweddi ffyddlon ydyw'r gennad,
A elli anfon at dy Geidwad;
Gweddi a ddaw â rhodd oddi wrtho;
Anfon weddi'n fynych atto.[L]

[N] Tebyga, meddylia. [O] Job 8. 9, a 14. 2. [P] Preg. pen. 12. [Q] Preg. 11. 7. [R] Diar. 10. 5. [S] Diar. 20. 4. [T] *Brave*, hoyw, gwych. [U] 2 Tim. 2—5. [V] Gal. 6. 8. [W] 1 Petr 4. 10. [X] 1 Tim. 6. 10. [Y] 1 Tim. 6. 17. [Z] Bob amser, yn wastadol. [A] *Company*, cymdeithion. [B] Mat. 25. 10. [C] Preg. 11. 7 [D] Ioan 3. 19. [E] Psalm 8 3 [F] Y mae y planedau, neu'r ser gwibiog, yn troi oddi amgylch yr haul gyda buandra annamgyffredadwy, a'r ser sefydlog yn ymddangos i ni fel yn myned yn gyflym, o herwydd cyflymdra tro y ddaear. [G] Y mae amryw o'r planedau laweroedd o weithiau yn fwy na'r ddaear, a bernir fod yr holl ser sefydlog o leiaf cymaint a'n haul ni, yr hwn sydd filiwn o weithiau yn fwy na'r byd. [H] *Bullet*, pelen a saethir o ddryll. [I] Marwaidd, llesg. [J] Preg. pen. 12. [K] Heb. 12. 3. [L] 1 Thes. 5. 17.

### FFORTEN.[M]

Fe fydd llawer dyn yn gymmen
Yn ymofyn am ei fforten;
Yr hwn ymroddo i dduwioldeb,
Ei fforten fydd yn dda bob amser.[N]

### LLEW.

Dylai Cristion fod yn lew,
Ac yn ddi-ofn megis llew,
Nid yn greulon ac yn ffyrnig,
Ond yn isel gostyngedig.

### OEN.

Dylai Cristion fod yn oen,
Yn ddioddefgar dan bob poen,
Yn ddefnyddiol yn ei fywyd,
Ac yn llariaidd, mwyn a hyfryd.[O]

### EDIFEIRWCH.

Adnabod drwg yw edifeirwch,
Ac o'i blegid dwyn mawr dristwch,
Ac o'r galon ei ffieiddio,
Ac ymroi i droi oddiwrtho.[P]

### TAN.

Mae'r tân a'i bwys[Q] i fynu'n gyson,
Felly dylai fod Crist'nogion;
Hefyd mae'n rhoi gwres a goleu,
Felly dylai ein esiamplau.[R]

### CROES.

Crist sy'n erchi i ni'n awr,
Ddwyn ein croes,[S] yn fach yn fawr;
Ond ni erchodd yn ei oes,
I fawr na bychan wneuthur croes.

### OERNI.

Oer yw'r iâ tra fyddo'n aros,
Ac oer iawn yw'r eira un-nos;[T]
Ond er cymaint yw ein hoerni,
Oeraf dim yw cnawdol weddi.[U]

### CASINEB.

Casineb sydd ym mhob rhyw ddynion,
Ond etto nid i'r un gwrthrychion;
Cas gan dduwiol bob oferedd,[V]
Ond cas gan ddryg-ddyn yw pob rhinwedd.[W]

### DYLED.

Dyled pob dyn a'r a aned,
Yw ymroi i dalu ei ddyled;
Gan hynny rhown i Dduw anrhydedd,
Ac i ddynion bob ymgeledd.[X]

### DIOGI.

Y mae 'chydig o ddiogi
Yn gwneuthur llawer iawn o dlodi;[Y]
Ond trwy ddiogi llawer un
Collir nef, a Christ ei hun.

### IEUENGCTID.

Nid yw ie'ngctid ond peth ffol,
Yn rhedeg gyrfa yn ei hol;[Z]
Yr hyn a wnelo'n awr yn brysur,[A]
Mae'n rhaid eilwaith ei ail wneuthur.

### NYCHDOD.

Y mae llawer math o nychdod,
Ond 'does un at fyw mewn pechod,
Nychu'r enaid, bod heb Dduw,
Bod yn farw, ac yn fyw!

### CWESTIWN.

Y cwestiwn pennaf i bob un,
Yw gofyn beunydd iddo'i hun,
Pa fath y fydd ei gyflwr etto,[B]
A gaiff fyn'd at Dduw i dario?[C]

### DARLLEN.

Darllen waith y greadigaeth,[D]
A gair Duw, a'i ddoeth ragluniaeth;
Darllen beunydd dy gydwybod,
Ac ymroi i roi ufudd-dod.

### ESIAMPL.

Siampl y sydd yn well na chynghor,
Er maint fo dysg a dawn y doctor:[E]
Haws yw myn'd ar ol trafaelwr,[F]
Na dysgu'r ffordd wrth glywed can'-wr.

### SYNWYR.

Synwyr mawr yw enill dinas,
Synwyr mwy gorchfygu teyrnas;
Ond y synwyr mwyaf allan,
Yw ennill rhan o'r nefoedd wiwlan.

### CWYMP A DYRCHAFIAD.

Cyn bod cwymp, rhaid yw bod uchder,
Cwymp sydd byth yn dilyn balchder,[G]
Ac felly'n ddiau mae gostyngiad,
Byth yn myn'd o flaen dyrchafiad.

### POEN.

O! mor flin yw poen diwrnod,
Er na bydd ond mewn un aelod,
Beth wrth hyn yw poen trag'wyddol,
Ym mhob aelod yn wastadol.

[M] *Fortune*, damwain bywyd. [N] 1 Tim. 4. 8. [O] 1 Pedr 3. 4. [P] Act. 3 19. [Q] Gogwydd, tueddiad. [R] Mat. 5. 16. [S] Marc 8. 34. [T] Na erys ond dros un noswaith. [U] Rhuf. 8. 8. [V] Diar. 13. 5. [W] Rhuf 1. 30. [X] Rhuf. pen. 13. [Y] Diar. 28. 19. [Z] Yn rhedeg oddiwrth y pen hwnnw o'r yrfa lle y mae enill y gamp. [A] Yn ddiwyd. [B] 2 Cor. 13. 5. [C] *Tarry*, aros. [D] Psalm 19. 1, 2. [E] *Doctor*, athraw, dysgawdwr. [F] *Traveller*, teithiwr. [G] Diar. 16. 18.

### LLAWENYDD.

O! mor hyfryd gennym beunydd,
Yw cael gronyn o lawenydd;
Gan hynny 'mrown i fyw'n grefyddol,
Er mwyn llawenydd yn drag'wyddol.[I]

### UNDEB.

Nerth i bob peth ydyw undeb,
Gwendid pob peth yw'r gwrthwyneb;
Edef wan, ynghyd, nis torrir,[J]
Gwir gymdeithion nis gorchfygir.

Y mae amryw droedigaeth,
Un at ddrwg, oddiwrth Grist'nogaeth,
Ac un at dda, oddiwrth ddrygioni,
Y dyn a'r un a dâl ei enwi.

### ENLLIBO.

Yr enllibwr brwnt, digasog,[K]
Sydd yn bwytta ei gymydog,
Ac fel clêr[L] yn chwilio ei glwyfau,
Ac yn caru'r rhai'n yn orau.

### CARIAD.

Fe geir aur ond myn'd i'r India,
Fe geir mawredd ond rhyfela;
Fe geir dysg yn mysg y doethion,[M]
Ond ym mha le ceir cariad ffyddlon?

### ADFYD.

Adfyd rhai yw bod yn dlodion,
Adfyd eraill yw clefydion;
Ond yr adfyd mwyaf rhyfedd
Yw bod heb obaith am drugaredd.

### CANU.

Anhawdd canu ar y crog-bren,
Ac ar wynt ar ben yr hwylbren;
Ond y Cristion a all ganu,
Pan y byddo yn terfynu.[N]

### ANGHRIST.

Nid yw anghrist ddim ond un
Sy'n gwrthwynebu Crist ei hun;
Ac os felly, mae'n ddiwad
Lawer anghrist yn ein gwlad.[O]

Mae rhai yn fawrion yn eu bryd
Am ddyrchafiad yn y byd;
Ond os caf fi ddyrchafiad Duw,
Ni cheisiaf ragor yn fy myw.

### UFUDD-DOD.

Mi ryfeddais weled dynion
Yn fwy parod yn mhob moddion,
I roi ufudd-dod i ryw ddeifes,[P]
Nag i'w Duw, a'u Harglwydd cynhes.

### GWAG-OBAITH.

'Does fawr yn myn'd i golledigaeth,
Trwy gyhoeddus anghrediniaeth;
Mil sy'n myn'd i uffern ddiffaith,
Trwy goeg-hyder a gwag-obaith.

### CREFYDD.

Yr uniawn ffordd a'r ffyddlawn grefydd,
Yw gwas'naethu'r Arglwydd beunydd,
Myn'd i'r llan[Q] a dilyn ffalster,
Nid yw'r grefydd hon ond ofer.[R]

### CHWANT.

Y chwant y sydd mewn dyn annuwiol,
Ydyw pechu yn wastadol,
Ond y duwiol sy'n chwennychu
I fod yn dda, ac etto'n pechu.[S]

### FFYNNON.

Er bod dw'r yn rhad mewn afon,
Rhaid in' fyn'd i'w geisio'n gysyn,
Crist yw ffynnon dw'r y bywyd,[T]
Etto rhaid ei geisio'n ddiwyd.

### FFYDD.

Ffydd sy'n dangos tir y bywyd,
Ffydd sydd yn gorchfygu'r holl-fyd;
Ffydd sy'n gwneuthur dyn yn bur-lan,
Ffydd yw'r un-peth rheitaf allan.[U]

### DIOLCHGARWCH.

Ni rown ddiolch mawr i ddynion,
Yn dra mynych am eu rhoddion,
I'r Duw sy'n rhoi pob rhyw ddedwyddwch,
Bychan iawn yw diolchgarwch.

### ANGHREDINIAETH.

Diffyg pwys a diffyg ystyriaeth,
Yw bod cymaint anghrediniaeth;
Anghrediniaeth dynion beunydd,
Yw eu bod hwy mor ddi-grefydd.[V]

### TRAIS.

Nid oes ond trais yn llanw'r holl-fyd,
Pawb sy'n gwbl am y golud;
Ni chaiff un-gwr yn ei holw,
Ddim ag allo arall gadw.

### YNAD.

Bydd yn ynad ac yn farnwr
Ar dy galon ddrwg a'th gyflwr;[W]
Ond na fydd farnwr ar gym'dogion,
Can's ni wyddost mo'u hachosion.

[I] Mat. 25. 23. [J] Preg. 4. 12. [K] Diar. 11. 9. [L] Cylion. [M] Diar. 13. 20. [N] Diar. 14. 32. [O] Ioan 2. 18, 22. [P] *Dives* (Lladin) gŵr goludog. [Q] Eglwys, lle addoliad. [R] 2 Tim. 2. 19. [S] Rhuf. 7. 21. [T] Ioan 4. 10. [U] Heb. 11. 6. [V] Heb. 3. 19. [W] Gal 6. 4.

BEDD.

Yn y bedd y mae y meirwon,
Yn cyd-orwedd heb ymryson,
Brenhin mawr wrth ochor beger,[Y]
Yn fwyna' gŵr heb drais na balchder.[Z]

ADGYFODIAD.

Pan y del yr adgyfodiad,
Fe gaiff yr holl rai duwiol difrad,
Gyrph a gwisgad newydd hyfryd,[A]
I gyfarfod â'u Hanwylyd.

BARN.

Pan y del dydd barn yr holl-fyd,
Rhaid myn'd ger bron, ac atteb hefyd,
A derbyn barn gan Grist ar gyhoedd,
Yn ol natur ein gweithredoedd.[B]

ANGYLION.

A fynno fyn'd i fynydd Seion.[C]
Lle mae Crist a'i holl angylion,
Mae'n rhaid iddo yn ei fywyd.
Ddysgu gwaith angylion hefyd.

CYTHREULIAID.

Os ni fynni fyn'd i'r poendod,
At gythreuliaid i'r pwll isod,
Mae'n rhaid iti wir ochelyd
Ffordd y cythraul yn dy fywyd.

DAWN.

Rhoes yr Arglwydd ddoniau mawrion,
Yn rhwydd yn rhad i feibion dynion,[D]
Y dynion sydd yn gwrthryfela,
Yn erbyn Duw a'r doniau yma.

GWIRIONEDD.

Y gwir gan rai ni chaiff ei wrando,
Câs gan rai y man lle bytho;
Ond er hynny caiff gwirionedd,
Iawn dderbyniad yn y diwedd.

DYSGEIDIAETH.

Y mae llawer rhyw ddysgeidiaeth,
Dysg mewn da, a drwg yn helaeth;
Y mae dysg yn help i'r holl-fyd,[E]
Ac yn gwneuthur niwed hefyd.

OFN.

Y mae rhai yn ofni dynion,
Yn fwy nag ofni'r Arglwydd cyfion;
A dyma ofon brwnt anniben,
Ofni'r ffon yn fwy na'i pherchen.[F]

HYDER.

Gallwn roddi hyder ormod
Ar waed Crist, os carwn bechod;[G]
Ond byth ni roddwn hyder ddigon,
Os ymrown i rodio'n ffyddlon.

SABBATH.

Gwaith y Sabbath yw sancteidd-
 rwydd,[H]
Ac nid dilyn pob halogrwydd,
Ac nid eistedd yn y cornel,
Heb ddim ond cadw Sabbath 'nifail.

YMROAD.

Ymröad pob annuwiol fryd,
Sy am fyw yma yn y byd,
Ac nid ymröad gwir i fyw.
Yma'n sanctaidd wrth fodd Duw.

DONIAU.

Doniau Duw sydd fel y gwlaw,
Yn disgyn beunydd yma a thraw,
A ninnau'n pechu ym mhob rhith,
Ysywaeth,[I] beunydd rif y gwlith.

BODDI.

Rhai sy'n boddi yn eu hawdd-fyd,[J]
A rhai eraill yn eu hadfyd;
Rhai mewn bustl, rhai mewn mêl,
Ni wn i beth yw'r gwa'n[K] pan ddel.

MOR.

Yn y môr mae pysgod mawrion,
Yn traflyngcu'r bychain gweinion;
Yr un modd mae dynion diriaid[L]
Yn gorthrymmu y rhai gweiniaid.[M]

BYD.

Nid yw'r byd ond twyll yn gyfan,
Ac hudoliaeth mawr, nid bychan;
Ffol yw'r dyn ro'i hyder arno,
Heb wybod c'yd caiff aros ynddo.

BEDYDD.

Llawer un sy'n derbyn bedydd,
(Fel y d'wedant gred a bedydd,)
Wedi hyn yn byw'n annuwiol,
Megis pagan anghrist'nogol.

SACRAMENT.

Yn y sacrament bob amser,
Y mae Crist yn stofi[N] swpper,
Gwin a llaeth i'r holl ffyddloniaid,
I ddiwallu corph ac enaid.

[Y] *Beggar*, cardottyn. [Z] Job 3. 13—19. [A] Phil. 3. 21. [B] 2 Cor. 5. 10. [C] Psalm 15. 1, &c. [D] Act. 17. 25. [E] Diar. 4. 13. [F] Mat. 10. 28. [G] Heb. 10. 26, 27. [H] Exod. 20. 8. [I] Fel y mae gwaethaf. [J] 1 Tim. 6. 9. [K] Gwahaniaeth. [L] Drygionus, creulon. [M] Psalm 10. 9. [N] *Bestow*, cyfrannu.

GWRES.

O mor wresog ydyw dynion,
Ynghylch pleserau'r byd a'i foddion;[O]
Ond pan elont hwy i'r demel,
Fe dry'r gwres yn rhew ac oerfel.

TYFU.

Y mae'r dda'r, a'r coed, a'r cerrig,
A phob peth yn tyfu 'chydig;
Ond nyni sy'n arddel crefydd,
Nid oes neb all wel'd ein cynnydd.

GWR.

Dylai gŵr fod yn ddioddefgar,[P]
Yn cyd-ddwyn a 'stwr a chlebar;
A thros gyrph yn gwir ofalu,
Ac eneidiau pawb o'i deulu.

GWRAIG.

Gwraig a ddylai roi ufudd-dod,
Ac anrhydedd mawr i'w phriod,[Q]
A darparu at ei heiddaw,
Ac yn wastod fod yn ddistaw.[R]

PLANT.

Plant y sydd fel saethau llymion,[S]
Os da, hwy saethant ein gelynion;
Ond os drwg, heb dd'wedyd rhagor,
Saethau fyddant yn ei hochor.

CALON.

Cymmer ofal am dy galon,[T]
Chwilia allan ei dichellion,
Trefna'r hyn a fo'n anghymmen,
Ti gai wel'd yn hawdd dy fforten.[U]

DWFR.

Byth ni ellir cynnal bywyd,
Heb y dyfroedd anwyl hyfryd;
Byth ni ellir byw'n ysprydol,
Heb ras Duw, a'r dyfroedd bywiol.[V]

BLODAU.

Nid gwell pren er maint ei flodau,
Heb fod arno beraidd ffrwythau;
Nid gwell Cristion er ei broffes,[W]
Os â ar ol y byd a'i ormes.

FFRWYTH.

Beth dâl pren heb risg' am dano?
Beth dâl corph heb enaid ynddo?
Beth dâl llygad na bo'n gweled?
Beth dâl proffes wych heb weithred?

CARREG.

Drwg yw'r garreg yn y bledren,
Gwaeth o lawer yn yr aren,
Ond gwaethaf oll medd pawb o'r doethion,
Ydyw'r garreg yn y galon.[X]

BARCUT.

Fel y mae y barcut creulon,
Yn 'sglyfaethu'r cywion gweinion,
Felly mae ein gelyn marwol
Yn ein disgwyl yn wastadol.[Y]

CORPH.

Bwyda'r llo, newynu'r plentyn,
Lladd y di-ddrwg yn ei rwymyn,
Y mae'r hwn y sydd yn ddiriaid
Yn porthi'r corph, yn nychu'r enaid.

BYWYD.

Bywyd du yw'r bywyd yma,
Bywyd gwael, na wel mo'i wala;
Bywyd gwynn yw'r bywyd arall,
Bywyd dâl ei geisio'n ddiwall.

GYRFA.

Y mae bywyd y byd yma,
Yn hyn o beth heb fod fel gyrfa,—
Hyspys fydd ei hyd, a'i hirder,[Z]
Ond pwy a ŵyr mo hyd ei amser?

CORON.

Rhedir ym mhell, yn hir, o gwmpas,
I geisio ennill coron teyrnas;
P'am nas rhedir yn ddiffuant,[A]
Er mwyn coron y gogoniant?

ESGUS.

Ni chymmer Iesu Grist yn esgus,
Na'r wraig, na'r tir, na'r ychen trefnus,[B]
Os na byddwn ni yn ddiwyd,
I'w was'naethu yn ein bywyd.

MOMENT.

Blwyddyn faith yn nhir y bywyd,
Sydd i'w gwel'd fel moment hyfryd;
Ond yn uffern, gyda'r gelyn,
Y mae moment fach fel blwyddyn.

TYWOD.

Y mae mwy na rhif y tywod
Yn y byd o bob rhyw bechod;[C]
Rhyfedd iawn gan hynny'n ddi-ffa'l,[D]
Fod yr Arglwydd yn ei gynnal?

[O] Meddiannau. [P] Eph. 5. 25. [Q] Col. 3. 18. [R] I Tim. 2. 11, 12. [S] Psalm 127. 3, 4. [T] Diar. 4. 23. [U] *Fortune*, digwyddiadau bywyd. [V] Ioan 4. 14. [W] *Profession*, yr hyn a gymmero dyn arno fod. [X] Ezec. 36. 26. [Y] Psalm 7. 2. [Z] Parhad. [A] Diesgus, diragrith [B] Luc 14. 18–20. [C] Diar. 27. 3. Jer. 23. 10. [D] *Fail*, methu.

DRYGIONI.

Os dilyni ddrwg[E] yn blentyn,
Odid nas dilyni'n hen-ddyn;
Ac o fyw a marw felly,
Blin a thôst y fydd dy letty.

GWENNOL.

Y mae'r wennol fach heb ammau,
Yn adnabod ei thymhorau,[F]
O gan hynny mae'n rhyfeddod
Nad yw dynion yn ei 'nabod.

DRYW.

Nid yw'r dryw ond 'deryn bychan,
Etto meddwl am ei hunan;
Pa'm mae llawer o wŷr hynod
Yn byw'n llawer gwaeth na'r drywod?

CWRW.

Pennaf peth o'r byd yw cwrw,
Gwell na dim yw gan y meddw!
Fe rydd enaid, corph, a chyfan,
Am gael cwrw yn ei safan.

CHWYS.

Chwysa llawer dyn yn hagar, [G]
I geisio ennill darn o'r ddaear;
Ond nid oes ond rhai ar gyhoedd,
A chwysant fawr yng ngwaith y nefoedd.

DOLUR.

Y mae rhai mewn mawr anghysur,
Am eu bod yn teimlo'u dolur;
Y mae eraill etto'n glafach,
Ac heb goelio'u bod yn afiach!

CYSGU.

Drwg yw cysgu ar y tywod,
Lle mae'r môr yn arfer dyfod;
Gwaeth yw cysgu mewn anhwyldeb,
Ar fin ceulan trag'wyddoldeb.

MEDDYG.

Pan y byddo'r corph mewn ysig,
Ymofynnwn am y meddyg;
Ond ni phrisiwn am yr enaid,
Yn wir, er cymmaint fo'r anghenrhaid.

CYW.

Mi ryfeddais lawer pryd,
A rhyfeddu'r wyf o hyd,
Y gofala rhai am gyw,
Fwy o lawer nag am Dduw.

BIBL.

Y mae llawer yn y byd
O lyfrau da, pe baent ynghyd;
Ond gwell na rhai'n, o bob rhyw iaith,
Yw'r Bibl Sanctaidd lawer gwaith.

LLYFR.

Gellir cael mewn llyfr bychan,
Drysor mawr, am 'chydig arian,
A doethineb y doctoriaid,[H]
Dâl i ddyn eu gwel'd a'u clywed.

Os gofynni anwyl Gristion,
Pwy wnaeth hyn o wersau byrrion?
Gwas i Grist sy'n ceisio'th wthio,[I]
Tua'r nef â'i draed a'i ddwylo.

## XC.—AM GAERSALEM NEWYDD.[A]

### Y RHAN GYNTAF.

1.

O FY mrodyr a'm cyfeillion,
Sydd mewn gofid a thrafferthion,
Yn ymboeni yng ngwlad trwbwl,[B]
Dan flinderau corph a meddwl.

2.

Gadewch ini iawn ystyried
Beth a wnawn, a ph'le gawn fyned,
I gael diangc o'n trallodion,
A chael byd wrth fodd ein calon.

3.

Rhai sy'n myned i ryfela,
Rhai i Dwrci, rhai i'r India,
I gael digon o ddedwyddwch,
Etto byth heb gael ond tristwch.

4.

Mi a glywais am le dedwydd,
Dinas wych Caersalem Newydd,
Lle mae gwa'wdd [C] i bawb a ddelo,
A derbyniad mawr a greso.[D]

5.

Mi ddangosaf i chwi'n eglur,
Beth o hanes hon o'r 'Sgrythyr,
I edrych a fynn Duw, o'i wiw-ras,
I chwi bawb chwennychu'r ddinas.

6.

Mae Saint Ioan yn ei Ddatguddiad,[E]
Yn mynegu ini'n ddifrad,
Iddo wel'd ei hun a'i lygaid
Ddinas harddwych Oen bendigaid.

[E] Diar. 6. 16. [F] Jer. 8. 7. [G] Yn fawr. [H] *Doctors*, dysgawdwyr. [I] "D'hwppo."—S. Hughes. Rhoddir y Pennill hwn, yn ei argraphiad ef, ar ddiwedd y rhan gyntaf.

[A] Nid yw y Gân hon yn argraphiad Stephen Hughes; ond yn argraphiad T. Durston rhoddir hi i mewn dan yr enw "Y Bummed Ran o Waith Ficar Llanymddyfri," er ei bod yn ferrach nag y mae yma, ac yn gwahaniaethu llawer, yn enwedig yn y dechreu; ac y mae R. Tomas yn tystio na chafodd ei hargraphu yn gwbl nac yn gywir erioed cyn ei amser ef. Yn y Gân hon y mae y Ficar yn gosod allan ogoniant a gwynfydedigrwydd y nef, yn bennaf oddiwrth y darluniad a rydd Ioan o'r Jerusalem Newydd, yn Datguddiad, pen. 21. a 22. [B] *Trouble*, trallod. [C] Gwahoddiad. [D] Groesaw. [E] Dat. 21. 2.

7

Mae hi mor hardd, mor wych, mor
Ag na ddichon dyn nac angel, [uchel,
Ddatgan degwm [F] ei rhialtwch,[G]
Na'i gogoniant, na'i dedwyddwch.

8

Y mae hi'n sefyll yn y nefoedd,
Yn bedair-ongl yn ei hamgylchoedd,
Yn rhyfedd iawn, yn fawr, a chyfion,
Yn ddeuddeng mil o 'stadau[H] meithion.

9

Cant a deugain, pedwar rhagor,
Yw hyd a lled ei phedwar ochor,
A go-gymmaint yw ei huchder,
Dyma ddinas yr uchelder.

10

Y mae'r ddinas harddwych, hoyw,
Yn ddisglaer iawn, fel gwydr gloyw,
Perlau a gemmau [I] yw ei gwelydd,[J]
Ac aur yn pafio [K] yr heolydd.

11

Nid yw'r nefoedd uwch ein pennau,
Lle mae'r ser a'r holl planedau,[L]
Er hawddgared yw'n disgleirio,
Ond fel llawr y ddinas honno.

12

Y mae'n ddinas ogoneddus,
Y mae'n ddinas ddedwydd happus,
Y mae'n ddinas sanctaidd nefol,
Y mae'n ddinas hoff, drag'wyddol.

13

Y mae ynthi fil, miliynau
O 'stafeloedd a thrigfannau,[M]
A'r rhai'n dros byth heb rent [N] na thal-
Rhedwn yno wrth yr alwad. [iad;

14

Nid oes achos ynthi'n wastad
Wrth oleuni haul na lleuad,
Na thân pur, na chanwyll fwyn-ber,
Mae'n llawn goleu Haul cyfiawnder.[O]

15

Y mae ynddi bob rhyw ddoniau,
Pob cysuron a phleserau,
Ac yn rhad y cwbwl beunydd,
Dyma'r ddi-dwrdd [P] ddinas ddedwydd.

16

Y ddinas hon a wnaeth Jehofa,
A'i fys ei hun yn llys o'r uwcha',
I'w addoli gan angylion,
A'i glodfori gan Grist'nogion.

17

Gwelydd hon i gyd o gwmpas[Q]
Sydd wedi eu gweithio oll â Thopaz,
Beryl, Jaspis, Amethystus,
Saphir hardd, a gloyw Sardius.[R]

18

Deuddeg porth o berls [S] sydd arni,
I ollwng pobl Dduw dd'od iddi,
A deuddeg angel sy'n ei gwylio,
Rhag i ddim aflan ddyfod yno.

19

Mae ei heolydd wedi'u pafio
Ag aur melyn, yn disgleirio
Fel y gwydr harddwych rhial,[T]
Yn tywynnu fel y crystial.[U]

20

Afon loyw fel yr arian,
Yn tarddu o orsedd Duw ei hunan,
Sy'n dyfrhau pob heol ynddi,
Dwfwr gwell nag Acwafeiti.[V]

21

Pren y bywyd sy 'mhob heol,[W]
Yn tyfu o ddautu'r afon fywiol,
Yn dwyn deuddeg rhyw o ffrwythau,
I ddiwallu'r holl eneidiau.

22

Ni ddaw newyn, ni ddaw clefyd,
I'r rhai fwyttao pren y bywyd;
Ni ddaw syched na thrallodion,
Fyth i neb a yfo o'r afon.

23

Nid oes neb yn trigo ynddi,
Ond angylion y goleuni,
A rhai duwiol etholedig,
A wir brynodd Crist yn unig.

24

Nid oes ynddi bris am drysawr,
Aur, a pherls, a meini gwerthfawr;
Aur sy'n pafio'r holl heolydd,
Gwerthfawr feini'n [X] bildio [Y] gwelydd.

25

Yng nghanol y dref reial [Z] yma,
Y mae gorsedd y Gorucha',
Wedi'i gosod ar ysgwyddau
Hardd angylion, eglur thronau.

26

Canopi [A] fel bwa'r Drindod,
Hardd-wych, eglur, o liw'r emrod,[B]
Sydd uwch ben yr orsedd hyfryd,
Lle mae'r Tad, a'r Mab, a'r Yspryd.

[F] Y ddegfed ran. [G] *Royalty*, mawredd. [H] *Mesur*, ynghylch wythfed ran milldir. [I] *Gems*, meini gwerthfawr. [J] *Walls*, muriau. [K] *Pave*, palmentu [L] *Planets*, sêr gwibiog, a droant oddi amgylch i'r haul. [M] Ioan 14. 2. [N] *Rent*, ardreth. [O] Mal. 4. 2. [P] Di-derfysg. [Q] O amgylch. [R] Meini gwerthfawr o wahanol liwiau a phris. [S] *Pearls*, cerrig drudfawr. [T] Ardderchog. [U] *Crystal*, grisial, maen gwynn tryloyw. [V] *Aqua vitæ*, (Lladin) dwfr bywyd. Geilw y meddygon fath o ddwfr adfywiol wrth yr enw hwn. [W] Dat. 22. 2. [X] "*Precious stones*."—T. Durston. [Y] *Build*, adeiladu. [Z] *Royal*, brenhinol. [A] *Canopy*, llen fawreddog uwchben gorsedd. [B] *Emerald*, maen o liw gwyrdd, yr un a smaragdus.

27.
Saith o lampau gwynnion goleu,
Yn arwyddo ysprydol ddoniau,
Sydd yn llosgi'n eglur rhyfedd,
Bob rhyw awr o flaen ei orsedd.[C]

28.
Y mae ynthi luoedd mawrion,
O seraphiaid ac angylion,
Ac eneidiau sanctaidd filoedd,
Yn teyrnasu yn oes oesoedd.

29.
Gwaith y pennaf ynthi beunydd,
Yw gwel'd rhyfeddodau newydd,
Gan fwynhau pob peth eu gwala,
A chyd-ganu Halelujah.[D]

30.
Nid oes yno ddim ymdynnu[E]
Am le dedwydd i drigfannu;
Y mae pawb yn caru'n ffyddlon,
Heb fod rhyngddynt ond un galon.

31.
Nid oes ynthi gŵyn na chanlyn,[F]
Na fileindra,[G] nac un gelyn,
Na dim ofnau na pheryglon:
Dedwydd yw preswylwyr Seion.

32.
Nid yw ryfedd fod rhai dynion,
Yn y byd yn bererinion,[H]
Ac yn ceisio iddi fyned;
Ond mae'n rhyfedd fod cyn lleied!

33.
O! Caersalem anwyl hynod,
Gwyn ei fyd pe bawn ni ynnod,
Ac pe gallwn innau'n wastad,
I droi pawb i ddyfod attad.

## YR AIL RAN.

### AM DRIGOLION Y DDINAS.

1.
Duw ei hun yw'r pen trigiannydd
A'i Fab Iesu yn dragywydd,
Yr Ysprydd pur yn llawn o rinwedd,
'N un yn eistedd ar yr orsedd.

2.
O ddautu'r orsedd mae cerubiaid
Chwech adeiniog, yn llawn llygaid,[A]
Ddydd a nos yn rhoddi mawrglod
Yn ddi-orphwys i'r hael Drindod.

3.
Nid oes undyn ynddi'n trigo,
Na bo'i wyneb yn disgleirio,
Fel yr haulwen yn yr awyr,
Ar ddiwrnod hafaidd eglur.

4.
Gyda'r rhai'n y mae seraphiaid,
Grymmus, grasol, tanllyd, tanbaid,
Yn cyd-ganu Sanct, Sanct, gan-waith,[B]
I Dduw'r lluoedd yn dra pherffaith.

5.
Yn nesa' at hynny mae henuriaid,
Gwynnion, reial, mewn côr auraid,
A'u coronau yn eu dwylo,[C]
Yn ymostwng i fendithio.[D]

6.
Mae pob un â'i goron auraid,
Yn canu mawl i'r Oen bendigaid;
Mae pob un â'i thuser gantho,
Yn arogl-darthu diolch iddo.

7.
Maent hwy bob rhai yn eu graddau,
'N canu i'r Arglwydd salmau a hymn-
Ac yn rhoddi i'r Oen ganmoliaeth,[au,
Am ei nerthol iachawdwriaeth.

8.
Yr angylion sydd yn gynta'
Yn canu i'r Arglwydd Halelujah,
A'r saint hwythau yn ei hatteb,
O'u cadeiria mewn cyd-undeb.

9.
Nid oes yno sant nac angel,
Na bo'n canu salmau'n uchel,
Nid oes yno un yn segur,
Na bo'n canu mawl yn ddifyr.

10.
Yr un ganiad y sydd ganthyn',
Trwy gyttundeb gyda'r delyn;
Yr un tafod a'r un genau,
Yn clodfori Duw yn ddiau.

C Dat. 4. 5. D Gair Hebraeg, yn arwyddo "Molwch yr Arglwydd." E Cynghennu, anghyttuno. F Ymgyfreithio. G *Villainy*, creulonder. H *Peregrini*, (Lladin,) teithiwr o un wlad i'r llall.
A Dat. 4. 8. B Esay 6. 3. C Dat. 4. 10. D Ar ol hwn, yn argraphiad T. Durston, ychwanegir y pennill canlynol;—

"Mae pob un â'i goron weddus
Ar ei ben, fel brenin grymus;
Mae pob un â'i wisg wen gantho,
Fel offeiriad yn bendithio."

11.
Maent hwy'n canu Halelujah,
Yn dra hyfryd i'r Gorucha',
Ac yn rhoddi clod a gallu,
I'r Oen sanctaidd am eu prynu.

12.
Maent hwy'n canmol mawr drugaredd
Duw, sy'n eistedd ar yr orsedd,
Ac yn moli'r Oen bendigaid,
Am eu prynu o'u caethiwed.[E]

13.
Mae mor hyfryd ac mor weddaidd,
Ganthynt foli'r Drindod sanctaidd,
Ag na allant fyth ddiffygio,
Ond rhoi clod a moliant iddo.

14.
Maent yn gweled bawb yn gynghan,[F]
Wyneb grasol Duw ei hunan;
Yn ei wyneb mae'n dragywydd
Ddigonolrwydd o lawenydd.[G]

15.
Ynghylch yr henuriaid gwynnion,
Mae mil miloedd o angylion
O bob graddau yn addoli
Duw o'u calon, heb rifedu.

16.
Y mae wyneb Duw cyn decced,
Gan ei saint sydd yn ei weled,
Ag na allan chwennych mwyach
Edrych fyth ar ddim amgennach.

17.
Maent hwy'n sefyll yn ddiogel,
O flaen Duw tu fewn i'r demel;
Ni all Satan, nac un gelyn,
Wneuthur mwyach niwed iddyn'.

18.
Nid oes emprwr[H] dan y nefoedd,
Yn cadw llys fel Duw y lluoedd,
Lle mae'r gwaetha' sy'n ei ddilyn,
Yn bennadur ac yn frenhin.[I]

19.
Maent hwy i gyd yn foneddigion,
O'r gwaed roial,[J] un â'r goron;
Maent hwy i gyd yn blant i'r Brenhin,
Ac fel prinsis[K] yn ei ddilyn.

20.
Maent hwy'n frodyr i'r Messias,
Cyd-'tifeddion o'r un deyrnas,[L]
Maent hwy'n ffelos[M] i'r angylion,
Maent hwy i gyd yn dywysogion.

21.
Nid oes un o'r rhai'n yn cysgu
Ddydd na nos, ond golchi canu;[N]
Nid oes un ag all ddiffygio,
Mae mor ddifyr iddynt yno.

22.
Mae pob un â'i goron harddwych,
Ar ei ben, fel brenhin dewrwych,
Mewn gogoniant yn teyrnasu,
Gyda'u Prynwr mawr Crist Iesu.[O]

23.
Mae pob un â'i balmwydd gantho,[P]
Fel congcwerwyr[Q] yn treiwmpho[R]
Ar y byd, a'r cnawd a'r cythraul,
Wedi ffwylo'r[S] rhai'n mewn rhyfel.

24.
Ni bu Selyf[T] a'i hyfrydwch,
Ni bu Rôs[U] a'i holl rialtwch,
Mor drwsiadus yn eu gwisgoedd
Ag yw'r gwaetha' sy'n y nefoedd.

25.
Maent hwy'n deccach yn eu hwyneb,
Nag oedd Absalom deg ddihareb,[V]
Yn disgleirio'n ogoneddus,
Ar lun corph ein Prynwr grymmus.[W]

26.
Maent hwy'n gryfach nag oedd Samson
Maent hwy'n lanach na neb dynion,
Mae pob un yn hardd fel angel,
Ac ar draed yn gynt na Has'el.[X]

27.
Maent hwy'n byw mewn mawr ded-
wyddwch,
Gwir lawenydd a rhialtwch,
Hwnnw yn parhau'n dragywydd,
Heb na phoen, na thrangc,[Y] na chys-
tudd.

28.
Eu gwaith hwy i gyd, o fach i fwya',
Yw canu i'r Arglwydd Halelujah,
A rhoi moliant, clod, a gallu
I'r Oen a laddwyd wrth ein prynu.

[E] Dat. 5. 9. [F] Yn gysson. [G] Psalm 16. 11. [H] *Emperor*, ymerawdwr. [I] Dat. 1. 6. [J] *Royal*, brenhinol. [K] *Princes*, tywysogion. [L] Rhuf. 8. 17. [M] *Fellows*, cymdeithion, cydraddolion. [N] Canu yn egniol ac yn ddidor. [O] Ar ol y pennill hwn, rhoddir yr un canlynol yn argraphiad T. Durston,—

"Mae pob un â'i wisg wen gannaid
Yn ei gylch mewn gorsedd euraid,
Megis 'ffeiriad yn aberthu,
Yn rhoi clod a mawl i'r Iesu."

[P] Dat. 7. 9. [Q] *Conquerors*, gorchfygwyr. [R] *Triumph*, gorfoleddu am fuddugoliaeth. [S] *Foil*, gorchfygu, gyrru ar ffo. [T] Salamon. [U] *Rose*, rhosyn.—Gall fod yma gyfeiriad at Rosamond, neu Rosa Munda, gordderch Harri II., brenhin Lloegr, yr hon a ystyrid y fenyw lanaf yn ei gwlad a'i hoes, ac a fu byw dros amser mewn rhwysg mawr. [V] 2 Sam. 14. 25. [W] Phil. 3. 21. [X] Ahasel. 2 Sam. 2. 18. [Y] Terfyn, diwedd.

29.
Bwyd pob rhai yw manna hyfryd,
O hoff ffrwythau pren y bywyd;
O'r hwn ffrwyth pan fwyttaer un-
Ni newynir byth yr eilwaith. [waith,

30.
Eu diod oll yw dw'r y bywyd,
O afon Duw, y ffynnon hyfryd,
Yr hon sy'n tarddu'n grychais[Z] allan,
O tan orsedd Duw ei hunan.

31.
Eu difyrwch ydyw rhodio
Gyda'r Oen b'le bynna'r elo,[A]
I lann ffynnon dw'r y bywyd,
Gan glodfori ei enw hyfryd.

32.
Gwedi'n, pan y delont adre',
Mae gwledd rial ar y byrddau,
Wedi ei gosod i roesawi
Yr Oen o'i rodiad[B] a'i gwmpeini.[C]

33.
Ni bu wledd Ahasuerws,[D]
A'i rialtwch mawr a barws,[E]
Ddim gyffelyb i'r wledd yma,—
Swpper mab y Brenhin mwya'.[F]

34.
Ni chlywodd clust, ni welodd llygad,[G]
Ni ddych'mygwyd o'r dechreuad,
Faint o foethau sy'n y swpper,
Wedi ei trwsio[H] ar eu meder.

35.
Nid oes ynddi neb yn bwytta
Unrhyw ymborth waeth na manna,
Nac yn yfed ynddi hefyd,
Ddiod waeth na dw'r y bywyd.

36.
Duw ei hun sy'n costi'r swpper,[I]
Mab y Brenhin ydyw'r sewer,[J]
Awdurdodau yw'r controlwyr,[K]
Arch-angylion yw'r gwas'naethwyr.[L]

37.
Y cerubiaid sydd yn canu,
Ar y delyn i ddifyrru,
A'r seraphiaid gyda hwythau,
Yn cannu ar dafod ac ar dannau.

38.
Y caniadau yw Hosanna,[M]
Sanct, Sanct, Sanct, ac Halelujah,
Diolch, gallu, mawl, a mawr-glod,
Y fo fyth i'r sanctaidd Drindod.

39.
Mae pob un yn cael ei ddigon,
O bob peth wrth fodd ei galon,
Mae pob synwyr yn ymborthi
Ar y peth sy'n perthyn iddi.

40.
Y mae'r llygad yn gwel'd digon
O rialtwch rhwng angylion,
Y mae'r clustiau'n clywed hwythau
Eu gwir wala o ber leisiau.

41.
Y mae'r genau'n cael ei borthi
Bob dydd â manna ac Acwafeiti;[N]
Y mae'r tafod yn cael canu,
Ddydd a nos i'r Prynwr Iesu.

42.
Y mae'r cyrph yn hedeg hwythau,
Mor ddirwystr a'r eneidiau;
Y mae'r pen a'r traed, a'r cwbwl,
Cyn ebrwydded[O] ag yw'r meddwl.

43.
Nid oes aelod mewn un Cristion,
Fu'n gwas'naethu Duw yn ffyddlon,
Na fynn Duw ei ogoneddu
Ym mharadwys am ei was'naethu.

44.
Mae'r holl gorph, pan ddelo yno,
Fel yr haulwen yn disgleirio:
Os disgleiria'r corph mor gannaid,
Pa wedd yr hardd ddisgleiria'r enaid!

## Y DRYDEDD RAN.

### YN DANGOS PA RAI NAS CANT DDYFOD IDDI.

1.
Nid â iddi ddim sydd aflan,[A]
Gwas i'r byd, y cnawd, na Satan;
Nid â i mewn i lys yr Arglwydd,
Ond 'tifeddion gwir sancteiddrwydd.

2.
Nid â i mewn un anwybodus,
Nac un ofer, gwag-siaradus,
Nac un rhyw bleserwr aflan,
Nac un cybydd brwnt ei anian.

[Z] Yn gryf fel pe byddai yn ferwedig. [A] Dat. 14. 4. [B] "O'i brogras," (o'i daith.)—T. Durston. [C] *Company*, cymdeithion. [D] Ahasferus. Esther 1. 3. [E] A barhaodd, neu barodd. [F] Dat. 19. 9. [G] 1 Cor. 2. 9. [H] Parottoi. [I] Yn ei pharottoi ar ei draul ei hun. [J] *Sewer*, arolygwr gwledd. [K] *Comptrollers*, trefnwyr. [L] Rhai yn gweini, *waiters*. [M] Gair Hebraeg, yn arwyddo "Pâr yn awr lwyddiant." [N] *Aqua vitæ*, dwfr y bywyd. [O] Cyn gyflymed.

[A] Dat. 21. 27.

3.
Nid â i mewn un chwerw llidiog,
Na'r gŵr balch, na'r ofnus diog;
Nac unrhyw ragrithiwr aflan,
Y mae'n rhaid i'r rhain fod allan.

4.
O! gwae finnau weled dynion,
Yn byw'n ddrwg, yn annuwolion,
Ac yn tybied, trwy ynfydrwydd,
Y cânt fyn'd i lys yr Arglwydd.

5.
O! rhyfeddol yw'r ffolineb,
Y tywyllwch a'r dallineb,
Tebyg [B] caiff bwystfilod aflan
Fyn'd i dref Caersalem bur-lan.

6.
Rhyfedd iawn y tebyg undyn,
Y caiff ffromffol, y caiff mochyn,
Fyn'd i dref ein Prynwr pur-lan
Lle mae Duw yn byw ei hunan.

## Y BEDWAREDD RAN.

### YN DANGOS PA RAI A GANT FYNED IDDI.

1.
Crist a aeth i'r ddinas nefol,
I gymhwyso lle i'w bobol:[A]
Sef i'r rhai sy'n credu yntho,
Ac sy'n ffyddlon ufudd iddo.

2.
Yr rhai sydd yn galaru beunydd,
Am bechodau mawr y gwledydd,
Yr un modd a'u Harglwydd tirion,
Gan geisio gwella eu harferion.

3.
Y rhai sy'n llefain ar Dduw'n wastod,[B]
Am ei help a'i gymhorth parod,
Ac yn diolch iddo hefyd,
Am ei ddoniau,[C] awr ac ennyd.

4.
Y rhai sydd yn llafurio'n ddiwyd,
Er mwyn cael rhan yn nhir y bywyd.
Ac yn dibrisio pob rhyw w'radwydd,
Er mwyn dilyn gwir sancteiddrwydd.

5.
Y rhai sy'n gadael eu pleserau,
Er mwyn cyfeillach wiw y seintiau,
Y rhai y sydd yn gwerthu'r ddaear,
Er mwyn cael rhan o'r nefoedd hawdd-
gar.

6.
Y rhai y sydd a'u hymarweddiad,
Yn y nefoedd bur yn wastad,[D]
Ac yn hiraethu am fod ynthi,
Dyna'r rhai a gânt fyn'd iddi.

## Y BUMMED RAN.

### ANNOGAETH I BAWB DDYFOD IDDI.

1.
Pwy na cheisiai fyn'd oddi yma,
I'r fath le sydd byth yn para?
A rhoi ffarwel [A] i'r byd daearol,
Er mwyn hawl o'r deyrnas nefol.

2.
Pwy ddewisai gwmni [B] dynion
Drwg, anhywaith, ac anffyddlon,
O flaen myn'd i'r nefoedd oleu,
At angylion mwyn a seintiau?

3.
Pwy ddewisai fyrr lawenydd,
A phleserau gweigion dderfydd,
O flaen pob llawenydd nefol,
Sydd yn para yn drag'wyddol?[C]

4.
Pwy ddewisai fyw fel mochyn,
Yn anifail brwnt ysgymmun,
Heb obaith byth gael myn'd i orphwys,
Ar ol marw, i Baradwys?

5.
A all undyn fod yn credu,
Y pethau hyn wyf yn eu traethu,
Ac etto byth heb fod am danyn'?
Nid wy'n credu gall fod undyn.

6.
Ymrowch mewn pryd i ado'r ddaear,
Ymrowch i droedio'r [D] llwybr hawdd-
gar, [rwydd,
Ymrowch i ddilyn gwir sancteidd-
Ymrowch i fyn'd i lys yr Arglwydd.

7.
Duw fendithio hyn o gynghor,
Duw ddatguddio i chwi ragor,
Duw'ch cyf'rwyddo â'i Lân Ysbryd,
I fyn'd drwy'r byd i dir y bywyd.

[B] Tybied, meddwl.

[A] Ioan 14. 2. [B] Yn wastadol. [C] Rhoddion. [D] Phil. 3. 20.

[A] *Farwel*, canu yn iach. [B] *Company*, cyfeillach. [C] 2 Cor. 4. 18. [D] Teithio, cerdded. Heb. 12. 14.

## LLYTHYR YR AWDWR AT RYW EGLWYSWR, A DDEISYFODD ARNO DROI AR GAN GATECHISM EGLWYS LOEGR.

1.
Dy zel[A] at Dduw a'i Eglwys,
Fy mrawd, mi wn a barwys,[B]
It' geisio troi holl byngciau'r ffydd,
Ar gân, mor brudd, mor gymmwys.

2.
Ti weli fod yn hawsach
Gan Gymry, (heb eu hammharch,)
Ddysgu caniad ofer serth,[C]
Na'r peth sydd werthfawroccach.

3.
Gan hynny ceisiaist genny',
Droi'r pyngciau hyn i'w canu,
Fel y gallo'n defaid mân,[D]
Yn rhwydd ar gan eu dysgu.

4.
Wrth wel'd dy dduwiol fwriad,
Ni phellais o'th ddymuniad,
Ond mi dro'is dy byngciau'n fyrr,
Yn blaen,[E] yn eglur ganiad.

5.
Ni cheisiais ddim cywrein-waith,
Ond mesur esmyth, perffaith,
Hawdd i'w ddysgu ar fyrr dro,
Gan bawb a'i clywo dair-gwaith.

6.
O derbyn yn roesawgar,
A geisiaist mor 'wyllysgar,
Er nad ydyw'r gwaith ond gwael,
Mae'n chwennych cael dy ffafar.[F]

7.
Os caiff ein Duw ogoniant,
Na'n defaid[G] dippyn llesiant,
'R ŷm ni'n dau yn cael ein gwynn,
O'r gorchwyl hyn trwy lwyddiant.

8.
Duw roddo dy ddymuniad,
Duw fyddo Ceidwad arnad;
Gan fod dy ffrwst[H] a'm gwaith yn
Mi gym'ra 'nawr fy nghennad. [fawr,

## CATECHISM EGLWYS LOEGR.[A]

HOLIAD.
Fy mhlentyn hygar, hoyw,
Er Crist beth yw dy enw?
Myneg'[B] im' o galon brudd,[C]
Dy gred a'th ffydd yn groyw.

ATTEB.
Fy enw yw Cynedda,
A gollwyd gynt yn Adda,
Etto gadwyd, trwy ras Duw,[D]
Yng Nghrist, 'r hwn yw'r Messia.

H.
Pwy roes dy enw iti,
Lle'r oeddit wedi'th golli,
Gyda'r byd, trwy Adda ga'th,
A'th droes i'r fath drueni?

A.
Fy nhadau a'm mammau bedydd,
Trwy lân ac union grefydd,
Pan fedyddiwyd fi â dw'r,
Wrth arch fy Mhrynwr ufudd.

H.
Pa les sy'n dyfod iti,
O'th fedydd, gwedi'th olchi
Yn y dw'r gan 'ffeiriad Duw,
Gan gymmaint yw'th drueni?

A.
'R wy'n aelod pur i'm Prynwr,[E]
'R wy'n blentyn i'm Creawdwr,
'R wy'n 'tifedd mawr o deyrnas ne',
'R wy' Nghrist yn oreu 'nghyflwr.

H.
Pa beth yw'r llw a'r ammod
A wnaeth dy feichiau drosod,
Pan dderbyniaist hyn o fraint,
Ym mhlith y saint trwy gymmod?

A.
Addawsant dri pheth drosof,
Nas gad'af byth yn anghof,
Ond mi'u cadwaf hwynt i gyd,
Trwy Dduw, tra bywyd ynnof.

[A] *Zeal,* serch, gwresogrwydd yspryd. [B] A barodd. [C] Masweddol, anfoesol. [D] Plant y plwyfi. [E] *Plain,* amlwg, diorchest. [F] *Favour,* boddlonrwydd, cymmeradwyaeth. [G] Cynnulleidfaoedd dan eu gofal. [H] Brys.

[A] Rhydd Stephen Hughes esponiadau anarferol o helaeth ar rai rhanau o'r Catechism; ond pan ystyrir tywyllwch yr oes yr oedd efe yn byw ynddi, a manteision lliosog yr oes hon, hyderir nad yw yn anghenrheidiol bod mor faith yn awr; am hynny ni roddir yma ond pigion byrrion o honynt. [B] Mynega. [C] Ystyriol. [D] Y ffyddloniaid edifeiriol, ufudd, a gedwir trwy Grist, nid gweithredwyr anwiredd. Ioan 3. 16. Act. 3. 19. Heb. 5. 9. Mat. 7. 23. [E] O leiaf mewn proffes ac ymddangosiad, ond os felly'n wirioneddol, yna yn "blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nefoedd." Bedyddiwyd Simon y swynwr; er hynny dywedir nad oedd ei galon yn union ger bron Duw, a'i bod mewn bustl chwerwder a rhwymedigaeth anwiredd. Act. 8. 21, 23.

H.

Beth ydyw'r tri pheth hynny,
Addawsant eu cyflawnu,
Pan yr oeddit mor ddi-rym?
Mynega im' os medri.

A.—1.

Yn gynta', bod im' wrthod
Y diawl, a'i dwyll, a'i gymmod,[F]
A'r byd anwir, mawr ei wawd,
A chwantau'r cnawd a'i bechod.

2.

Yn nesaf, boed im' gredu
Holl byngciau ffydd Crist Iesu,
Y rhai'n y gredo bob yr un
All pob rhyw ddyn eu dysgu.

3.

Yn drydydd, cadw'n garcus,[G]
Orch'mynion Duw a'i 'wyllys,
A byw'n eu hol yn dda fy moes,[H]
Holl ddyddiau f'oes yn weddus.

H.

Beth ydwyt ti yn dybied,
A rwymwyd di gyn gaethed,
Ag y rhaid it' gredu hyn,
A'u cwmpla'n[I] dynn trwy weithred?

A.

Yn wir 'rwy'n rhwym i gredu,
Ac hefyd i gyflawni
Hyn i gyd, a hynny wnaf,
Trwy nerth Duw Naf, heb ffaelu.

Ac yr wyf yn ddiolchgar
I'm Duw, am gymmaint ffafar,[J]
A'm galwodd i i'r cyfryw 'stad[K]
Yng Nghrist, fy Ngheidwad hygar.

Ac mi 'tolygaf arno
Roi gras im' byth i drigo
Yn y cyfryw 'stad tr'wy'[L] byw,
Nes tynno Duw fi atto.

H.

Adrodd imi'n brysur,
Holl fannau'th ffydd yn eglur,
A mynega im' ar led,
Beth yw dy gred a'th hydyr.[M]

A.

'Rwy'n credu yn Nuw galluog,
Tad Iesu Grist trugarog,[N]
Creawdwr nef, a dae'r a dw'r,
A'u pen Rheolwr enwog.

Yr wyf fi'n credu hefyd
Yn Nghrist, fy Mhrynwr hyfryd,[O]
A wnaed yn ddyn[P] o'r wyryf Fair,
Trwy rad ei ddiwair[Q] Yspryd.

Yr hwn a wir ddioddefwys
Dros ddyn, dan Bon's Pilatwys,[R]
Ac a hoeliwyd ar y groes,
Nes marw o'r loes a'i lladdwys.

Gwedi marw ar y groesbren,
Fe gladdwyd yn y ddae'ren;
Fe ddisgynodd er ein mwyn,
I uffern[S] dwymn aflawen.

A'r trydydd dydd fe gododd[T]
O farw, lle gorweddodd,
Gwedi gorfod angau glas,[U]
A'r gelyn[V] cas a'n twyllodd.

Ac yno fe dderchafwys,
I'r drydedd nef yn gymmwys,
Lle'r eiste'n awr ar law dde'r Tad,[W]
Yn Geidwad idd ei eglwys.

O'r nef fe ddaw yn hoyw,[X]
I farnu'r byw a'r meirw,[Y]
Mewn gallu a gogoniant mawr,[Z]
Pan ddel yr awr i'n galw.

'Rwy'n credu'n ffyddlon hefyd
I'r Glân a'r Sanctaidd Yspryd,[A]
Sy'n deilliaw oddiwrth y Tad[B] a'r Mab,
Gwir Roddwr rhad a bywyd.

'Rwy'n credu yn suwredig,[C]
Fod Eglwys lân Gatholig,[D]
O bob nasiwn,[E] oes, a thir,
Gan Grist yn wir gadwedig.[F]

'Rwy'n credu fod yn gynghan,
I bawb o'r saint eu cyfran
Yn Iesu Grist, ein Prynwr drud,
A'i ddoniau i gyd yn gyfan.

[F] Cyfeillach. [G] *Careful*, gofalus. [H] Ymarweddiad. [I] Cwblhau, cyflawnu. [J] *Favour*, tiriondeb, caredigrwydd. [K] *State*, cyflwr. [L] tra fyddwyf. [M] Hyder. [N] Rhuf. 15. 6. [O] Ioan 14. 1. [P] Ioan 1. 14. [Q] Glân. [R] Pontius Pilatus, llywydd Rhufeinig Judea, yn amser yr hwn y croeshoeliwyd Crist. [S] Act. 2. 31. [T] 1 Cor. 15. 3, 14. [U] 1 Cor. 15. 55, 57. [V] Y diafol. Heb. 2. 14. [W] Marc 16. 19. [X] Phil. 3. 30. [Y] Act. 10. 42. [Z] Mat. 24. 30. [A] Ioan 5. 7. [B] Ioan 15. 26. [C] *Assuredly*, sicr, diysgog. [D] *Catholic*, cyffredinol. [E] *Nation*, cenedl. Actau 10. 35. [F] Eph. 5. 25—27.

'Rwy'n credu bod maddeuant
I bawb a wir 'difarant,[G]
Er mwyn Mab Duw, a dalodd iawn,[H]
Tra chyflawn am eu nwyfiant.

'Rwy'n credu adgyfodiad[I]
I'm cnawd pan ddel yr Ynad,[J]
A'i udgorn mawr[K] i'n codi o'r lluwch,
I gyfrif,[L] uwch a'r lleuad.

Ac yr wy'n credu'n hollol,
Fod bywyd mawr trag'wyddol
I holl blant Duw, a'r saint ynghyd,[M]
Ar ol y byd presennol.[N]

H.

Pa bethau'n bennaf ddysgaist,
O'th gredo, 'rhon adroddaist?
Cais grynhoi yn fyrr ynghyd
Ffrwyth hyn i gyd a draethaist.

A.

'Rwy'n dysgu credu'n gyntaf,
Yn Nuw, 'r gwir Dad goruchaf,
'R hwn a'm creodd, a'r holl fyd,
Mewn dull a phryd o'r glanaf.[O]

Yn ail yr wyf yn credu
Yn Nuw'r Mab, Arglwydd Iesu,
A'm prynodd i, a phob rhyw ddyn,
A'i waed ei hun i'n helpu.[P]

Yn drydydd credaf hefyd,
I Dduw'r Sancteidd-lân Yspryd,
A'm sancteiddiodd,[Q] a phob rhyw,
Etholodd Duw i fywyd.[R]

H.

Ti addewaist trwy feichëon,[S]
Lwyr gadw'r holl orch'mynion;
Pa sawl un o'r rhai'n y sydd
I'w cadw'n brudd o'r galon?

A.

Mae deg gorchymmyn croyw,
A roes Duw im' eu cadw;
Nid oes torri un o'r rhai'n,
Rhag myn'd yn gelain farw.

H.

Pa rai er Crist yw'r rhei'ny?
Moes glywed, prawf eu henwi;
Cais fyw yn sanctaidd yn eu hol,
A gwna hwy'n rheol iti.

A.

Y rhai ar fynydd Sina,
A draethodd Duw gorucha'
A'i enau'i hun o'r tân a'r mwg,[T]
Yng ngolwg ei gymmanfa.

A'r rhai trwy ddwylaw Moesen,
A roes Duw ar ddwy dablen,[U]
Gwedi'u printio[V] â'i fys ei hun,
Yn hawdd i ddyn eu darllen.

Y rhai sydd ddigon eglur,
I'w tynnu maes o'r 'Sgrythyr,
O'r ugeinfed bennod dlws
O Exodws gymmesur.

H.

Beth yw'r gorchymmyn cynta',
A'r ail,[W] a'r lled mynega?
Prawf eu traethu cymmain' un,[X]
Yn oed[Y] yr un diwetha'.

A.—1.

Myfi, yr Hollalluog,
Yw d'Arglwydd Dduw trugarog;
Na fynn un Duw onid myfi,
Sydd Un a Thri galluog.

2.

Na wna un ddelw iti,
Gerfiedig, i'w haddoli,
Na llun dim o'r nef na'r ddae'r,
Na'r dwr, na'r aer,[Z] i'm siommi.[A]

Na ostwng i'r fath wagedd,
Na 'ddola'r fath oferedd,
Pridd, a choed, a cherrig yn',[B]
Gwaith dwylo dyn a'i fysedd.

Can's myfi'r Arglwydd grymmus,
A'th Ior, wyf Dduw eiddigus,
Sy'n ymwel'd â phechod cant
O dadau, ar blant camweddus.

Ac yn rhoi cospedigaeth,
Hyd dair oes a chenhedlaeth,
O'r rhai y sydd yn fy nghashau,
Trwy garu gau-addoliaeth.

Gan ddangos trugareddau
I'r sawl a gatwo 'neddfau,
Ac idd eu plant, a'u had, a'u hil,
Hyd fil o genhedlaethau.

G Luc 24. 47. Act. 3. 19, a 5. 31. H Eph. 1. 7. I Ioan 5. 28, 29. J Barnwr. K 1 Thes. 4. 16. L Rhuf. 14. 10, 12. M Mat. 25. 34, 46. N 1 Cor. 15. 19. O Gen. 2. 27. P *Help*, cynorthwyo. Q 1 Cor. 6. 11. R Eph. 1. 4. S Meichiau. T Exod. 19. 18. U *Tablet*, llech. Deut. 9. 10. V *Print*, argraphu. W "A'r llaill?"—S. Hughes. X Bob un. Y Hyd y nod. Z *Air*, awyr. A Digio. B Ydynt.

3.

Nac enwa Dduw un amser,
Heb ofan, parch, a phryder,[C]
Can's nid gwirion[D] yw dy lw,
Os cym'ri ei enw'n ofer.

4.

Cofia gadw'n sanctaidd,
Y Sabbath wenn yn weddaidd,
A threulio'r Sul tra f'ech[E] di byw,
Yn 'ddoli Duw'n Grist'nogaidd.

Fe roes Duw chwech diwrnod
It' weithio d'orchwyl priod;[F]
Y seithfed dydd rhaid cwympo'n faith,
I weithio gwaith y Drindod.

Ar y diwrnod hwnnw
Na wna ddim gwaith serch marw,[G]
Na'th fab, na'th ferch, na'th was, na'th [farch,
A'r dieithr arch[H] ei gadw.

Canys mewn chwech o ddyddiau,
Y gwnaeth Duw'r byd a'i bethau,
A'r nef, a'r ddae'r, a'r môr, a'u llu,
A'r cwbl sy'n eu diblau.[I]

A'r seithfed dydd gorphwysodd,
Gan hynny fe fendithiodd
Yr Arglwydd Dduw y seithfed dydd,
Ac ef a'i prudd sancteiddiodd.

5.

Rho barch a gwir ufudd-dod
I'th dad a'th fam yn wastod,[J]
Fel yr ystyno Duw yn hir
Dy oes ar dir dy drallod.

6.

Gochel ladd un Cristion,
Na thywallt gwaed y gwirion:
Gwaed a lef yn dost ei lais;[K]
Duw ddial trais llofruddion.

7.

Na wna odineb aflan,
Gwna'n fawr o'th wraig dy hunan:
Yf dy ddw'r o'th wins[L] dy hun,
Na chwrdd âg un oddiallan.

8.

Na ladratta fymryn,[M]
Tr'ech[N] byw, o olud undyn;
Na thwylla neb, nac arfer drais,
Er goddef clais a newyn.

9.

Na fydd di dyst celwyddog,
Yn erbyn dy gymmydog;
Dywed wir am bob rhyw ddyn
Na sclawndra[O] un di-euog.

10.

Na chwennych dŷ cymmydog,
Na'i wraig, na'i was calonnog,
Na'i forwyn wen, na'i farch, na'i ŷch,
Na dim na by'ch[P] perchennog.

O Arglwydd Dduw, bydd dirion,[Q]
Wrth bawb o'th blant a'th weision,
Gostwng di'n calonnau'n faith
I gadw'th gyfraith gyfion.

O Arglwydd grasol maddeu
Ein pechod a'n troseddau,
A 'sgrifenna'r gyfraith hon
Ar lechau'n llon galonnau.

H.

Beth wyt ti'n ddysgu'n benna'
O'r gyfraith hon? mynega,
A rho im', yn gryno 'nghyd,
Ei ffrwyth i gyd yn gwtta.[R]

A.

'Rwy'n dysgu dau beth enwog,
Fy nau ryw ddyled serchog;
Un tuag at fy Arglwydd Dduw,
Llall at bob rhyw gymmydog.

H.

Yn gyntaf moes im' glywed,
Yn gyflawn beth yw'th ddyled
At yr Hollalluog Dduw,
Sy'th rwymo i fyw mor gystled?[S]

A.

Fy nyled at Dduw cyfion
Yw credu ynddo'n ffyddlon,[T]
A'i ofni'n fawr, trwy barch a ffydd,[U]
A'i garu'n brudd o'm calon.[V]

Yna ei wir addoli,[W]
Fel mae ei Air yn erchi,[X]
A'i fendithio bob yr awr,[Y]
Am dan ei fawr ddaioni:

A llwyr ymddiried ynddo,
A galw'n gywir arno,
Parchu'i Air a'i enw'n brudd,
A bod yn ufudd iddo.

[C] Ystyriaeth. [D] Diniwed. [E] Fyddech. [F] Dy waith dy hun. [G] Er gorfod marw. [H] Gorchymmyn. [I] "Yn y cwrre eithaf o honynt hwy."—S. Hughes. [J] Yn wastadol. [K] Gen. 4. 10. [L] Pydew, ffynnon. Diar. 5. 15, 18. [M] Y gronyn lleiaf. [N] Tra fyddech. [O] *Slander*, enllibo, camgyhuddo. [P] Na byddych. [Q] Nid yw hyn yn y Catechism; ond yng ngwasanaeth yr Eglwys, cyfarwyddir y bobl i adrodd sylwedd y pennill hwn ar ddiwedd pob un o'r naw gorchymmyn cyntaf, a'r nesaf ar ddiwedd y degfed. [R] Yn fyr. [S] Cystal, mor dda. [T] Heb. 11. 6. [U] Heb. 12. 28. [V] Mat. 22. 37. [W] Mat. 4. 10. [X] Gorchymmyn. Deut. 12. 32. [Y] Psalm 145. 2.

Ac felly ei anrhydeddu
Yn gywir, a'i was'naethu,
Ddydd a nos tra ynof chwyth,
A'r eithaf byth o'm gallu.

H.

Beth yw dy ddyled enwog
Tuag at bob rhyw gymmydog?
Moes ei glywed imi'n glir,[Z]
O galon bur yn rhywiog.

A.

Fy nyled at gymmydog,
I'w garu yn dra serchog,
Fel y carwyf fi fy hun,[A]
Pet fai fy ngelyn llidiog.[B]

A gwneuthur i bob Cristion,
Fel y dymunai 'nghalon
Iddynt hwythau gwneuthur im',
Heb ddangos llym[C] fesuron.

A charu fy rhieni,
A'u cymhorth hwy, a'u parchu,[D]
A gwneuthur, heb ddim nag[E] na son,
Bob peth a fon' yn erchi.[F]

Ac ufuddhau i'r brenhin,[G]
A'i swyddwyr sy'n f'amddiffyn,
A'i anrhydeddu trwy fawr barch,
A gweithio'i arch yn ddiflin.

A gostwng i'm dysgawdwyr,
Athrawon a chynghorwyr,[H]
Sy'n cyf'rwyddo i mi fyw
Wrth 'wyllys Duw a'r 'Sgrythyr.

A pherchi mawr a bychan,
O'm gwell, o bob rhyw oedran,[I]
Ac ymostwng iddynt hwy,
Heb wneuthur mwy o dwrddan.[J]

Ac na wnelwyf niwed
I neb ar air na gweithred,[K]
Na dwyn cas at unrhyw ddyn,[L]
Na chlwyfo un a'r aned.

A chadw 'nghorph yn dempraidd,[M]
Yn sobor, ac yn sanctaidd,[N]
Rhag pob rhyfyg, fel rhag plag,[O]
Yn ddiwair[P] ac yn weddaidd.

A chadw 'nwylo'n bena'
Rhag whiwo[Q] a lledratta,[R]
Ac rhag gwneuthur twyll a cham,[S]
Ond gweithio am fy mara.

A chadw 'nhafod beunydd,
Rhag cabledd twyll, a chelwydd,[T]
Ac rhag d'wedyd drwg am neb,[U]
Fel ethnic[V] heb ei fedydd.

A chadw 'nghalon anghall,
Rhag chwennych golud arall,[W]
Ond trafaelu[X] wrth fodd Duw,
I geisio byw yn ddiwall.

ADDYSG.

Gwybydd hyn yn eglur,
Nad wyt ti'n abal gwneuthur
Hyn i gyd o'th rym dy hun,[Y]
Lle'r wyt ti'n flin bechadur.[Z]

Ni elli gadw'r gyfraith,
Na rhodio ynddi'n berffaith,
Na gwas'naethu Duw'n ddifrad,
Heb gael ei rad yn helaeth.

Gan hynny rhaid it' ddysgu,
Trwy weddi attolygu,
Ar Dduw mawr o hyn i ma's,
Roi'i nefol ras i'th helpu.[A]

H.

Moes glywed im', gan hynny,
A fedri di fynegu,
Gweddi'r Arglwydd yn ddibaid?
On'te mae'n rhaid ei dysgu.

A.

Ein Tad o'r drydedd nefoedd,[B]
Ein Tad trwy Grist a'n prynodd,
Sancteiddier byth dy enw mawr,
Gan bawb, bob awr, o'th luoedd.

[Z] *Clear*, eglur, amlwg. [A] Mat. 22. 39. [B] Mat. 5. 44. [C] Tost, caled. [D] 1 Tim. 5. 4. [E] Gommeddiad, gwrthwynebiad. [F] Pob peth cyfreithlon a fyddont yn orchymyn. [G] 1 Petr 2. 13 14. Act. 4. 19. [H] 1 Thes. 5. 12, 13. [I] 1 Tim. 6. 1. Lef. 19. 32. [J] Twrf, cyffro. [K] Mat. 5. 22. [L] Lef. 19. 17. [M] *Temperate*, cymmedrol. [N] 1 Thes. 4. 3—5. [O] *Plague*, haint, pla. [P] Mat. 5. 28. [Q] Chiwio, chwiw-ledratta, ledratta mân betheuach. [R] Eph. 4. 28. [S] 1 Thes. 4. 6. [T] Eph. 4. 25. [U] Psalm 50. 19. [V] *Ethnic*, cenedl-ddyn,—un heb broffes Gristionogol. [W] 2 Thes. 3. 8, 10. [X] *Travel*, teithio, ymfucheddu. [Y] *Able*, galluog. Rhuf. 7. 18. [Z] Ioan 15. 5. [A] *Help*, cynnorthwyo. [B] Mat. 6. 9.

Deued dy deyrnas rasol
I'n plith, dy blant, dy bobol,
A rheola ni bob pryd
A'th Air, a'th Yspryd nefol.

Dy 'wyllys di wnel[C] dynion,
Ar dir,[D] ym mysg dae'rolion,
Fel yn y nef y gwneir, heb nâg,
Gan thronau[E] ac angylion.

Bod heddyw ini fwytta
Bob rhai'n beunyddiol fara,
A phob peth sydd raid i ni
'Th was'naethu di'r Gorucha'.

A maddeu i ni'n pechodau,
Fel y maddeuom ninnau
I'r sawl a wnaethont, lawer gwaith,
I'n herbyn faith droseddau.

Nac arwain ni yn ddirgel,
I brofedigaeth uchel,
Ond gwared ni rhag pob drwg ffawd,[F]
O'r byd, a'r cnawd, a'r cythraul.

Can's tydi biau'r deyrnas,
A'r nerth, a'r gallu o gwmpas,[G]
A'r gogoniant oll i gyd,
Hyd ddiben[H] byd yn addas. Amen.

H.

Beth wyt ti yn ei geisio,
Gan d'Arglwydd wrth weddïo,
Yn y weddi fechan hon,
Gan droi d'olygon atto?

A.

Yn gyntaf, 'rwyf fi'n erchi
Ar fy Arglwydd, Tad goleuni,
Roi i ni ras, tra fom ar dir,
Bob rhai, i'w wir addoli.

Gwedi'n 'rwyf fi'n eiriol,[I]
Am bob peth anghenrheidiol
I'r eneidiau a'r cyrph ynghyd,
Tro ni'n[J] y byd presennol.

A maddeu'n holl ddrygioni,
Ein beiau oll a'n gwegi,
A thrugarhau wrth bawb ar lled,
A wnelont niwed ini.

A'n cadw yn ddihangol
Rhag pob rhyw bechod marwol,[K]
A phob peryg', a phob plag
Corphorol ac ysprydol.

A hyn, yr wy'n obeithio,
A wna fy Nuw heb beidio,
Er mwyn ei Fab, fy Mhrynwr gwynn,[L]
Fel 'rwyf yn erfyn gantho.

H.

Attebaist hyn yn gymmwys;
Mynega im' cyn gorphwys,
Pa sawl sacrament di-drist
Ordeiniodd[M] Crist i'w eglwys?

A.

F' ordeiniodd ddau'n ei fywyd,
Tra rheidiol at ein hiechyd;[N]
Y cynta' o'r ddau yw bedydd pêr,
Yr ail yw'r swpper hyfryd.

H.

Os 'dwyt ti yn deallu,
Dymunwn it' hyspysu,
Beth yw'r sacrament yn bur?
Mynega'n glir os medri.

A.

Mae'n arwydd plain[O] gweledig,
O ddirgel ras arbennig,[P]
Trwy'r hyn y rhoddir Crist ei hun,
A'i ddoniau i ddyn cadwedig.

H.

Pa nifer sydd o ranau,
Ym mhawb o'r sacramentau?
Mynega im' ar g'oedd y plwy',
A dangos hwy yn oleu.

A.

Mae dwy[Q] ran amlwg, meddynt,
Ym mhob yr un o honynt,
Yn arwydd amlwg o'r tu fa's,
O'r dirgel ras sydd ynddynt.

H.

Beth ydyw'r nôd gweledig,
A'r arwydd digon tebyg,
Sy'n y bedydd o'r tu fa's,
Yn selu'r gras[R] arbennig?

[C] A wnelo. [D] Y ddaear. [E] *Thrones*, gorseddfeingciau; angylion o radd uchel, y mae yn debygawl. [F] *Fate*, damwain. [G] O amgylch. [H] Diwedd. [I] Deisyf, erfyn. [J] Tra fyddom ni yn. [K] "Mae pob pechod yn farwol."—S. Hughes. [L] Gogoneddus. [M] *Ordain*, trefnu, gosod. [N] Iechydwriaeth. [O] *Plain*, amlwg. [P] Rhagorol. 1 Cor. 10. 16. [Q] Cyfeiliorna y Pabyddion gyda golwg ar hyn; oblegid dywedant fod y bara a'r gwin, yn Sacrament Swpper yr Arglwydd, trwy gyssegriad yr Offeiriad yn troi yn wir gorph a gwaed Crist. Pe felly, ni byddai y bara a'r gwin yn arwyddo dim, ond yn sylwedd eu hunain; yr hyn a fyddai yn dinystrio natur a diben Sacrament. [R] *Seal*, cadarnhau.

A.

Y dw'r yn y bedydd-fan,
Lle trochir y dyn bychan,
Yn enw'r Tad, a'r Mab, dri phryd,[s]
A'r Sanctaidd Yspryd pur-lân.

H.

Beth ydyw'r gras ysprydol,
Nas cenfydd llygad cnawdol,
Y mae'r dw'r yn arwyddoccau,
Sy'n golchi brychau'r bobl?

A.

Gwaed Crist, Mab Duw ei hunan,
Sy'n golchi'r enaid aflan,
Oddiwrth bob rhyw bechod cas,
Lle 'roedd e'n was i Satan.

Ac hefyd yn ei wneuthur
Yn Gristion, o bechadur,
Ac yn blentyn Duw trwy ras,
O elyn cas wrth natur.[T]

H.

Beth ydys yn ei geisio,
Gan rai ddel i'w bedyddio?
Beth sydd raid? mynega'n rhydd,
I'r rhai gais fudd oddiwrtho.

'Difeirwch a ffydd fywiol,
Sydd ddau beth anghenrheidiol,
I bob dyn a ddel yn brudd[U]
I geisio bedydd grasol.

A.

'Difeirwch i ymwrthod
A phob rhyw fath o bechod;
Ffydd, i gredu tra fo byw
Addewid Duw a'i ammod.

H.

Paham y rhwydd fedyddir
Plant bychain, pan eu genir,
Pan na allant yn ddifeth
Gyflawni'r peth a geisir?

A.

Y maent hwy, trwy'u meichëon,[V]
Yn cwpla[W] eu promeision,[X]
Nes y delont hwy mewn maint,
I dalu'r faint addawson'.

H.

Mynega pa'm ordeiniwyd
Y swpper, pan ddechreuwyd;
Pa'm yr y's yn arfer hon,
Trwy ddefod lon ni lysiwyd?[Y]

A.

Er mwyn trag'wyddol goffa
Am angau Crist a'i laddfa,
A'r holl leshad a ddaw i ddyn
Oddiwrth ei ŵyn[Z] a'i boenfa.

H.

Beth ydyw'r rhan a weler
Tu allan yn y swpper
A'r nôd a'r arwydd o'r tu fa's,
Sy'n selu'r gras addawer?

A.

Y bara a'r gwin o'r cymmun,
Orch'mynodd Crist eu derbyn,[A]
Er cofio'i gorff a'i waed ei hun,
Sy'n cadw dyn rhag newyn.[B]

H.

Beth ydyw'r rhan nis gwelwn,
A'r gras sydd o'r communiwn,[C]
'Rhwn ar'ddoccair wrth fara a gwin?
Mynega i'n er dolwyn.[D]

A.

Corph Crist a'i waed sancteiddiol
Offrymmodd dros ei bobol,[E]
I brynu dyn,[F] i dalu Duw,
A'n porthi i fyw'n drag'wyddol.[G]

H.

Pa les a gaiff Cris'nogion,
A gym'ro o 'wyllys calon,
Y sacrament sancteiddiol hyn,
O'r swpper pyn[H] derbynion'?

A.

Cael porthi eu heneidiau,
Ar Grist ei hun, a'i ddoniau,
A chadarnhau eu hegwan ffydd,
A maddeu'n brudd eu beiau.[I]

Fel y bydd bara ffrwythlon,
A gwin yn porthi'r galon,
Felly Crist a'i waed wrth raid,
Sy'n porthi'r enaid ffyddlon.

[s] Dair gwaith. [T] Col. 1. 21. Gal. 3. 26. [U] Difrifol. [V] Meichiau. [W] Cwblhau, cyflawnu. [X] *Promises*, addewidion. [Y] Gwrthodwyd. [Z] Dioddefaint. [A] 1 Cor. 11. 24, 25. [B] Newyn Ysprydol. [C] *Communion*, cymmun. [D] Attolwg. [E] Eph. 5. 2. [F] Eph. 1. 7. [G] Ioan 6. 50. [H] Pan. [I] Mat. 26. 26—28.

H.
Pa beth sydd raid, o brysur,[J]
I bob rhyw Gristion wneuthur,
A ddel i swpper Crist yn llon,
Os cais yn hon gael cysur?

A.
Rhaid iddo holi'n fanol,[K]
A fo ef wir 'difeiriol,
Am ei bechod o bob rhyw,
Yn erbyn Duw a'r bobol:

A holi'n nesa' at hynny,
A fo e'n llwyr fwriadu
Gwella'i fuchedd wrth fodd Duw,
A chwedi'n byw heb bechod.

Ac hefyd mynnu gwybod,
Oes gantho ffydd dan ammod,[L]
Am drugaredd Duw trwy Grist,
I faddeu'i athrist bechod.

A chredu i'r Arglwydd Iesu,
A'i werthfawr waed ei brynu,
Pan na allai neb ond Crist
Trwy angau trist ei helpu.

Rhaid hefyd holi eilchwaith,
A fydd mewn cariad perffaith,
A phob dyn, gan faddeu'n brudd,
I bawb bob dydd eu dryg-waith.[M]

## XCI.—PETHAU I'W HYSTYRIED AC I'W HARFERU PAN DDEL Y NOS.

1.
GWEL fel mae dy oes yn darfod,
Mae'n llai beunydd o ddiwrnod,
'R wyt ti'n nes eleni i'th ddiwedd,
O un flwyddyn nag y llynedd.

2.
Gochel fyn'd un nos i gysgu
Yn dy bechod nes 'difaru,
A chymmodi â'r Duw cyfion,
Cyn y cauech dy olygon.

3.
N'âd un nos i'r haul fachludo
Ar dy lid, yn ol it' ddigio;[A]
Gwell it' gysgu gydag arthes,
Nag â malais yn dy fynwes.

4.
Llawer dyn sy'n myn'd i'w wely,
Heb ddihuno mwy ond hynny,
Nes y galwo'r udgorn aethlyd,[B]
Hwynt i'r farn i ddwyn eu penyd.[C]

5.
Yn ol dy boen a'th waith y dydd
Pan ddelo'r nos, ymro yn brudd,[D]
I roi i Dduw brydnhawnol aberth,
O galon bur, a geiriau prydferth.

6.
Diwedda'r dydd fel y dechreuaist,
Cau dy ddrysau fel agoraist,
Gâd i weddi brudd yn ddiau
Gloi bob hwyr, a datgloi'r borau.

7.
Duw fynn offrwm bêr brydnhawnol,
Fel yr aberth bêr foreuol;[E]
Mawl y nos fel mawl y borau,
N'âd un pryd dy fawl yn eisiau.

8.
Galw 'nghyd dy blant a'th bobol,[F]
Dywed osber[G] yn dra siriol,
Gwna dy dŷ yn demel fechan,
Chwareu'r 'ffeiriad[H] doeth dy hunan.

9.
Prudd weddïa ar dy liniau,
Darllen bennod o'r 'Sgrythyrau,
Dysg dy blant mewn pyngciau crefydd.[I]
Duw'th fendithia yn dragywydd.

10.
Cofia'r nos dy waith y dydd,[J]
Os gwnaethost gam, gwna iawn yn brudd,[K]
Os digiaist Dduw, cais bardwn[L] gantho,[M]
Os cefaist ras, rho foliant iddo.[N]

11.
Na ddos i gysgu yn dy bechod,
Rhag myn'd o'th gwsg ger bron y Drindod;
Ac na chaued[O] dy ddau amrant,
Nos ymbilio am faddeuant.

[J] Yn ddyfal, yn ystyriol. [K] 1 Cor. 11. 28. [L] 2 Cor. 13. 5. [M] Mat. 5. 23, 24. Luc 17. 3.

[A] Eph. 4. 26. [B] Dychrynllyd. [C] I gael eu poeni. [D] Yn ystyriol. [E] Num. 28. 4. [F] Gen. 18. 19. Jos. 24. 15. Eph. 6. 4. [G] *Vesper*, (Lladin) hwyr- gwasanaeth prydnhawnol. [H] Cyflawna swydd offeiriad. [I] Deut. 6. 6, 7. [J] Yn argraphiad S. Hughes, rhoddir y pennill hwn ar ddiwedd y "Cynghor i Wr Ieuangc," ac yn y fan hon hefyd, lle yr ymddengys yn dra phriodol. [K] Luc 19. 8. [L] *Pardon*, maddeuant. [M] Hos. 14. 2. [N] Psalm 42. 8. [O] Slwmbred.—S. Hughes.

12.
Y dyn feiddio [P] fyn'd i gysgu,
Yn ei bechod, cyn 'difaru,
Mae e'n meiddio mwy o lawer,
Na phe cysgai gyda gwiber.[Q]

13.
Rhag dy fyn'd i'r faingc i'th farnu,
Ganol nos tra f'ech [R] yn cysgu,
Gochel fyn'd fel dyn di-wybod,
Byth i'th wely yn ammharod.[S]

14.
Pan edrychech ar dy wely,
Cofia'r bedd, lle'r â'i i'th gladdu;
A chyn rhoi dy gorph i orwedd,
Dyfal feddwl am dy ddiwedd.[T]

15.
Pan y tynnech dy holl ddillad,
Ond dy grys oddi am danad,
Cofia fel y gorfydd gado
Yma'r cwbwl,[U] ond yr amdo.[V]

16.
Pan y cano ceiliog Peder,[W]
Nes dihunech o'th esmwythder;
Meddwl f'enaid, fel y deffry
Udgorn Crist [X] di gwedi'th gladdu.

## XCII.—HYMN I'W CHANU I DDUW CYN MYNED I GYSGU.

1.
F'ANWYL Dad, a'm carcus [A] Geidwad,
'R hwn wyt nos a dydd i'm gwyliad,[B]
Bendigedig a fo d'enw,
Nos a dydd am dan fy nghadw.

2.
Ti'm castellaist i'r dydd heddy',
A'th angylion gwych o ddautu,[C]
Ac orch'mynaist iddynt f' atteg,[D]
Rhag im' daro 'nhroed wrth garreg.[E]

3.
Tithau'm cedwaist yn ddihangol,
Rhag holl rwydau'r sarph uffernol,
'R hwn sydd nos a dydd, heb gysgu,
Yn ceisio 'nifa a'm bachellu.[F]

4.
Porthaist finnau heddyw'n ddiwith,[G]
A mel o'r graig, a brasder gwenith,
Ac ti roddaist im' i'w yfed,
Phiol lawn, i dorri'm syched.

5.
Ti a'm cedwaist rhag pob tramgwydd,
C'wilydd, colled, anffawdd, aflwydd,
Nychdod niwed; ac am hynny,
'Rwyf o'm calon i'th glodfori.

6.
Cym'raist gymmaint carc [H] am danaf
Y dydd heddyw, Dad goruchaf,
A phet f'aist heb un plentyn
Ond myfi i wylio drostyn'.

7.
Bendigedig yn dragywydd
A fo 'Ngheidwad a'm dyrchafydd,
'R hwn sy'n darpar cymmaint droswyf,
Ddydd a nos, p'le bynna'r elwyf. Amen.

## XCIII.—DIOLCH AM DAN A CHYNESRWYDD.[A]

1.
PEN darparwr [B] pob angenrhaid,[C]
Gwir ymg'leddwr corph ac enaid,
'Rwy'n bendithio d'enw hyfryd,
Am roi tân i dorri f'anwyd.

2.
Duw mor rasol yr ordeiniaist,
Dân rhag anwyd, tŷ rhag tempest,[D]
Bwyd rhag newyn, dw'r rhag syched,
I ymg'leddu dyn pengaled.

3.
Oni buasai iti grëu
Tân i'n twymno [E] a'n cynhesu,
Pa wedd y gall'sai dyn ymdaro,
Heb y tân, pe b'asem hebddo?

4.
Er bod tân yn beth anhebgor,
Etto 'sywaeth nid oes nemmor,
Ym mhlith miloedd, a ro'nt iti,
Am eu tân, o'r godemersi.[F]

[P] "Fentro."—S. Hughes. [Q] *Viper*, sarph. [R] Fyddech. [S] Mat. 24. 44. [T] Psalm 90. 12. [U] 1 Tim. 6. 7. [V] Amwisg, gwisg corph marw. [W] Ioan 18. 27. [X] 1 Cor. 15. 52. Ioan 5. 28.

[A] *Careful*, gofalu. [B] Psalm 121. 4. [C] Psalm 34. 7. [D] Cynnal, dal i fynu. [E] Psalm 91. 11, 12. [F] Maglu. [G] Yn ddiwyd, yn ddichwith. [H] *Care*, gofal.

[A] Dywedir i'r Awdwr gyfansoddi y Gân hon ar ol dyfod i'w letty ar ddiwrnod garw. [B] "Profiwr." (*purveyor*), parottowr,)—S. Hughes. [C] Psalm 145. 15. [D] *Tempest*, dryccin, tymhestl. [E] "Gweinif," (gwasanaethu.)—S. Hughes. [F] *God of mercy*, Duw'r drugaredd; cydnabyddiaeth ddiolchgar o Dad y trugareddau.

5.
Arglwydd, agor ein golygon
I gydnabod maint dy roddion,
A'n geneuau i'th glodfori,
Am ein tŷ, a'n tân a'n gwely.

6.
Y mae'n gwell yn gorwedd allan,
Yn yr oerfel tost yn griddfan;
Duw, cynhesa'r rhai'n â'th ffafar,[G]
A gwna ninnau yn ddiolchgar.

## XCIV.—GWEDDI WRTH FYNED I'R GWELY.

1.
CEIDWAD Israel, a'i Achubwr,
Castell cryf pob gwan di-swccwr,[A]
Er mwyn d'anwyl Fab, Crist Iesu,[ly.
Gwrando'ngwaedd wrth fyn'd i'ngwe-

2.
Arglwydd mawr, 'rwyf ar fy 'nglin-
Wrth fy ngwely yn cyfadde', [iau,
Nad wyf deilwng edrych arnad,
Chwaithach dyfod yn nes attad.

3.
Etto er hyn yr wy'n hyderu
Y caf, er mwyn dy Fab Crist Iesu,[B]
Nid yn unig gennyt wrando,
Ond rhoi imi'r peth wy'n geisio.

4.
A bod imi byth yn gryfdwr,
Ac yn Geidwad, ac yn swccwr,
Rhag pob niwed a ddigwyddo,
Yn enwedig i mi heno.

5.
Arglwydd, 'rwyf fi'n myn'd i orwedd,
Heb wybodaeth am fy niwedd;
O's ni ŵyr [C] un dyn pan cysgo,
Pa un a wna ai codi ai peidio.

6.
Achos da i ddyn gan hynny,
Cyn yr elo'r nos i gysgu,
Lwyr ym'gweirio [D] fyn'd at Dduw,
Rhag na chotto mwy yn fyw.

7.
O herwydd hyn 'rwyf fi yn dwad,[E]
Attad ti, fy Nuw a'm Ceidwad,
Ar fy neulin heno i 'mhwedd,[F]
Am dy gymhorth a'th drugaredd.

8.
Bydd di gastell, bydd di Geidwad,
Bydd di graig a lloches ddifrad,
I'm castellu yn ddibryder,[G]
Heno rhag pob anesmwythder.

9.
Y mae'r llew syth byth heb gysgu,[H]
Ddydd a nos â chwant i'm llyngcu,
Ac ni wela'i lun [I] i'w rwystro,
Oni chedwi di fi rhagddo.

10.
Derbyn fi gan hynny i'th fynwes,
Dod fi rhwng dy ddwy-fron gynnes,[J]
Fel y gallwy'n esmwyth orwedd
Heno 'mreichiau dy drugaredd.

11.
Arglwydd, tanna droswyf d'adain,
Cadw fi rhag bradau'r filain,[K]
Fel y gallwyf yn ddi-bryder,
Gysgu dani mewn esmwythder.

12.
Gosod wersyll [L] o'th angylion,
I'm castellu rhag pob ofon,[M]
Pâr i'r rhai'n fy llwyr ddiwallu,
Yn dy gofl [N] tra fyddwy'n cysgu.

13.
Bydd dy hun â'th rasol lygad,
Goruwch y rhai'n yn fy ngwyliad,[O]
N'âd i neb rhyw ddrwg fy nrygu,
Na thramwyo lle bwy'n cysgu.

14.
Rho lonyddwch ac esmwythder
Imi heno a phob amser;
Rho im' henaid wir ddiddanwch,
Rho i'm corph ei hûn [P] a'i heddwch.

15.
Ac rhag imi fyn'd i'm barnu
Ger dy fron pan byddwy'n cysgu,
N'âd im' fyned yn ddiwybod,
Byth i'm gwely yn ammharod.

16.
N'âd im' roddi cwsg i'm llygaid,
Nes ymbilio â thi'n danbaid,[Q]
Am gael pardwn [R] am y cwbwl,
A'r a wnaethum maes o'th feddwl.

[G] *Favour*, caredigrwydd.

[A] *Succour*, cymmorth, ymgeledd. [B] 1 Ioan 5. 14, 15. Ioan 16. 23. [C] O achos ni wyr. [D] Ymbarottoi. [E] Dyfod. [F] Ymbil, deisyf, erfyn. [G] Yn ddi-ofn. [H] 1 Petr 5. 8. [I] Ffordd, modd. [J] Psalm 17. 8. [K] *Villain*, dyhiryn,—y diafol. [L] Llu, mintai. [M] Psalm 34. 7. [N] Mynwes. [O] Gwylio. Psalm 34. 15. [P] Cwsg. [Q] Yn daer, yn wresog. [R] *Pardon*, maddeuant.

17.

Pâr im' addef fy holl gamwedd,
A'm holl wendid, a'm hanwiredd,
Fel y gallwyf, gwedi'u hadde',
Gael maddeuant gennyd tithau.[S]

18.

Pâr im' wylo a galaru,[T]
Am fy ngwaith mor rhwydd yn pechu.
A 'mofidio'n dost, gan gynddrwg
Y fu 'muchedd yn dy olwg.

19.

Pâr im' fyned mor 'difeiriol,
Heno i'm gwely, ac mor nefol,
A phe gwypwn na chawn noswaith
Mwy i edifaru'r eilchwaith.

20.

Pâr im' grïo'n [U] daer am bardwn,
Er mwyn Crist a'i waedlyd bassiwn,[V]
Am a wne's erioed o feiau,
Fel na byddo un heb faddeu.

21.

Golch fi oddiwrth fy meiau'n llwyr-
ddwys,[W]
Yng ngwaed Crist, yr Oen a'm pryn-
Cladd fy mhechod yn ei weli,[X] [wys;
N'âd ef eilchwaith adgyfodi.

22.

N'âd fod un o'm ffiaidd frynti,
Yn dy lyfyr heb ei groesi,
Rhag i hwnnw fy ngw'radwyddo,
Ger dy fron pan ddelwy'i ympirio.[Y]

23.

Pâr im' fod â'r wisg briodas,[Z]
Ddydd a nos, bob awr o'm cwmpas,
Ac olew i'm lamp,[A] a hwnnw'n llosgi,
Yn disgwyl Crist i'm galw i gyfri'.

24.

Diogela 'nghalon egwan,
Fod yn sicr imi gyfran,
O'r dedwyddwch a bwrcasodd[B]
Crist i'w frodyr, yn y nefoedd.

25.

Weithian, Arglwydd, mi orweddaf,
Ac mewn heddwch myfi gysgaf,
Can's tydi, O Dduw'r diddanwch,
A'm cyflei mewn diogelwch.[C]

## XCV.—MYFYRDOD PAN DDIHUNER O GYSGU GANOL NOS.[A]

1.

Mor hyfryd ac mor weddus,
Yw canu i Dduw yn rymmus,
Ganol nos, pan fo pob dyn,
Yn cysgu'i hûn yn felus.

2.

Mor dda, mor ddwys, mor ddeheu,[B]
Yw moli ei enw'r [C] boreu
A myfyrio yn ddi-ddal,[D]
Am dan ei amal ddoniau.[E]

3.

A deffro'r corph cysgadur,
A chalon barod brysur,[F]
I glodfori enw Duw,
Peth hyfryd yw ei wneuthur.

4.

A chwnnu [G] lawr o'r gwely,
Fel Dafydd, i'w foliannu,
Ar ein dau-lin,[H] ganol nos,[I]
Yn ddi-flin dros ein helpu.

5.

A chofio ei drugaredd,
Ei gymhorth a'i ymgeledd,
I blant dynion bob rhyw bryd,
O ddechreu'r byd i'w ddiwedd.

6.

A rhoi ar bwys [J] y gwely,
Pan fyddo'r byd [K] yn chwyrnu,
Glod a moliant prudd di-nam,
I'r hael Dduw am ein helpu.

7.

Clod, a gallu, diolch, moliant,[L]
Gwir anrhydedd a gogoniant,
A fo nos a dydd i'r Drindod,
Sydd bob amser yn ein gwarchod.[M]

S "Gydag addef pechod, cyn cael trugaredd, rhaid credu yn Iesu Grist, ac ymadael a phechod. Act. 13. 38. Diar. 28. 13."—S. Hughes. T Iago 4. 9. U *Cry*, llefain. V *Passion*, dioddefaint. W Psalm 51. 2. X Archoll, clwyf. Y *Appear*, ymddangos. Z Mat. 22. 12, 13. A Mat. 25. 4. B *Purchase*, prynu. C Psalm 4. 8.

A "Genol nos."—Ysgrif T.W. Dengys hyn henaint yr ysgrif, oblegid "ganol" yn ol y dull presennol o ysgrifenu, sydd yn yr argraphiadau henaf. B Addas. C "Yw galw arno."—Ysgrif T. W. D Yn ddi-orphwys. E Psalm 92. 1, 2. F Diwyd, bywiog. G Codi. H "Glinie."—Ysgrif T. W. I Psalm 119. 62. J "Wrth glyn."—Ysgrif T. W. K "Byddo'r *rest*," (y lleill)—Ysgrif T. W. L Nid yw y pennill hwn yn Ysgrif Mr. Taliesin Williams, ac y mae wedi ei osod i mewn o'r blaen yn y "Ddiolch foreuol pan ddihuner gyntaf." M Cadw, ymddiffyn.

## XCVI.—PSALM XXIII.

1.
Fy Mugail yw'r Goruchaf,
Pa fodd gan hynny methaf?[A]
Tr'wy'n[B] ymddiried ynddo fe,
Ni edy eisiau arnaf.

2.
Y mae ef i'm castellu,[C]
A'i ras, a'i rym o ddeutu,
Fel na ddichon gwr na gwraig,
Na diawl, na draig fy nrygu.

3.
Y mae ef i'm porfela,[D]
Mewn dolydd o'r areila',[E]
Lle mae dyfroedd tawel iawn,
A thir yn llawn o borfa.

4.
Pan elwyf dros ei lwybrau,
Fe'm cyrch i eilchwaith adre';
Ac er mwyn ei enw ei hun,
Fe'm try i'r un sydd oreu.

5.
Ac os digwydda weithiau,
Im' rodio yng nghysgod angeu,
Nid rhaid imi ofni un,
Can's Duw ei hun a'm cadwai.

6.
Y mae ef yn bresennol,
I'm hachub yn wastadol,[F]
A'i wialen wen, a'i fach, a'i ffon,
A'm gwna yn llon rhagorol.[G]

7.
Er cymffordd[H] im' a chysur,
O anfodd fy ngwrthnebwyr,
Rhodd im' ford[I] gyfoethog iawn,
A seigiau llawn o siwgyr.[J]

8.
Enneiniodd f' Arglwydd hefyd
Fy mhen âg olew hyfryd;
Ac fe wnaeth fy mwtri'n[K] llawn,
A'i radlawn ddawn a'i olud.

9.
Ei fwynder a'i drugaredd,
A'm dilyn hyd y diwedd;
Yn ei deml, tra ynnof chwyth[L]
Y bydd fy nyth[M] a'm hannedd.

10.
I'r Tad, i'r Mab, i'r Yspryd,
Y Drindod, Undod hyfryd,
Y bo clod a moliant mawr,
Bob dydd, bob awr, bob ennyd.

## XCVII.—Y MODD Y DYLAI DYN GRASOL DDEFFRO EI GORPH A'I ENAID GANOL NOS I GLODFORI DUW.[A]

1.
Dihun, dihun o gysgu,
Fy enaid bach, prawf[B] ganu
Clod a mawl, â chalon brudd,[C]
I'r Arglwydd sydd i'th helpu.[D]

2.
Dihun, dihun, mae achos
It' wyliad fel yr ëos,[E]
I glodfori d'Arglwydd mawr,
Heb gysgu awr o'r hir-nos.

3.
Dihun, dihun, a chofia
Drugaredd y Gorucha',[F]
A'r modd y'th helpodd Prynwr cred[G]
Er pan y'th aned gynta'.

4.
Efe yw d'unig helpwr,
Dy nawdd, dy nerth, dy swccwr,[H]
Dy Grist, dy graig, dy gadarn Iôr,
A'th dynnodd[I] o'r cyfyngdwr.

5.
Fe'th greawdd cyn berffeithied,
Fe'th dynnodd[J] o'th gaethiwed,[K]
Fe'th adgenhedlodd o'th ddrwg rân,
A'i Yspryd Glân bendiged.

6.
Fe'th alwodd o blith deillion,
I gredu'r 'Fengyl dirion,
Fe'th gyfiawnha'dd yn rhad trwy ffydd
Yng Nghrist, d'Achubydd ffyddlon.

[A] "Ffaelaf."—S. Hughes. [B] Tra fyddwyf yn. [C] Amddiffyn. [D] Arwain i bori. [E] Hyfrydaf. [F] Ffon grebachog bugail. [G] "Llon anianol.—llawen iawn."—S. Hughes. [H] *Comfort*, diddanwch. [I] *Board*, bwrdd. [J] *Sugar*, melusfwyd adnabyddus. [K] *Buttery*, lle i gadw ymenyn a llaeth. [L] Anadl. [M] Trigfa.

[A] "Y corff wrth yr enaid," yw yr enw a osodir o flaen y Gân hon yn Ysgrif T. Williams. [B] Cynnyg, ymdrechu. [C] Ystyriol. [D] *Help*, cynnorthwyo. [E] Yn nyfnder y nos y clywir yr aderyn hwn yn perseinio, pan fyddo pob adar eraill yn ddistaw. [F] Yn Ysgrif T. W.—

"Dihun gan hynny a chofia
Weithredoedd y Gorucha'."

[G] Y gwledydd lle y proffesir Cristionogaeth. [H] *Succour*, cymmorth, ymgeledd. [I] "Dy dynnydd." Ysgrif T. W. [J] "Fe'th brynodd."—Ysgrif T. W. [K] Ioan 8. 36.

7.
Dihun gan hynny, a chofia[L]
Drugaredd y Gorucha',
A'r modd y'th helpodd Prynwr cred,
Er pan y'th aned gynta'.

8.
Yn foethus iawn fe'th borthodd,
Yn drefnus fe'th ddilladodd,
Fe'th ddyrchafodd i fawr fraint,
Rhag cwrp[M] a haint fe'th gadwodd.

9.
Fe roes it' enw hyfryd,[N]
Anrhydedd a siberwyd,[O]
Heddwch, llwyddiant, gras a dawn,
A llawer iawn o olud.[P]

10.
Fe wnaeth it' fyw mewn cariad,
Hawddgarwch a chymmeriad,
Gyda phob glân sort[Q] o ddyn,
Heb gas gan un o'r tair-gwlad.[R]

11.
Dihun gan hynny, a chofia
Drugaredd y Gorucha',
A'r modd y'th helpodd Prynwr cred,
Er pan y'th aned gynta'.

12.
Ni phallodd eriood etto
O'r peth y fait ti'n geisio,
Er na haeddit, feger[S] taer,
Mo'r briwsion ar ei ddwylo.[T]

13.
Nid oes un dyn a'r aned,
Sydd arno fwy o ddyled
I glodfori'r Un Duw Tri,
Nag sy arnat ti o'r parthed.[U]

14.
Dihun gan hynny, a chofia
Gar'digrwydd y Gorucha',[V]
A'r modd y'th helpodd Prynwr cred,
Er pan y'th aned gynta'.

15.
A thra fo it' ben a thafod,
Mynega byth ei fawr-glod,
A'i ddaioni yn ddi-ddal,[W]
Tra chwyth ac ana'l ynnod.[X]

16.
I'r Tad, i'r Mab, i'r Yspryd,
I'r Drindod, Undod hyfryd,
Y bo clod a moliant mawr,
Bob dydd, bob awr, bob ennyd.[Y]

## XCVIII.—DIOLCH AM ETHOLEDIGAETH, AC AM AMRYW DDONIAU.[A]

1.
O Arglwydd Dduw goruchaf,
Pa ddull, pa fodd y gallaf,
Roi it' ddiolch llawn ar led,
Fel mae y dyled arnaf?

2.
Cyn gwneuthur nef a daear,
O'th ras yng Nghrist, a'th ffafar,[B]
Ti'm detholaist fod yn un
O'th blant dy hun yn gynnar.

3.
Ti'm creaist i o'r priddyn,
Oedd frwnt a gwael ei eilun,[C]
Ar dy lun a'th wedd dy hun,
Yn lana' dyn o'r werin.[D]

4.
Ti'm tynnaist yn dra lluniaidd,
O groth fy mam yn berffaidd,[E]
Lle gallasid fy nhroi'i ma's,
Yn grippil[F] cas angh'ruaidd.[G]

5.
Ti'm gwnaethost innau'n Gristion,
Ym mhlith dy bobol ffyddlon,
Lle gallesid, heb ddim dysg,
Fy rhoi ym mysg Iuddewon.

6.
A chwedi i Adda 'ngwerthu
I Satan gynt, wrth bechu,
Ti a'm prynaist o'i law'n rhad,[H]
A gwerthfawr wa'd yr Iesu.

7.
Ni speriaist[I] roddi i farw
Dy unig Fab i'n cadw,
Ac i hongian[J] ar y groes,
Dan lawer loes oedd chwerw.

[L] Ni ail adroddir y pennill hwn mor aml yn ysgrif T. W. [M] *Curb*, rhwystr, aflwyddiant. Yn Ysgrif T. W. y mae y llinellau fel hyn,—

"Fe'th gyfythogawdd â mawr fraint,
Rhag ckyr [cur] a haint fe'th gadwodd."

[N] Esay 56. 5. [O] Parch, dyrchafiad. [P] 1 Cor. 3. 21—23: [Q] *Sort*, math. [R] Cymru, Lloegr, a'r Alban; neu Lloegr, yr Alban, a'r Iwerddon. [S] *Beggar*, cardottyn. [T] Gen. 32. 10. [U] O'r achos, oblegid hyn. [V] "Holl ddoniau'r Tad gorucha."—Ysgrif T. W. [W] Yn ddiorphwys. [X] Psalm 146. 2. [Y] Y rhaniad lleiaf o amser.

[A] Sylwa Stephen Hughes, "Nad yw'r doniau a grybwyllir am danynt yn y Gân hon yn perthyn i bawb, canys er bod llawer gwedi eu galw, etto ychydig a ddewiswyd." [B] *Favour*, hynawsedd, caredigrwydd. [C] Llun, agwedd. [D] O'r lluaws. [E] *Perfect*, cyflawn o aelodau. [F] *Cripple*, un cloff neu anafus. [G] Annymunol yr olwg arno. [H] Yn rhydd. [I] *Spare*, arbed. Rhuf. 8. 32. [J] *Hang*, crogi.

8.
Ti'm hadgenhedlaist gwedi'n,[K]
I fod yn anwyl blentyn,
It' trwy fabwys prudd a gras,
Pan oeddwn was a gelyn.

9.
Ti aethost yn Dad imi,
A minnau'n blentyn iti,[L]
Ti'm hail wnaethost[M] ar dy wedd,
Yn 'tifedd i'r goleuni.

10.
Ti'm gelwaist innau hefyd,
A'th Air[N] a'th nefol Yspryd,
O blith miloedd o rai cas,
I gaffael gras a iechyd.

11.
O blith y bobol feddwon,
A'r mud, a'r dwl,[O] a'r deillion,
Ti a'm gelwaist â'th Air dwys,
I fonwes d'eglwys dirion.

12.
A gwaed dy Fab ti'm golchaist,
A'th Yspryd ti'm sancteiddiaist,
Rhan o'th natur rho'ist i mi,[P]
A'm pechod ti' dirymmaist.

13.
Ac er fy mod yn sarnllyd,[Q]
A'm gweithred yn frycheulyd,
Ti'm cyfiawnh'aist o'th ras, yn rhad,
Trwy ffydd yng ngwa'd d'Anwylyd.[R]

14.
A rho'ist im' gadarn obaith,
Er imi farw unwaith,
O ran y cnawd, pan ddel y cri,[S]
Y caf gyfodi'r eilwaith:[T]

15.
A derbyn yn ddiffuant,[U]
Gan f' Arglwydd wir ogoniant,[V]
Er mwyn Crist, a nefol fraint,
Ym mhlith y saint triwmphant.[W]

16.
Lle caf fi wir lawenydd
A heddwch yn dragywydd,[X]
Parch, anrhydedd, tra 'no'i[Y] chwyth,
A gwynfyd byth na dderfydd.

17.
Am hyn o ddoniau 'sprydol,
Fy Nhad a'm Harglwydd nefol,
'Rwy'n rhwymedig, ar fy llw,
Glodfori d'enw grasol;

18.
A thr'o[Z] dim deall genny',
Yn ddyfal yn addoli,
A'th foliannu bob yr awr,
Am dan dy fawr ddaioni.

19.
I'r hael Dad 'r hwn a'm creodd,
I'r Iesu, 'r hwn a'm prynodd,
Y byddo clod a mawl bob cam,
A'r Yspryd a'm sancteiddiodd.

## XCIX.—GWEDDI MEWN CYFYNGDERAU.[A]

1.
Dihun, dihun, paham y cysgaist?
Erioed hyd hyn fy Nuw ni hepiaist;
Nid Baal[B] wyt; O! danfon swccwr,[C]
Tynn dy was o dost gyfyngdwr.

2.
Sych fy neigrau, torr fy magal,
Gwared f'enaid, llaesa[D] 'ngofal,
Gwel fy nghystudd, clyw fy nghwynfan,
Barn fy hawl,[E] rhyddha fi weithian.

3.
Fy nghraig i wyt, O n'âd fi syrthio,
Fy nhwr cadarn, n'âd f'anrheithio,[F]
Fy Nuw, fy Nêr, O! dere i'm helpu,
Fy nefol Dad, n'âd fy ngorthrymmu.

4.
Galluog wyt, ti alli helpu,
Unig ddoeth, y modd ti fedri;
Drugarog Dad, O! dere â swccwr,
Hawdd yw'th gael mewn tost gyfyngdwr.[G]

5.
Gw'radwydda fwriad fy ngelynion,
Attal[H] falchder fy nghaseion;
Gwasgar gynghor tyrfa waedlyd,
Er mwyn Crist rhyddha fi o'm pennyd.

[K] Titus 3. 3—7. [L] Ioan 1. 12. [M] Eph. 2. 10. [N] Iago 1. 18. [O] *Dull*, ffol. [P] 2 Petr 1. 4. [Q] Brwnt, aflan. [R] Rhuf. 3. 24–26. [S] *Cry* gwaedd, bloedd. [T] 1 Thes. 4. 13, 17. [U] Yn ddidwyll. [V] Col. 3. 4. [W] *Triumphant*, rhai yn gorfoleddu o herwydd ennill buddugoliaeth. [X] Psalm 16. 11. [Y] Tra ynnof fi. [Z] A thra fyddo.

[A] Yn argraphiad S. Hughes, gelwir y Gân hon, "Gweddi mewn Cyfyngder rhag Gorthrymder;" ac yn argraphiad T. Durston, "Gweddi'n erbyn Gorthrymder Gwrthwynebwyr." [B] Enw eilun-dduw, a addolid gynt gan Israel. 1 Bren. 18. 21, 26, 27. [C] *Succour*, cymhorth. [D] Lleihau. [E] Achos, cwyn. [F] Dinystrio, difetha. [G] Psalm 46. 1. [H] "Tola."—S. Hughes.

YR AIL RAN.

1.

Duw, fy nghraig, a'm twr, a'm nodd-
Duw, fy iechyd a'm hymddiried, [ed,[I]
Gostwng glust, a gwrando 'ngweddi
Mewn cyfyngder a gofidi.

2.

Duw, rho'ist gennad i'm gelynion
Fy ngorthrymmu heb achosion,
A'm difethu'n llwyr gan mwya',
Os tydi ar frys ni'm helpa.

3.

Ti ro'ist gennad i estroniaid
Lwyr amcanu difa f'enaid,
A'r sawl nad wy'n 'nabod etto
Lwyr amcanu fy anrheithio.

4.

Rhai na wn o b'le eu henyn,[J]
Rhai na wnaetho[K] i ddim i'w herbyn,
Rhai na chanfu erioed fy llygaid,
Sydd yn ceisio 'speilio f'enaid.

5.

Arglwydd, maent hwy gwedi'm maglu,
Ac yn barod i'm difethu,
Oni dde'i di ym mhryd[L] â swccwr,
I'm gwaredu o'm cyfyngdwr.

6.

Deffro o gysgu, f'unig Geidwad,
Mae fy llong mewn trallod irad;[M]
O cerydda'r gwynt a'r tonnau,
Rhag im' soddi yn eu rhwydau.

7.

N'âd i'm llong a'm taccal[N] dorri,
Bydd di borth[O] ac angor imi;
Llaesa'r storom[P] sy'n fy mlino,
Moes dy law, a n'âd fi suddo.[Q]

8.

Erchaist imi ddyfod attad,
Yn fy nhrallod, anwyl Geidwad;[R]
Attad ti, fy Nuw, 'rwy'n trottan,[S]
Danfon im' ymwared weithian.

9.

Ti addewaist wrando'm gweddi,
Yn fy nhrallod, ond im' waeddi;
Gwaeddi arnat yr wy'n wastod,[T]
Arglwydd, weithian tynn fi o'm trallod.

10.

Ti wrandawaist weddi Jonas
Gynt, o fol y morfil atgas,
Ti a'i hachubaist o'i flinderau;[U]
Gwrando 'ngwaedd, ac achub finnau.

11.

Ti waredaist Dafydd frenhin
Oddiwrth Saul, oedd yn ei ddilyn,[V]
Gwared finnau o'm trallodion,
Ac o ddwylo fy ngelynion.

12.

Ti waredaist hen Elias,[W]
O law waedlyd gwreigyn[X] ddi-ras;
Gwared finnau yn fy nolur,
O law waelyd fy ngwrth'nebwyr.

13.

Ti dosturiaist yn dra diddig,
Gynt, wrth dad y plentyn lloerig,[Y]
O tosturia wrthyf finnau,
Sy'n dy ganlyn[Z] megis yntau.

14.

Ti ro'ist help i'r wraig o Ganaan,[A]
Y fu'n daerllyd yn ei fegian;[B]
O rho help[C] a nerth i minnau,
Sydd â'm cais mor daer a hithau.

15.

Er nad oes yng ngallu undyn
'Rwymo'r ddraig sy'n codi i'm herbyn,
Etto, Arglwydd mawr, ti elli
Rwymo hon, a'i llwyr-ddirymmu.

16.

Cymmer yn dy law wayw-ffon,[D]
Cyfod, ymladd â'm gelynion,
Torr hwy ymaith yn eu gwegi,[E]
N'âd hwy wneuthur trallod imi.

17.

Gyrr dy angel i wasgaru [mu,
'R sawl ty'n chwennych fy ngorthrym-
Gyrr dy saethau, a difetha
'R sawl sy â'u bwriad ar fy nifa.

18.

Duw, di elli, 'r modd y mynnech,
Fy'm rhyddhau i maes o ortrech;[F]
Er dy fawredd, dere â chomffordd,[G]
A gwir rydd-did im' yn rhyw-ffordd.

[I] Ymddiffynfa. [J] "Y henyn."—S. Hughes. O ba le yr hanasant, neu y cawsant eu dechreuad. "Rhai na wn i ddim oddi wrthyn."—T. Durston. [K] Na wnaethum. [L] Mewn pryd, mewn amser cyfaddas. [M] Gofidus. [N] *Tackle*, rhaffau llong. [O] Cymhorth. [P] *Storm*, dryccin, tymhestl. [Q] "Singco."—S. Hughes. [R] Psalm 50. 15. [S] *Trot*, rhedeg ar frys. [T] Yn barhaus. [U] Jonah 2. 10. [V] Psalm 18. [W] 1 Bren. 19. [X] Gwraig. [Y] Gwallgofus. Mat. 17. 15. [Z] Yn erfyn arnat. [A] Mat. 15. 22—28. [B] *Beg*, ceisio. [C] *Help*, cynnorthwy. [D] Psalm 35. 2. 3. [E] Gwagedd, oferedd. [F] Gorthrech, gorthrymder. [G] *Comfort*, cysur, diddanwch.

19.
N'âd i'm gelyn gael fy llyngcu,
Na'm gw'radwyddo, na'm gorthrymu,
N'âd i'r byd ychwaith gael d'wedyd
Iddo gaffael arna'i ei wynfyd.

20.
Dangos imi eglur arwydd
O'th ddaioni a'th g'redigrwydd,
Fel y gwelo'r byd o bobtu,
Mai tydi sydd yn fy ngharu.

21.
Nid wy'n ceisio help gwŷr mawrion,
Na phennaethiaid, na th'wysogion,
Ond yn unig cymhorth difrad
Gennyt ti, fy Nuw a'm Ceidwad.

22.
N'âd i minnau gael fy nhwyllo,
Lle 'rwyn hollol i ti'n trusto;[H]
Tyred weithian âg ymwared;
Ynot ti mae f' holl ymddiried.

23.
Mae fy llygaid, o'r dechreuad,
Ddydd a nos yn disgwyl arnad;
Tyred weithian i'm diddanu;
Arglwydd, n'âd i'm llygaid ballu.

24.
Tyred, Arglwydd, tyred, brysia,
Gwared f'enaid o gyfyngdra,
Fel y gallwyf dy foliannu,
Trwy lawenydd, am fy helpu.

## C.—DIOLCH AM YMWARED O DDWYLO GELYNION.

1.
ANGYLION Duw, a meibion dynion,
Nef a daear a'u trigolion,
Molwch Dduw ar eitha'ch gallu,
Ddydd a nos am fy ngwaredu.

2.
Mewn ing,[A] a thrallod, a chyfyngdwr,
Y gweddïais ar fy Mhrynwr,
Ac o'r nef, o blith angylion,
Clybu lef fy nghŵyn hiraethlon.[B]

3.
Y sarph osododd fagal embaid,[C]
A rhwyd i geisio difa f'enaid;
Y rhwyd a'r fagal Duw a'u torrodd,
F'enaid innau fe'i gwaredodd.

4.
Helodd[D] angel i'm dad-dd'rysu,
Rhoes ei Yspryd i'm diddanu,
Tannodd droswy'i adein hyfryd,
Ac fe'm tynnodd o'm holl ofid.

5.
Y Tad a glybu 'ngwaedd iradus,[E]
Y Mab eiriolodd droswy'n rymmus,
A'r Glân Yspryd a'm cyfnerthodd,[F]
Felly'r Drindod a'm gwaredodd.

6.
O molianed pob creadur
Enw'r Arglwydd mawr yn brysur,[G]
Am ei gymhorth a'i dosturi
Yn fy ngwared o'm gofidi.

7.
Teirw Basan a'm cylchynodd,[H]
Nadredd tanllyd a'm herlidiodd,
Bleiddiaid blin, ac unicorniaid,
Amcanasant ddifa f'enaid.

8.
Duw a barodd i'r rhai'n darfu,[I]
Duw a'm cadwodd rhag fy llyngcu,
Duw a dorrodd gyrn a dannedd,
Y bwystfilod hyn o'r diwedd.

9.
O molianed pob creadur
F' Arglwydd mawr â chalon brysur,
Am ei nawdd[J] yn achub f'enaid,
O' rhwng cyrn yr unicorniaid.

10.
Gwŷr di-grefydd, gwragedd gwaedlyd,
A gynllwynodd am fy mywyd,
Ac amcan'sant fy andwyo,[K]
Difa f'enaid, a'm anrheithio.

11.
Duw ddatguddiodd eu dichellion,
Duw ddiddymmodd eu hamcanion,
Duw a dd'rysodd eu bwriadau,
Duw waredodd f'enaid innau.

12.
O molianned pob creadur
Dduw fy nghraig â chalon brysur,
Am ddwyn f'enaid o drallodion,
A gw'radwyddo fy ngelynion.

13.
Clod, a gallu, diolch moliant,
Gwir anrhydedd, a gogoniant,
A fo nos a dydd i'r Drindod,
Am fy nhynnu maes o drallod.

[H] *Trust*, ymddiried. [I] Diffygio.

[A] Caledfyd. [B] Psalm 118. 5. [C] Enbyd, peryglus. [D] Anfonodd. [E] Wylofus. [F] A'm cynorthwyodd. [G] Yn ddyfal. [H] Psalm 22. 12. [I] Ffoi, cilio. [J] Cymhorth. [K] Distrywio.

## CI.—ARALL, AM YMWARED.[A]

1.
CREADURIAID Duw, a'i holl weithred-
oedd,
Preswylwyr dae'r, trigolion nefoedd,
Angylion Duw, hiliogaeth Adda,
Cenwch foliant i'r Gorucha'.

2.
Cenwch fawl, a rhowch anrhydedd,
I'm Duw grasol am ei fawredd;
Cenwch iddo glod yn wastod,[B]
Am fy nhynnu maes o'm trallod.

3.
Mewn ing y gelwais ar yr Arglwydd,
Curais, ac fe'm clybu'n ebrwydd,
Ceisiais, ac fe roddeis imi
Help, i'm gwared o'm gofidi.

4.
Y sarph a'm temptiodd i fel Adda,
Twyllodd fi ac yntau i fwytta,
Twyllodd ni i'r fath drallodau,
Ond Crist, ein gwared neb ni allai.

5.
Pan y gwaeddais yn fy nhrallod,
Am faddeuant am fy mhechod,
Maddeuant im', rhoes gymhorth imi,
Ac ymwared o'm gofidi.

6.
O blith y saint a'i holl angylion,
Clybu'm cŵyn a'm cân hiraethlon,
O'r nef fe helodd [C] angel hyfryd,
I'm gwaredu maes o'm gofid.

7.
Dyn nis gall, a da nis dichon
Wared neb o'r fath drallodion,
Ond Iesu Grist yw'r unig helpwr,[D]
I'n tynnu yn rhydd o'r fath gyfyngdwr.

8.
O clodforwch bawb yr Iesu,
Y fu mor rasol a'm gwaredu;
Molwch ef â lleisiau cywrain,
Nes bo'r nef o'i fawl yn datsain.[E]

9.
Bleiddiaid rheibus [F] a'm cylchynodd,
Teirw creulon a'm herlidiodd;
Gwyr digasog, gwragedd gwaedlyd,
A sychedodd am fy mywyd.

10.
Fy ngelynion oedd yn ceisio,
Ym mhob dull fy llwyr w'radwyddo,
Ac amcan'sant, trwy ddichellion,
Ladd a difa f'enaid gwirion.

11.
Duw ddatguddiodd eu meddyliau,
Duw ddiddymodd eu bwriadau,
Duw w'radwyddodd fy ngelynion,
Tynnodd finnau o'm trallodion.

12.
O molianned pawb yr Iesu,
Fy Nhad grasol, am fy helpu,
'R hwn orchfygodd fy ngelynion,
Ac a'm tynnodd o'm trallodion.

13.
Clod bob dydd, bob awr, bob ennyd,
A fo i'r Tad, i'r Mab, i'r Yspryd,
A gogoniant byth i'r Drindod,
Am fy nhynnu maes o'm trallod.

## CII.—ARALL, BYRRACH.

1.
MEGIS Daniel rhwng y llewod,
Megis Jonas rhwng morfilod,
Y gweddïais ar yr Arglwydd,
Ac o'r nef fe'm clybu'n ebrwydd.

2.
Cauodd safnau'r llewod rheibus,
Ffrwynodd ên y whâl [A] afradus,
Torrodd awch y sarph a'm llyngcai,
Tynnodd f'enaid o'u crafangau.

3.
Nefoedd, daear, dw'r, ac awyr,
Tân, a gwynt, a phob creadur,
Molwch f'Arglwydd mawr yn wastod,[B]
Am fy nhynnu maes o'm trallod.

[A] Nid oes ond ychydig wahaniaeth ystyr rhwng y Gân hon â'r un flaenorol, ac nid ydyw yn yr hen argraphiadau. [B] Yn wastadol. [C] Anfonodd, gyrrodd. [D] *Helper*, cynnorthwywr. [E] Adseinio. [F] Ysglyfaethus.

[A] *Whale*, morfil, mor-bysgodyn mawr. [B] Psalm. 148.

## CIII.—PSALM GWYNFANNUS.[A]

1.
Duw, achub f'enaid gwirion,
O'r llif a'r dyfroedd mawrion,
Sydd o'm hamgylch bob yr awr,
I'm rhoi mewn dirfawr ofon.

2.
Mi soddais mewn gofidi,
Nid oes sefyllfa imi;
Y ffrwd a lifodd dros fy mhen,
Yr wyf ar haychen[B] boddi.

3.
Mi grïais[C] nes im' flino,
Fy ngheg sydd gryg gan grïo;
Hir ddisgwyliais am dy ras,
Nes imi lâs ddiffygio.

4.
Amlach yw ngelynion
Na'm gwallt, neu'r gro[D] o'r afon;
A'r rhai s'heb achos i'm cashau,
Ynt ffel,[E] a chlau,[F] a chryfion.

5.
Cedyrn yw 'ngwrthnebwyr,
Sy'n ceisio'm lladd heb ystyr;[G]
Telaist iddynt fwy na'u rhan,
A minnau'n wan difesur.

6.
Ti adwaenost fy ffolineb,
A'm gwendid, a'm gwiriondeb,
A'm holl feiau sydd mor blaen[H]
Bob awr o flaen dy wyneb.

7.
Duw n'âd g'wilyddio o'm plegid,
Y rhai ddisgwyliant wrthyd,
Na gw'radwyddo un o'th blant,
A'th geisiant yn eu gofid.

8.
Mi ddygais lawer gw'radwydd,
Do, er dy fwyn di, Arglwydd,
A gwrthwyneb lawer pryd,
Gan blant y byd trwy aflwydd.

9.
Mi aethum yn ddieithriol,
Oddiwrth fy mrodyr cnawdol,
Ac fel estron, ar bob cam,
Gan blant fy mam naturiol.

10.
Can's zel dy dŷ a'm hysodd,[I]
A gwawd y rhai'th w'radwyddodd,
A syrthiodd arnaf, er dy fwyn;
Duw, clyw fy nghŵyn o'r nefoedd.

11.
Mi wylais ddeigrau heilltion,
Mi 'mpridiais ddyddiau hirion,
Gan gystuddio f'enaid prudd,
O ddydd i ddydd yn gyson.[J]

12.
Mi wisgais sach[K] a llydw,
Fel un a fai 'mron marw,
A chalon drist, ac wyneb tlawd,
Nes myn'd yn wawd i'r meddw.

13.
Ond mi weddïa arnad,
Mewn pryd, o Dduw fy Ngheidwad,
Tâd trugaredd, gwrando fi,
A dwg fy ngweddi attad.

14.
Duw, tynn fi o'r pydew tomlyd,
A n'âd fi gwympo oddiwrthyd;
Gwared fi oddiwrth fy nghas,
A dwg fi maes o'm gofid.

15.
Duw n'âd i'r llif fy moddi,
Na'r pydew mawr fy llyngcu;
N'âd i'r ffos fy llimpro'n[L] fyw,
Duw grasol clyw fy ngweddi.

16.
Duw gwrando 'nghwyn iradus,
Dy fwynder sydd gysurus,
Tro ar fyrder at dy was,
Dy help a'th ras sydd felus.

17.
Na thro dy wyneb grasol,
Oddiwrth dy was cystuddiol;
'R wyf mewn trallod, dere ar frys,
A thynn fi o'r llys annuwiol.[M]

18.
Nesha at f' enaid gwirion,
A thynn fi o'm trallodion;
Gwared fi oddiwrth fy mraw,
A thynn fi o law 'ngelynion.

[A] Y mae y Gân hon yn gynghaneddiad o'r rhan gyntaf o Psalm 69. [B] Ym mron, yn agos. [C] *Cry*, llefain, wylo. [D] Tywod. [E] Cyfrwys. [F] Cyflym. [G] Heb achos. [H] *Plain*, amlwg. [I] Bwytta. [J] "Yn greulon."—S. Hughes. [K] Lliain garw at wneuthur sachau, a wisgid gynt fel arwydd galar neu ymostyngiad. Bren. 21. 27. Jonah 3. 5, 6. [L] Llyngcu. [M] "Anweddol."—S. Hughes.

19.
Ti wyddost beth yw f' ofan,
A'm c'wilydd maith a'm gogan,
Y mae 'ngwrth'nebwyr ger dy fron,
Tro eu hamcanion aflan.

20.
Mae 'nghalon ym mron torri,
Gan gymmaint yw 'ngofidi,
Ac ni feddaf neb o rym,
A ddengys im' dosturi.

21.
Duw, dere [N] ar frys i'm nerthu,
I'm cymhorth a'm diddanu;
Tynn fi o'm trallod er mwyn Crist,
Gwna i 'nghalon drist grechwenu.[O]

22.
O dere, Farnwr cyfion,
A barna di f' achosion;
Gwêl y camwedd wyf yn gael,
Ar ddwylo gwael elynion.

23.
Mab Duw, bydd di Ddadleuwr,
I ddadleu dros d' was'naethwr;
N'âd i'r gelyn ddwyn fy rhan,
Lle 'rwyf fi'n wan di-swccwr.

24.
A thithau, Tad diddanwch,
Cymfforddа'[P] fi'n fy nhristwch,
Cwyn [Q] fy nghalon drist heb ffael,
A phâr im' gael llonyddwch.

25.
Dwg gymhorth im' drachefen,
O'th iachawdwriaeth lawen;
A'th hael Yspryd cynnal fi;[R]
N'âd drallod dorri 'nghefen.[S]

26.
Pâr imi glywed beunydd,
Orfoledd a llawenydd;
Fel y chwarddo 'nghalon wan,
A ddrylliwyd gan dy gerydd.[T]

CIV.—PSALM O DDIOLCHGARWCH AM YMWARED O GYSTUDD.[A]

1.
O'r dwst [B] o'r dom o'r dyrfa,
O'r lluwch, o'r llaid, o'r llacca,
Ti'm derchefaist Un Duw Tri,
Gan hynny mi'th folianna'.

2.
Ti nadaist [C] i'm gelynion
Gael arnaf wyn [D] eu calon,
Pan yr oeddwn glaf a gwan,
Yn gorwedd dan drallodion.

3.
Mi lefais arnat, Arglwydd,
Rhag myn'd i'r bedd trwy w'radwydd;
Ti wrandewaist ar fy llef,
Rho'ist help o'r nef yn ebrwydd.

4.
Gwaredaist f'enaid hyfryd,
Rhag myn'd i uffern danllyd;
A'm corph egwan, trist ei wedd,
Rhag myn'd i'r bedd lludylyd.

5.
Gan hynny, meibion dynion,
A'r saint, a'r holl angylion,
Cenwch foliant Un Duw Tri,
Am wneud â mi mor dirion.

6.
Ni phery ei lid ond ennyd,
Ei hedd sydd well na bywyd:
Dy fâr [E] a erys dros prydnawn,
A'r boreu cawn lawenfyd.

7.
Tra fum i yn llwyddianus,
Mi dd'wedais yn rhyfygus,
Na'm symmudid tra fawn byw,
Ond y caw'n fyw'n fin-felus.[F]

8.
O Arglwydd, o'th ddaioni,
Ti fuost gryfder imi;
Nes it' ddigio wrth dy was,
Am troi i gas [G] anigri'.

9.
Pan y tro'st ti dy wyneb,
O achos f'annuwioldeb,
Yno y syrthiais bob yr awr,
I drallod mawr diareb.[H]

10.
Ac yno y llefais arnad,
Yn daer, yn dost, yn irad,[I]
Am dosturio wrthwy' 'mhryd,[J]
A spario [K] 'mywyd anllad.

[N] Tyred. [O] Chwerthin, llawenhau. [P] *Comfort*, diddanu, cysuro. [Q] Cyfod. [R] Psalm 51, 12. [S] Lethu, gorchfygu. [T] Psalm 51. 8.

[A] Cynghaneddiad yw y Gân hon o'r ddegfed Psalm ar hugain. [B] *Dust*, pridd, llwch. [C] Ti rwystraist. [D] Gwynfyd, hyfrydwch. [E] Llid, digofaint. [F] Yn foethus. [G] *Case*, cyflwr. [H] Mawr anghyffredin. [I] Yn wylofus. [J] Mewn pryd. [K] *Spare*, arbed.

11.
Pa les, O Arglwydd hyfryd,
Y gai oddiwrth fy mywyd?
Pan ddisgynnwy'n dost fy ngwedd,
I'r pwll a'r bedd lludylyd.

12.
A fydd i'r llwch glodfori
Dy enw di o ddifri'?
A fynegaf dy wir,[L] Naf,[M]
Pan byddaf gwedi trengi?

13.
Clyw, Arglwydd, moes[N] drugaredd,
A rho gynnorthwy rhyfedd,
I mi druan dost fy nghas,
Yn ol dy ras bendigaidd.

14.
Ti ro'ist, O Dduw, yn hygar,
Llawenydd yn lle galar;
A diosgaist fy sach-wisg,[O]
Pan o'wn ym mysg rhai'n trydar.[P]

15.
O Arglwydd, fy Nuw grasol,
Mi'th folaf yn drag'wyddol,
O herwydd ti'm gwaredaist i,
I'th foli di yn hollol.

## CV.—AM DDIWEDD Y BYD.

1.
PAWB sy'n chwennych dysgu'r pryd
Y daw Crist i farnu'r byd;
Rheitach yw i bob rhai ddysgu
Ymbar'toi cyn myn'd i'w barnu.

2.
Ffol o beth i feibion dynion
Geisio gwybod mwy nag angylion,
A deallu, wrth draws amcan,
Ddirgel fwriad Duw ei hunan.

3.
Nid oes dyn, na diawl, nac angel,
All deallu dim o'i gwnsel,[A]
Na'r holl fyd yn abal[B] daclo[C]
Un gyfrinach a fo ganddo.

4.
Ofer yw i neb chwennychu
Nabod dim a fo Duw'n gelu,[D]
A mynegi, wrth draws amcan
Beth nas gwyddai Crist ei hunan.[E]

5.
Dysg gan Grist y peth hyspysodd,
Na chais wybod dim a gelodd,
I ni perthyn a ddadguddiodd,[F]
I Dduw'r cwbwl nas mynegodd.

6.
Na chais wybod tra fe'ch byw,
Ddim o ddirgel bethau Duw;
Ac os ceisi, mae 'n ddiogel
Boen a ch'wilydd am dy drafael.[G]

7.
Y mae'r môr yn boddi llawer,
Sydd yn chwennych gwel'd ei ddyfnder,
A'r haul wen yn dallu llygaid
Pawb a edrych arno'n ddi-raid.

8.
Dydd y farn sydd siwr[H] o ddyfod,
Y pryd nid oes ond Duw'n ei wybod:
Ffol yw'r dyn a geisio dd'rogan[I]
Y dydd nas gŵyr ond Duw ei hunan.

9.
D'weded pawb eu dewis chweddel,[J]
Nid oes dyn, na diawl, nac angel,
Wyr y dydd, na'r awr, na'r flwyddyn,
Y daw Crist i farnu arnyn'.

10.
Gwiliwch bawb a byddwch barod,
A disgwyliwch nes ei ddyfod,
Ar y dydd a'r awr nas gwybpoch
Y daw Crist yn ddirgel attoch.[K]

11.
Iago a Phedr gynt ofynnodd,
I Grist cyn ei dderchafu i'r nefo'dd,
Athro, dangos, cyn dy ddyrcha,[L]
I ni'r pryd a'r dydd diwedda'.

12.
Crist attebai ei ddisgyblion,
Nid perthynas i blant dynion,
Wybod cwnsel y Goruchaf,
Am y dydd a'r awr ddiweddaf.[M]

[L] Gwirionedd. [M] Arglwydd. [N] Dyro. [O] Gwisg o sachlliain. [P] Cwynfan yn alarus.
[A] *Counsel*, cynghor, gyfrinach. [B] *Able*, galluog. [C] Datgloi. [D] Cuddio. [E] Fel yr oedd yn ddyn, Marc 13. 32. [F] Deut. 22. 29. [G] *Travail*, trafferth. [H] *Sure*, sicr. [I] Rhagfynegu. [J] Chwedl, ymadrodd. [K] Mat. 24. 44. a 25. 13. [L] Derchafu. [M] Mat. 24. 3, 26. Act. 1. 7.

13.

Mae Duw'n cadw hynny'n ddirgel,
Iddo ei hunan yn dra diogel;
Gwiliwch bawb a byddwch barod,
Nes y del ni chaiff neb wybod.

14.

Nid yw'r doethaf o blant dynion,
Na'r anwylaf o'r angylion,
Yn deallu hyn o amser,
Goch'lwch gredu chwedlau ofer.

15.

Elias gynt, medd rhai,[N] a dd'wedai,
Y parhai'r byd chwech mil o flwydd-
Yn ol hynny fe ddiweddid, [au,
Drwy dân poeth, nes adnewyddid.

16.

Dwy fil heb un gyfraith gywrain,[O]
Dwy fil dan gyfreithiau Moesen,
Dwy fil dan Efengyl Iesu,
Os cai bara c'yd a hynny.

17.

Tair oes meddant sydd i'r byd,
Un heb gyfraith oll i gyd,[P]
Y llall tan drwm-lwyth gyfraith Moes-
Y drydedd tan 'r efengyl lawen. [en

18.

Y ddwy oes gyntaf aethant heibio,
A'r drydedd oes sy'n para etto;
Hyd pa bryd y pery weithian
Nis gŵyr neb ond Duw ei hunan.

19.

Mil a chwechant aethant heibio,
O'r oes hon, ac ugain cryno;[Q]
Fe all pawb wrth hynny wybod,
Nad oes fawr o hon heb ddarfod.

20.

Pawb o'r doethion a gyttuna,
Mae byrra' yw'r oes ddiwedda',
Os[R] er mwyn y detholedig,
Hi fydd byrrach nid o 'chydig.[S]

21.

Ioan alwai'r oes hon yma,
Yn ei ddyddiau'r oes ddiwedda',[T]
Os diwedda'r amser hynny,
Y mae hi'r awrhon ar derfynu.

22.

Diwedd pob peth sydd yn nessyd,[U]
Pan oedd Peder yn y pulpid;[V]
Nid oes lun[W] nad ydyw'r diwedd,
'Nawr wrth hynny'n agos rhyfedd.

23.

Yn amser Paul yr oedd gan mwyaf,
Yr oes, a'r dydd, a'r awr ddiwethaf,
'Rwan[X] yn ein hamser ninnau,
Mae'r diwethaf o'r munudau.

24.

Y byd sydd gwedi myn'd yn gleirch-
yn,[Y]
Ac yn grippil[Z] medd Sant Awstin:[A]
Mae e'n cerdded ar ffyn baglau,
Nid oes nemawr iddo o ddyddiau.

25.

Gwiliwn bawb a byddwn barod,
Mae'r dydd mawr yn agos dyfod,
Mae medd Crist ym mron y drysau,[B]
Trwsiwn bob rhai ein lusernau.[C]

26.

Sicr yw y daw ar fyrder,
Ansertennol[D] ydyw'r âmser;
Pa cyn gynted nis gŵyr undyn,
Byddwn bob awr ar ein 'rofyn.[E]

27.

Nid oes dyn, medd Crist ei hunan,
Wyr y dydd a'r awr yn gynghan,
Nac un angel detholedig,
Na neb ond y Tad yn unig.[F]

28.

Ofer yw, gan hynny, i ddynion,
Geisio maneg[G] yr amseron,
Y mae'r Tad yn cadw'n gynghan,
Yn dra dirgel iddo ei hunan.

29.

Etto Napier[H] enwai'r flwyddyn,
Y gwna Duw ar bob beth derfyn,
Ac y bydd y flwyddyn hynny,
Cyn mil saith cant o oed yr Iesu.

30.

D'weded pawb eu dewis chweddel,
Nid oes dyn, na diawl, nac angel,
Wyr yr awr, na'r dydd, na'r flwydd-
Y gwna Duw ar bob peth derfyn. [yn,

[N] Haerid hyn gan rai o'r esponwyr Iuddewig, yn eu hysgrifeniadau. [O] "Haychen," (agos, oddieithr ychydig.)—S. Hughes. [P] Heb gyfraith ysgrifenedig. [Q] Yn argraphiad T. Durston, y mae y ddwy llinell fel hyn:—

"Mil a saith gant aethant heibio,
A phump ar hugain o'r oes mor gryno."

Gan fod y flwyddyn a nodir yma dros bedwar ugain mlynedd wedi marwolaeth y Ficer, gellir casglu mai yn 1725 y cyhoeddodd T. Durston yr argraphiad dan sylw. [R] O achos, o herwydd. [S] Mat. 24. 22. [T] 1 Ioan 2. 18. [U] Neshau, agoshau. 1 Petr. 4. 17. [V] *Pulpit*, areithfa, lle i bregethu. [W] Nid oes modd. [X] Yr awrhon. [Y] Methedig gan henaint. [Z] *Cripple*, un cloff, neu analluog. [A] St. Augustin, yr hwn oedd Esgob Hippo, yn Affrica, tua diwedd y pedwerydd canrif. [B] Mat. 24. 33. [C] *Lucernæ* (Lladin.) llygyrn, lampau. [D] *Uncertain*, ansicr. [E] Yn ymbarottoi i gychwyn i'n taith. [F] Mat. 13. 32. [G] Mynegi, hyspysu. [H] John Napier, gŵr o'r Alban, a ysgrifennodd Esponiad ar Llyfr y Datguddiad; gwaith yr hwn, fel y mae amser wedi dangos, sydd yn dra llawn o gyfrifiadau cyfeiliornus.

31.
Byddwn barod bawb gan hynny,
Edifarwn heno, heddy':
Ar y dydd a'r awr na's gwypom,
Y daw Crist yn ddirgel attom.

32.
Fel na 'nabu serchog Rachel,
O'i thymp[I] nes myn'd ar ei thrafel,[J]
Felly ni chaiff dynion 'nabod
Dydd yr Arglwydd nes ei ddyfod.

33.
Pan ddaeth amser Rachel wisgi,
Ar ei phlentyn bach esgori,
Fe orfu esgori ar y bachgen,
Ar y ffordd dan fôn y dderwen.[K]

34.
Felly gorfydd ar y ddaear,
Sy'n beichiogi er yn gynnar,
Gwympo i esgori ar y meirw,
Pan ddel udgorn Crist i'w galw.

35.
Fel y daeth y tân a'r brwmston,[L]
Yn ddisymmwth ar ben Sodom,
Felly daw y dydd diwedda',[M]
Pan bo'r byd yn cysgu'n 'smala.[N]

36.
Ni ŵyr neb o'r awr na'r amser,
Byddwn bob awr ar ein pryder,[O]
A'n lusernau yn ein dwylo,
Gyda'r merched call yn gwylio.[P]

37.
Mae'r arwyddion gwedi cerdded,
Y fynegodd Crist cyn blaened,[Q]
Ond bod 'chydig o'r Iuddewon,
Etto heb gredu'r 'fengyl dirion.

38.
Fe ferthyrwyd'r Apostolion,
A mil miloedd o'r Crist'nogion,
Ym mhlaid y ffydd a'r Efengyl,[R]
Fe ŵyr holl gred[S] hyn yn rhygyl.[T]

39.
Fe ddistrywiwyd Caerusalem,[U]
Nid oes maen ar faen lle gwelem;
Hithau'r demel fawr a losgwyd,[V]
A'r Iuddewon a wasgarwyd.

40.
F' aeth Efengyl hygar hyfryd,
Ar farch gwynn ar draws yr holl-fyd;[W]
Nid oes cornel[X] dan y nefo'dd
Na bu'r Fengyl ynddo'n ryw-fodd.[Y]

41.
Nifer mawr o Gristiau ffeilston.[Z]
Ynghred ac anghred a godason',
A thrwy hocced[A] tad y celwydd,
Troisont lawer i gam-grefydd.

42.
Rhyfel blin, rhwng Twrc a Christion,[B]
A fu'n fynych iawn ni glywson;
Sôn mawr sydd am rhyfel etto,[C]
Rhoed Duw hedd i'r sawl a'i cario.

43.
Newyn mawr, a thost ddrudaniaeth,
A fu'n llawer gwlad ysowaeth;
Haint, a phla, a chwarren waedlyd,
A fu'n hwyr[D] ar hyd yr holl-fyd.

44.
Daear-gryn a fu o'r mwya',
Nes syrthio temel fawr Diana,
A bwrw lawr y trefydd mawrion,[E]
Tyrau a chestyll yn sebwrthon.[F]

45.
'R haul ecclipsodd[G] o'r tywyllaf,
Nes myn'd y dydd yn nos gan mwyaf,
A'r môr mawr aeth dros y bryniau,[H]
Boddodd miloedd o eneidiau.

46.
Y mae Anghrist yntau'n rhochain,
Ys llawer dydd yn Eglwys [I]Rhufain;
Ac yn mwrddro'r[J] saint heb orphwys,
Eisiau'i alw'n ben i'r eglwys.

47.
Cariad perffaith yntau oerodd,[K]
Ni char mab o'r tad a'i magodd,
Gwaudd[L] a chwegr[M] sy'n ymsowtan,[N]
Cas gan frawd ei frawd ei hunan.[O]

48.
Ffydd, ysowaeth, sy'n myn'd lai-lai,[P]
Cred[Q] o gryn-fyd aeth yn garrai,[R]
Asia, Affric, Græcia[S] ffyddlon,
Sydd yrwan heb Grist'nogion.

[I] Amser esgor. [J] *Travail*, gwewyr esgor. [K] Gen. 35. 16. [L] "Brumston."—S. Hughes. *Brim stone*, defnydd tra hylosg, brwmstan. [M] Luc 17. 28, 30. [N] Diofal. [O] Gofal, gwyliadwriaeth. [P] Mat. 25. 4. [Q] *Plain*, amlwg, eglur. [R] Mat. 24. 9. Act. 11. 2. [S] Yr holl wledydd Cristionogol. [T] Yn gyhoeddus, yn gyffredinol. [U] Jerusalem. Luc 19. 43, 44. [V] Mat. 24. 2. [W] Mat. 24. 14. [X] *Corner*, congl. [Y] Pregethwyd yr efengyl mewn rhannau o'r prif wledydd adnabyddus, yn oes yr Apostolion. [Z] *False*, gau, celwyddog. Mat. 24. 24. [A] Twyll, dichell. [B] Bu rhyfeloedd gwaedlyd iawn am amser hir, rhwng y Tyrciaid a'r Cristionogion ynghylch meddiannu Caersalem; y rhai elwid yn Rhyfeloedd sanctaidd, neu Rhyfeloedd y Groes. [C] Mat. 24. 6, 7. [D] Yn ddiweddar,—yn 1604, y bu pla yn Llundain, o'r hwn y mae yn debygol, pan y bu feirw tua 30,000. Bu pla mawr hefyd yn 1611, pan drengodd tua 2 can' mil o drigolion Caercystenyn. [E] Luc 21. 11. [F] Yn yfflon, yn ganddryll. [G] *Eclipse*, tywyllu. [H] Luc 21. 25. [I] Y Pab. [J] *Murderer*, llofruddio. [K] Mat. 24. 12. [L] Merch-yng-nghyfraith. [M] Mam-yng-nghyfraith. [N] Ymdaeru, cynhenu. [O] Marc 13. 12. [P] Luc 18. 8. [Q] Y rhan Gristionogol o'r byd. [R] Llain, darn cul o dir. [S] Groeg.

49.
Nid oes un o'r holl arwyddion,
Ond ymchweliad[T] yr Iuddewon,
Na b'ont eisioes gwedi dyfod;
Gwiliwn bawb a byddwn barod.

50.
Y mae'r Barnwr mawr yn cychwyn,
Mae er's dyddiau ar ei 'rofyn;
Fe ddaw weithian yn dra hoyw,
I roi barn ar fyw a meirw.[U]

51.
Mae ef gwedi hogi ei gleddeu,
A golymmu ei holl saethau;
Mae ei fwa yn ei annel,
Ac yn barod myn'd i ryfel.[V]

52.
Mae'i fraich rymmus gwedi'i hestyn,
Mae'i angylion ar eu 'rofyn;
Fe ddaw fel y diluw tanllyd,
I roi barn ar bawb o'r holl-fyd.[W]

53.
O meddyliwn ninnau am wyliad,
Ac am ddisgwyl ei ddyfodiad,
A bod bawb a'n cyfri'n barod,
Ac yn daclus[X] cyn ei ddyfod.

## CVI.—COFIWCH ANGAU.

1.
Byrr yw'n hoes ac ansertennol,[A]
Heddyw'n fyw, y foru'n farwol;
Gynneu'n gawr, y foru'n gelain,
Dyma gyflwr dyn a'i ddamwain.

2.
Ni bydd yma, am ben ennyd,[B]
Un o honnom heb ei symmud;
O meddyliwn am ein siwrnai,[C]
Heno ysgatfydd[D] rhaid ei dechreu.

3.
Fel y rhed yr haul i'r hwyr,
Fel y treulia'r ganwyll gŵyr,
Fel y syrthia'r rhosyn gwynn;
Fel y diffydd tarth ar lynn;

4.
Felly treulia, felly rhed,
Felly derfydd pobol cred,
Felly diffydd bywyd dyn,
Felly syrthiwn bob yr un.

5.
Fel llong dan hwyl, fel post[E] dan sawd,
Fel saeth at nôd, fel gwalch at ffawd,[F]
Fel mŵg ar wynt, fel llif ar ddw'r,
Y brysia ymaith einioes gŵr.

6.
Fel saeth y rhed, fel post y gyrr,
Fel cŵyr y tawdd, fel iâ y tyrr,
Fel dail y syrth, fel gwellt y gwywa,[G]
Fel tarth y trig,[H] fel lamp y treulia.

7.
Ni ddiflannwn fel y cysgod,
Ni lwyr doddwn fel y man-od,[I]
Ni ddiharffwn[J] fel glaswelltyn,
Ni ddiffoddwn fel yr ewyn.

8.
Ni cheir gweled mwy o'n hol,
Nag ôl neidr ar y ddol,
Neu ôl llong aeth dros y tonnau,
Neu ôl saeth mewn awyr deneu.

9.
O! gan hynny, heddyw, heno,
Moeswch i ni bawb ymg'weirio,[K]
Fyn'd ar ffrwst, a thynnu oddi yma,
Lle na chawn o'r hir arosfa.

10.
Mewn tai o glai yr y'm yn trigo,[L]
Tymhestl gron[M] a bair eu syrthio;
Gwiliwn rhag i'r angau'n saethu,
A briwio'r wal[N] tra f'om yn cysgu.

11.
Fel y t'rewir pysg â thryfer,
Fel y saethir phesant[O] tyner,
Fel y torrir blodau'r ardd,
Fel y lleddir gweunnydd[P] hardd;

12.
Felly t'rewir dyn heb wybod,
Felly saethir yn ddi-arfod,[Q]
Felly torrir gwychder dyn,
Felly'n lleddir bob yr un.

[T] Dychweliad, adferiad. [U] Act. 10. 42. 1 Thes. 4. 16, 17. [V] Psalm 7. 12, 13. [W] Mat. 24. 37, 38. [X] Parod, trwsiadus.
[A] *Uncertain*, ansicr. [B] Ym mhen ychydig amser. [C] *Journey*, taith. [D] Fe allai. [E] *Post*, rhedegwr, cludydd llythyrau. [F] Fel ciryll, neu hebog ar ysglyfaeth. [G] 1 Petr 1. 24. [H] Iago 4. 14. [I] Eira mân. [J] Ni a gollwn ein harddwch. [K] Ymbarottoi. [L] Job 4. 19. [M] Fechau. [N] *Wall*, mur. [O] *Pheasant*, ceiliog y coed. [P] Gweirgloddiau. [Q] Heb amser i gilio.

13.

Fel dw'r diluw ar y cyn-fyd,
Fel tân gwyllt ar Sodom aethlyd,
Fel y fellten, fel y ddraig;[R]
Fel y gwewyr blin ar wraig;

14.

Felly'n chwyrn, ac felly'n danllyd,
Felly'n immwngc[S] felly'n aethlyd,
Felly'n flin, ac felly'n draws
Y daw'r angeu ar eu traws.[T]

15.

Brau yw'n cnawd, a bach yw'n cryfdwr,
Gwan yw'n grym, a gwael yw'n cyflwr,
Tippyn bach o groes neu gerydd,
All ein troi a'n torr i fynydd.[U]

16.

Gwrach[V] all ladd y cawr â chogail,[W]
Blewyn bach all dagu bugail,
Draen ar draws all ladd yr hwsmon,[X]
Duw, mor ddiserth[Y] yw plant dynion.

17.

Y gwan, y gwael, y dwl, y dall,
A ladd y cryf, a gwymp y call;
Y drel[Z] di-barch, â maen nid mawr,
A friwia'n caer, a ddifa'n cawr.

18.

Beth yw dyn wrth hyn ond tarth,
A mŵg, a niwl, a gwellt, a gwarth;
A gwydyr crin, a rhew, a rhosyn,
A 'sten o bridd, a gwynt, ac ewyn?

19.

Y dewr, y doeth, y gwych, y gwalch-
aidd,
Y cryf, y call, y capten[A] c'ruaidd,
Ein pen, a'n pont, a'n grym, a'n gras,
Y gafodd gwymp gan angau glas.[B]

20.

Fel y cwymp holl ddail yr allt,
Fel y cneifia gwellai'n gwallt,
Fel y gwywa lili'r ma's,
Fel y tyrr y gwydyr glas;

21.

Felly gwywa, felly tyrr,
Felly craccia[C] 'n bywyd byrr,
Felly croppir[D] einioes dyn,
Felly cwympwn bob yr un.

22.

Fel tŷ bugail ein symmudir,
Fel 'sten briddlyd ein can-ddryllir,
Fel dilledyn y darfyddwn,
Fel y llwydrew y diflannwn.

23.

Ni chawn aros mwy na'n tadau,
Awn i'r ffordd yr aethant hwythau;
Rhaid i'n fyn'd i wneuthur cyfri',
A rhoi lle i eraill g'odi.

24.

Nid oes lle in' aros yma,
Ond dros ennyd i hafotta:[E]
Gwedi'n gorfydd ar bawb symmud,
A myn'd i'r ffordd yr aeth yr holl-fyd.

25.

Y mae'r angeu glas â'i fwa,
Yn ein herlid ym mhob tyrfa,
Nid oes undyn all ddihanghyd
Rhag ei follt a'i saeth wenwynllyd.

26.

Mae e'n ddirgel yn marchogaeth,
Ar farch glas ym mhob cenhedlaeth;
Nid oes dyn all ddiangc rhagddo,
Aed i'r wlad a'r man y mynno.

27.

Er bod Hasael[F] 'n gynt na'r ewig,
Er bod Saul fel eryr ffrolig[G]
Er bod Jehu'n gynt nag yntau,
Ni ddihangodd un rhag angau.

28.

Er gwroled gŵr oedd Sampson,
F' orfu ildo[H] i'r angau digllon;
Felly gorfydd arnom ninnau,
Pet fai 'i gryfder yn ein breichiau.

29.

Alexander a gongcwerodd,[I]
Yr holl fyd, y ffordd y cerddodd;
Angau gwedi'r congcwest[J] 'sgeler,
A gongcwerodd Alexander.

30.

Lladdodd angau bob congcwerwr,
Lladdodd Galen[K] y physigwr,
Lladdodd Luc[L] y meddyg gorau;
Pwy all ddiangc mwy rhag angau.

[R] Tân awyrol. [S] Disymmwth. [T] Ar ein gwarthaf. [U] I fynu. [V] Hen wraig. [W] Ffon i ddal carth neu lin i'w nyddu. [X] *Husbandman*, llafurwr. [Y] Dirym. [Z] "Bwr."—S. Hughes. Dyn gwladaidd, diddysg. [A] *Captain*, blaenor milwyr. [B] "Cas."—S. Hughes. Dywed Rhys Tomas, mae "y Iachawdwr mawr Iesu Grist," a olygir yn y pennill hwn, ond tebyccach yw mai Brenhin Iago I., neu ryw ŵr mawr a berchid gan y Ficer, a feddylid yma ganddo. [C] *Crack*, hollti, torri. [D] *Crop*, torri ymaith. [E] Trigo mewn lluest dros yr haf. [F] Asahel. 2 Sam. 2. 18. [G] *Frolicsome*, llawen, hoyw. [H] *Yield*, ymostwng. [I] *Conquer*, gorchfygu. [J] *Conquest*, goruchafiaeth. [K] Physygwr enwog o Pergamus, yr hwn a fu byw saith ugain mlynedd. [L] Luc yr Efangylwr, yr hwn a elwir gan Paul "y physigwr anwyl."

31.

Fel y sathra meirch rhyfelwyr
Tan eu traed bob math o filwyr,
Felly damsing[M] angau diriaid,
Y brenhinoedd fel begeriaid.[N]

32.

Lladdodd angau Abel wirion,
Lladdodd angau sanctaidd Aaron;
Lladdodd Cain a Cham ysgymmun,
Nid yw'r angau'n arbed undyn.

33.

Pharao'r Brenhin, Eli'r 'ffeiriad,
Esau'r prophwyd, Joel yr ynad,[O]
Noah'r patriarch,[P] a'r hen deidiau,
A ddifethwyd gan yr angau.

34.

Fel n' arbedai Herod greulon
Ladd y bychain fwy na'r mawrion;
Felly gwn nad arbed angau
Hen nac ieuangc, mwy nag yntau.

35.

Pe rhoid iddo aur yn bynnau,[Q]
Mil o wledydd a'i coronau,
Ni chaid ganddo arbed bywyd
Dyn, dros awr, pe rhoid yr holl-fyd.

36.

Ni chaiff neb ganlyniaeth[R] gantho,
Er ymbilian[S] ac er ceisio;
Mwy nag y cai Pilat ddigllon
Ei ganlyniaeth gan Iuddewon.[T]

37.

Ni rydd angau, pan y delo,
Awr o amser[U] i ni ymg'weirio,
Nac un rhybudd o'i ddyfodiad,
Mwy na'r ci cyn lladd y ddafad.

38.

Ond fel lleidir fe ddaw'r angau,
Yn ddisymmwth am ein pennau,
Tr'o ni'n[V] cysgu yn ddi-ofon,
Fel Philistiaid am ben Sampson.

39.

Os bydd diffyg dim i'r siwrnai,
Olew i'r lamp, a gwisg i'r cefnau,
Ni chair gan yr angau melyn
Aros ini fyn'd i'w 'mofyn.

40.

Ond fel Brenhin Babel ddiras,
Yn troi Sadrach chwip[W] i'r ffwrnas,[X]
Fe dry'r angau bawb y granffo,[Y]
I'r ffwrn briddlyd[Z] fel ei caffo.

41.

Fel y daw y lleidir llidiog,[A]
Ganol nos am ben goludog;
Felly daw yr angau i'n cyrchu,
Yn ddi-ymgais tr'o ni yn cysgu.

42.

Fel y tery gŵr â thryfer,
Bysg tr'o 'n gorphwys yn ddi-bryder;
Felly tery angau ddyrnod,
Ar blant dynion mor ammharod.

43.

Fel na wyr y g'lommen dynner,
Y pryd, na'r man y tery'r ffowler;[B]
Felly'n hollol ni wyr undyn
Y pryd na'r modd y bydd ei derfyn.

44.

Mewn un ffordd yr y'm yn d'wad[C]
I'r byd hwn, dan wylo'n irad;
A thrwy fil o ffyrdd, heb farco,[D]
'Rym yn myn'd i maes o hono.

45.

Nid oes un man yn ddi-bryder,
Na ddaw'r angau glas a'i dryfer,
I roi ini ddirgel ddyrnod;
Yn mhob man, och! byddwn barod.

46.

Wrth droi'r defaid mewn lle dirgel,
Y daeth angau am draws Abel:[E]
Gochel dithau gael ei ddyrnod,
Wrth droi oddeutu dy 'nifeilod.

47.

Ar y ge'nffordd, wrth siwrneia,[F]
Y bu farw Rachel fwyna';[G]
Wrth siwrneia, gochel dithau,
Rhag cyfarfod â'r glas angau.

48.

Pan oedd holl blant Job yn gwledda,
Y daeth angau ar eu gwartha',[H]
Nid oes gwarant[I] gennyd tithau,
Yn dy wledd rhag dyrnod angau.

[M] Damsang, sathru. [N] *Beggars*, cardottwyr. [O] Joel, mab Samuel y prophwyd, a barnwr yn Israel. [P] Cyff cenedl. [Q] Beichiau, llwythi. [R] Ei gais, ei ddymuniad. [S] Deisyf, erfyn, "ymhwedd," sydd yn llyfr S. Hughes. [T] Ioan 19. 12. [U] "Rhespyt."—S. Hughes. *Respite*, oediad cyn gosod dedfryd marwolaeth mewn grym.—Pan fyddo gair anghynnefin yn yr hen argraphiadau, gwelir yn aml y gair a roddir ynddynt hwy fel esboniad ar ymyl y ddalen wedi ei osod i mewn gan R. Tomas, yn nghorph y gwaith, er fod hynny rai troion yn anffurfio y brydyddiaeth; ar y cyfryw achosion adfeir yr hen air yn yr argraphiad hwn, gan ei bod yn debyccach mai hwnnw a ddefnyddiwyd gan y Ficer ei hun. [V] Tra fyddom ni. [W] Yn ebrwydd. [X] *Furnace*, ffwrn danllyd boeth. [Y] A gyrhaeddo. [Z] I'r bedd. [A] "Difiog" ("gwyllt, creulon.")—S. Hughes. [B] *Fowler*, adarwr, saethwr adar. [C] Dyfod. [D] *Mark*, dal sylw. [E] Gen. 4. 8. [F] *Journey*, ymdeithio. [G] Gen. 39. 19. [H] Job 1. 19. [I] Sicrwydd.

49.

Holophernes a fu farw,
Yn ei wisg pan oedd ef meddw:
Gochel dithau yn dy feddwdod,
Rhag i angau roi it' ddyrnod.

50.

Belsassar, er maent oedd gantho,
A fu farw wrth garowso:[K]
Wrth garowso gochel dithau,
Od wyt gall rhag dyrnod angau.

51.

Fe roes angau anfad ddyrnod,
Ar y faingc i'r brenhin Herod;[L]
Ar y faingc y dylai barnwyr
Gofio angau mawr eu hydyr.[M]

52.

Saethodd angau saeth wenwynllyd,
Trwy gorph Ahab yn ei gerbyd;[N]
Yn dy gerbyd gochel dithau,[O]
Rhag dy daro â bollt angau.

53.

Fe ddaeth angau megis mwrddrwr,[P]
Am draws Eglon yn ei barlwr;[Q]
Gochel dithau rhag y biccell,
Tr'ech[R] yn gorphwys yn dy 'stafell.

54.

Pan oedd Difes[S] yn ei sidan,
(A'i phâr foethus) oll yn hedfan,
Fe ddaeth angau ac a'i lladdodd;
Gochel dithau balch ei wisgo'dd.

55.

Gwedi i'r cerlyn[T] adail[U] llawer,
A chrynhoi dros hirfod amser;
Fe ddaeth angau ac a'i lladdodd
Cyn cael profi o'r pethau gasglodd.[V]

56.

Gochel dithau'r cob[W] a'r cerlyn,
Sy'n crynhoi dros lawer blwyddyn,
Rhag i'r angau dy gyrhaeddyd,
Cyn cael profi dim o'th olud.

57.

Fe ddaeth angau i drywanu
Dau fab Aaron wrth aberthu:[X]
Wrth yr Allor dylai'r 'ffeiriad,
Ofni angau a'i ddyfodiad.

58.

Pan oedd Sennach'rib[Y] y Brenhin
Yn y demel ar ei ddeu-lin,
Fe ddaeth angau ac a'i lladdwys;
Ofnwch angau yn yr Eglwys.

59.

Fe roes angau frath i Zimri,
Wrth gyd-orwedd gyd â Chosbi:[Z]
Gochel dithau wrth butteinia,
Rhag i'r angau glas dy ddala.

60.

'Nyn[A] dy lamp, a gwisg dy drwsiad,
Cyn del angau'n agos attat:
Gwna dy gyfrif oll yn barod,
Cyn dy alw o flaen y Drindod.

61.

Bydd di barod, heddyw, heno,
Ag oyl[B] i'th lamp, a'th wisg yn gryno,[C]
I fyn'd o flaen dy Farnwr prudd,
Y foru o bossibl ydyw'r dydd.

62.

Nid ŵyr Peder, ni ŵyr Pawl,
Ni ŵyr angau, ni ŵyr diawl,
Ni ŵyr Planed,[D] ni ŵyr dyn,
Na neb o'n hawr ond Duw ei hun.

63.

'Rhyd dydd, 'rhyd nos, yn glaf, yn iach,
Ar fôr a thir, yn fawr, yn fach, [barod,
Mewn tref a gwlad, bawb byddwch
Ni wyddis b'le y cawn ni'r ddyrnod.

64.

Gweithiwch bawb tro'r dydd yn para,
Cyn cotto'r haul crynhowch y Manna:[E]
Derbyniwch ras tr'o Duw'n ei gynnyg,
Par'towch eich rhaid cyn delo'r diffyg.

65.

Cyn colli'r gol,[F] cyn delo'r nos,
Cyn torri'r pren, cyn cwympo i'r ffos:
Cyn cau y porth, cyn myn'd i'r garn,[G]
Cyn canu'r corn, cyn rhoddi'r farn.

66.

Rhed am dy chwyth,[H] gwna waith dy
Dduw,
Dwg ffrwyth yn rhîn[I] o'r goreu'i ryw,
Dos chwip[J] i'r wledd a'th wisg yn
Cais dy gyfraid cyn ymado. [gryno,

[K] *Carouse*, gloddesta, yfed yn helaeth Dan. 5. 30. [L] Act. 12. 23. [M] Grym, gwroldor. [N] 1 Bren. 22. 34. [O] "Yn dy *Goach*, ymgadw dithau."—S. Hughes. [P] *Murderer*, llofrudd, lleiddiad. [Q] *Parlour*, ystafell i ymddiddan. Barn. 3. 21. [R] Tra fyddech. [S] Y gŵr goludog. Luc 16. 22. [T] Cybydd. [U] Adeiladu. [V] Luc 12. 20. [W] "Gŵr gwladaidd cyfoethog."—S. Hughes. [X] Lev. 10. 1, 2. [Y] Brenhin Assyria. Esay 37. 38. [Z] Num. 25. 8. [A] Ennyna. [B] *Oil*, olew. [C] "Yn gyfrdo."—S. Hughes. Sylwyd ar y pennill hwn o'r blaen yn y gwaith. [D] Cymmer rhai arnynt ragfynegi amser marwolaeth oddiwrth y planedau; ond gwaherddid y gelfyddyd hon yn yr Ysgrythyr. Deut. 18. 10, 14. [E] Exod. 16. 21. [F] *Goal*, pen draw i'r yrfa, lle yr ennillir y gamp. [G] I'r bedd; cyfodid carnau ar feddau yn yr hen amser. [H] Einioes, bywyd. [I] Yn rhinweddol. [J] Ar frys.

### CVII.—AR Y FLWYDDYN MDCXXIX, PAN OEDD Y LLAFUR NEU'R YD YN AFIACHUS O HERWYDD LLAWER O WLAW.

1 Duw Frenhin trugarog,
Duw Dad Hollalluog,
Duw Porthwr newynog,
Na newyna ni,
Sy'n canlyn[A] dy ffafar[B]
A chalon edifar,
Ar ol dy hir watwar a'th siommi.

2 Er mwyn dy drugaredd
Anfeidrol a'th fawredd,
Er mwyn dy wir 'Tifedd,
O dofa dy lid;
Gwrando di'n gweddi,
Gan faddeu'n drwg-nwydi,[C]
A chymmhorth ein tlodi a'n hadfyd.

3 Ni a bech'som yn d'erbyn
Yn daran esgymmun,[D]
Nes tynnu hir newyn
A niwed i'n plith;
Ac amryw ddialau
Sy'n gryddfu[E] 'n calonnau,
Heb allael hir odde' dy felldith.

4 Ni a dor'som dy gyfraith,
Oedd gyfion a pherffaith,
Do, lawer can-waith
Cyn codi o'r man;
Fel rhai a f'ai 'n tybiaid
Na b'ai gennyt lygaid,
I ganfod fileiniaid[F] mor aflan.

5 Dy enw a gablasom,
Dy air a gasasom,
Dy efengyl droedasom
Yn ddibris tan dra'd;
Dy Sabbath halogwyd,
Dy demel adawyd,
Dy grefydd a lygrwyd yn irad.[G]

6 Ni a dor'som dy ddeddfau,
Fel pobol a dybiau
Na ddeuai dialau
Am ddilyn ffordd ddrwg;
Neu rai a f'ai 'n credu
Na b'ai gennyt allu,
I'n cospi am bechu yn gynddrwg.

7 Pan heliaist genhadon
I ddangos ein beion,[H]
A'n troi i'r ffordd union
Yn dirion, yn da'r:
Ni a gausom ein clustiau
Rhag clywed eu geiriau,
Fel neidr a fyddai yn fyddar.[I]

8 Gyrraist dy weision
I'n gwa'dd ni, rai deillion,
I'th swpper yn dirion,
I dario[J] 'n dy lŷs.
Ni a ball'som a dwad,[K]
Ni droisom i'r farchnad,
A'n fferem,[L] yn anllad anhappus.[M]

9 Ni fynnwn o'r manna,
Ni thrig yn ein cylla,
Ni charwn ni o'r bara
A bery dros byth;
Ond garlleg ac wyniwn,
A phanas a phompiwn,[N]
Fel twichod[O] a garwn ni'n aruthr'.[P]

10 Ni fynnwn ni o'r 'fengyl,
Sy'n cnoi[Q] ni mor rhugyl,
Ni a drown ein gwegil
At hon lawer gwaith,
Ni chaiff hi'n ceryddu,
Na'n dangos na'n dysgu, [waith.
Mae'n draws yn gwrth'nebu ein drwg-

11 Nis gadwn i'r 'Sgrythyr
Reoli'n drwg natur,
Na'th gyfraith gymmesur
Gymhwyso mo'r traws;[R]
Ond byw wrth ein ffansi,
A'n trachwant a'n gwegi,
Heb fynnu rheoli ein drwg-naws.

12 Gan hynny waith troedo[S]
Dy gyfraith a'i gado,
Ni aethom ar ddidro,
Nid didrangc[U] gwae ni,
Fel defaid a redai
O'r llafur i'r ffaldau,[V]
Ar ol llanw eu boliau, i boeni.

[A] Deisyf, ceisio. [B] *Favour*, trugaredd, ewyllys da. [C] Nwydau neu gynneddfau drwg. [D] Yn dra ysgeler. [E] Poeni, gofidio. [F] *Villains*, dynion drygionus. [G] Yn erchyll, yn dost. [H] Beiau. [I] Psalm 58. 4. [J] *Tarry*, trigo, aros. [K] Dyfod. [L] *Farm*, tyddyn. [M] Mat. 22. 5. Luc 14. 18—20. [N] Enwau llysiau. Num. 11. 5, 6. [O] Moch. [P] Aruthr, rhyfeddol. [Q] Argyhoeddi. [R] Gwrthwynebus, cyfeiliornus. [S] *Fancy*, meddwl, mympwy. [T] Sathru. [U] "Ar ddidro yn ddidrangc."—S. Hughes. [V] *Folds*, corlanau i gadw y defaid crwydredig.

13 Mae'n gloddest a'n traha,
Fel mawrddrwg Gomorrah,
Yn llefain am wasgfa,
I wasgu ar ein cest;[W]
Ni thaw byth o'n penau,
Nes delo dialau,
I wasgu ar ein cryliau[X] â dirwest.[Y]

14 Mae pob gradd o ddynion,
Yn fychain, yn fawrion,
Yn pechu yn greulon
Yn erbyn dy Grist,
Fel pobol wrth raffau,
A dynnai ddialau,
O'r nef am ein pennau, yn athrist.

15 Mae'r 'ffeiriad yn gadu,
Dy bobol i bechu,
Heb geisio eu nadu[Z]
I uffern ar naid;
A'r un ag a geisio,
A'r 'fengyl eu rhwystro,
Fe gaiff ei anfrio[A] yn ddiriaid.

16 Mae'n parchus reolwyr,
(Och! Dduw), yn rhy segur,
Yn goddef troseddwyr,
I drist soddi'r wlad,
Heb gospi â'r cledde'
Na'r bobol na'r beiau,
Sy'n damsing[B] dy ddeddfau mor irad.

17 Mae'r bobol gyffredin,
Fel Israel heb frenhin,
Na 'ffeiriad i'w meithrin,
Na phrophwyd 'roi maeth,
Yn byw yn anhywaith,
Fel pobol heb gyfraith,
Heb grefydd, heb obaith, ysowaith.

18 Mae'n rheibus swyddogion
Yn 'speilio rhai gwirion,
Yn ewnach[C] na'r lladron
(Llwyr edrych ar hyn)
A'r carliaid[D] yn bwytta
Y tlodion fel bara,
Neu'r morfil a lynca'r 'sgadenyn.

19 Mae'r gweision cyflogau
A'r hurwyr[E] yn chwarau,
Mae'r gweithwyr yn eiste',
Heb ostwng eu pen,
Yn tordaen,[F] yn blino,
Heb fynnu mo'r gweithio,
Nes delych i'w pricco[G] âg angen.

20 Mae'r tanner[H] a'r twccwr,[I]
A'r bacer[J] a'r bwtsiwr,[K]
Gweydd, gôf, a thaeliwr,[L]
A thiler,[M] a chrydd,
A'r hwsmyn,[N] a'r crefftwyr,
A'r diffrwyth uchelwyr,
Yn myn'd yn dafarnwyr digrefydd.

21 Mae'r gwragedd yn gado
Eu nyddiad a'u cribo,
Eu gwauad, a'u gwnio,
I dwymo dw'r,
Gwerthasant eu rhodau,
A'u cyffion, a'u cribau,
I brynu costrelau tafarnwr.

22 Mae'r mwrddrwr, a'r gwibiad,[O]
A'r bawdy cnaf[P] anllad,
A'r lleidr, y gwilliad
A'r offeiriad ffol,
A Shini a Shangco,
A lisens i wttro,[Q]
Bur,[R] cwrw, tobacco, heb reol.

23 Pe ceisiau y cythraul,
Neu'i fam godi capel,
Wrth ochr dy demel,
Er dimmai'n y dydd,
I gadw tafarndy
Cyhoeddus yng Nghymru,
Fe gai ei genhadu yn ufudd.

24 Duw tyred o'th arfer,
A chynghor ar fyrder,
Torr lawer o'r nifer,
Sy'n 'nafu'r byd,
Cyn bwytt'ont eu gilydd,
Cyn 'nafont y gwledydd,
Cyn llygront dy lân-grefydd hyfryd.

26 Mae'r gweision mor ddainti[S]
Na fynnant hwy gorphi[T]
Ond gwyn fara'u meistri,
Neu fustro[U] a wnat,
A'r merched ar gyflog,
Ond odid yn feichiog,
Am fod yn rhy wresog meddant.

[W] *Chest*, cylla. [X] Boliau. [Y] Ympryd, prinder, ymborth. [Z] Attal, rhwystro. [A] Difrio, ammharchu. [B] Damsang, sathru. [C] Eofnach, mwy hyf. [D] *Curls*, cybyddion. [B] Rhai yn gweithio ar hir, (*hire.*) [F] Gorwedd. [G] *Prick*, pigo. [H] *Tanner*, cyffeithydd neu driniwr crwyn, barcer. [I] *Tucker*, brethynwr, pannwr. [J] *Baker*, pobydd bara. [K] *Butcher*, cigydd. [L] *Tailor*, dilledydd. [M] *Tiler*, towr â llechau. [N] *Husbandmen*, llafurwyr, tyddynwyr. [O] Crwydryn. [P] *Brawdy knave*, trythyll-ddyn diras. [Q] *License to utter*, cennad i werthu. [R] *Beer*, diod gadarn. [S] *Dainty*, moethus. [T] Cymmeryd i'w cyrph. [U] *Muster*, terfysgu, cadw ystwr.

26 Mae pob rhyw o alwad
Yn ddibris am danad,
Yn ceisio eu codiad
A'u cadw eu hun;
Heb geisio d' ogoniant
Di, Arglwydd ein llwyddiant,
Na'th fawr-glod, na'th foliant, na'i 'mofyn.

27 O achos, gan hynny,
Fod pawb yn troseddu,
A phob rhai yn pechu,
A'u buchedd ar draws,
Ti geisiaist trwy fwyndra,
Ac ennyd o wasgfa,
I'n cyffro i wella ein drwg-naws.

28 Yn fwyn ac yn serchog,
Fel Arglwydd trugarog,
A fâi yn dra chwannog
I'n hennill trwy deg,
Ti geisiaist yn dirion,
Trwy amryw fendithion,
Ein tynnu i'r ffordd union, yn loyw-deg.

29 Pan ffaelodd[V] dy fwynder
I wella'n drwg arfer,
Bygythiaist dy gryfder,
A llwmder i'n lladd:
Hogaist dy gleddeu,
Golymmaist dy saethau,
Par'ttoist dy arfau i ymladd.

30 Ond wedi it' ymg'weirio,[W]
Rhoist rybudd cyn clwyfo,
Bygythaist cyn taro,
A'n torri i'r llawr:
Cynnygiaist in' ffafar,
O byddem edifar,
A ninnau'n dy watwar yn ddirfawr.

31 Pan welaist, Dduw cyfion,
Na thycciai bygythion,
Ti yrraist yn llymmion
Dy saethau i'n lladd,
A'n curo, a'n corddi,
A llawer o 'fidi,[X]
Na allem na'u dofi na'u gwrthladd.[Y]

32 Gelwaist dy weision,
Mwstraist[Z] d'angylion,
A'th dri meirch mawrion,
Coch, glas, a du:
A gyrraist hwy'n ddiriaid,
A'r holl greaduriaid,
I'n plago[A] fileiniaid, a'n gryddfu.

33 Rhoist ddu-rew digasog,
Haf poethlyd anffodiog,
Gwynt stormus 'sgethrog,
Yn scathru[B] 'r ŷd,
Llifeiriant i'n soddi,
A'r moroedd i'n boddi,
A chan' rhyw ofidi i'n herlid.

34 Twymynnau cynddeiriog,
Drudaniaeth digasog,
Marwolaeth llym oriog[C]
Mewn llawer man,
A heliaist i'n cyffro,
I brysur[D] repento,[E]
A'n cathrain[F] i'th geisio yn gyfan.

35 Pan gwelaist na allai
Hyn oll o ddialau,
Ein dattroi o'n beiau,
I wella ein byd,
Ti helaist drachefen
Hir newyn a chwarren,[G]
A rhyfel aflawen i'n herlid.

36 Y chwarren a laddodd
Ddiarhebrwydd[H] o filo'dd,
Mewn amryw o leo'dd,
A gormod lid,
Nes llanw'r monwentydd,
A thlodi'r[I] holl drefydd,
Lle gyrraist dy gerydd i'w hymlyd.

37 A'r rhyfel anffodiog
A ddaeth yn ddigasog,
A'r cleddyf yn llidiog,
I'n tlodi a'n lladd;
Nes difa'n rhyfelwyr,
A'n trysor a'n llafur,
A'n hela[J] 'n ddi-gysur i ymladd.

38 Soddaist ein llongau,
Diddymaist ein plotau,[K]
Troist fin ein cleddeu,
Teflaist ni'r clawdd;
Dallaist ein doethion,
Dychrynaist ein dewrion,
Gwerthaist ni i'r cas'ion[L] a'n ceisiawdd.

[V] *Fail*, methu. [W] Ymbarottoi. [X] O ofidiau. [Y] Gwrthwynebu. [Z] *Muster*, galw i ryfel. [A] *Plague*, poenydio. [B] Ysgythru, torri, dryllio. [C] Bob awr. [D] Cyflym, buan. [E] *Repent*, edifarhau. [F] Cymhell. [G] Y pla mawr, am yr hwn y sonia mewn man arall. [H] Nifer dra lluosog. [I] Gwneuthur yn dlawd o ddynion. [J] Gyrru. [K] *Plots*, amcanion, cynlluniau. [L] Gelynion, rhai a'n cashant.

39 Y chwarren a'r cleddy'
Y wnaeth i ni grynu,
A dechreu 'difaru,
Dau foreu neu dri,
A chanlyn[M] a chrïo[N]
Am dynnu'r plag[O] heibio,
Nes iti lwyr wrando ein gweddi.

40 Pan tynnaist y chwarren
A'r rhyfel aflawen,
Ni droesom drachefen,
Dri chufydd i'n hol;
Fel cŵn at eu chwydfa,
I'th ddigio, a'th hela
I'n dofi a'n difa'n anffafriol.[P]

41 Gan hynny di helaist
Y 'stormau a thempest,[Q]
Yng nghanol ein gloddest,
I'n cospi â gwlâw,
Nes 'nafu'n cynhaua',
A defnydd ein bara,
A chospi'n hir draha[R] â chur-wlaw.

42 Tywalltaist dy felldith,
Mor drwm ac mor dryfrith,
Ar farlis[S] a gwenith,
A phob ymborth gŵr,
Fel y gwrth'neba
'Nifeiliaid ei fwytta;
Ni phraw'r cŵn o fara'r llafurwr.

43 Mae'r march yn ffieiddio,
A'r mochyn yn gado
Y llafur sy'n llwydo,
A'r egin yn llawn,
Gan gynddrwg yw relis[T]
Y pilcorn[U] a'r barlis,
A gaed o'r annilys[V] fisgawn.[W]

44 O Arglwydd, ni haedd'som
Dy felldith yn gyfion,
Ar lafur o'r fisgon,
A'r fasged a 'stor,[X]
A newyn a nychdod,
Am hir anufudd-dod,
O ddiffyg it' ragod[Y] ein goror.

45 Ein dirmyg a'n traha
Ar ddiod a bara,
A bair i ni fwytta,
Oni attal Duw,
Y ffacbys a'r callod,[Z]
Ac ymborth 'nifeilod,
A'r crwst[A] ym ni'n wrthod heddyw.

46 Ni fuom yn poeri
Y blawd oedd a rhuddi,[B]
A'r bara a'r pinni,[C]
Ni bwriem o'n pen:
A'r begers[D] mor foethus
Yn teru[E] ar farlis,
Ni phrofent ond cann[F] ys haeachen.[G]

47 Ni fuom yn bwytta
Gormodion o fara,
Fel pobol Gomorrah
'N camarfer eu byd,
Heb ddiolch am dano,
Na swpper na chinio,
Nes ini dy ddigio yn danllyd.

48 Ni fuom yn yfed,
Nes myned cyn dynned,
Na allem ni gerdded,
Na myned o'r man,
Nes arllwys ein ceudod,
Lle'r yf'som y ddiod,
Yn waeth na'r 'nifeilod aflan.

49 Bu deiau'n tafarnau
Yn llawnach y Suliau,
O addolwyr y boliau,
Yn addoli diawl,
Nag oedd ein heglwysydd,
O ddynion o grefydd,
I'th 'ddoli di'n ufudd, Duw nefawl.

50 Tair-gwaith o leia',
Y llanwn ni'r bola,
Bob dydd pan bo byrra,
Gan bori ein bwyd,
Prin mewn chwe' diau,[H]
Y cofiwn ni dithau,
Am lanw ein cryliau â bras-fwyd.

51 Ni flinwn yn ebrwydd
Yn d' eglwys, O Arglwydd,
Er maint yw ein haflwydd,
A'n hoffyd dra:[I]
Ni flinwn ni'n aros,
Mewn tafarn dros wythnos,
Er oered o'r hir-nos aua'.

[M] Erfyn, gweddïo. [N] *Cry*, llefain. [O] *Plague*, pla. [P] *Unfavourable*, anfoddlon, llidiog. [Q] *Tempest*, tymhestl. [R] Balchder, annuwioldeb. [S] *Barley*, haidd. [T] *Relish*, blas. [U] *Peeled corn*, ŷd wedi dechreu ei falu, sil-ŷd. [V] Llaith, pwdr. [W] Carn o ysgubau. [X] *Store*, gweddill heb ei ddefnyddio. [Y] Ymddiffyn. [Z] Cibau, codau pys. [A] Crofen, bara sych. [B] Wedi twymno, neu grasu yn ormodol. "Rhydi." (a rhwd arno.)—S. Hughes. [C] Wedi lleithio. [D] *Beggars*, Cardottwyr. [E] Gommedd, cymmeryd. [F] Blawd gwenith. [G] Braidd, yn agos. [H] Dyddiau. [I] Balchder ffiaidd.

52 Fe yf un cyn cinio,
O fir[J] a thobacco,
Faint a ddigono
Ddeugein-nyn ar bryd;
Fe'i chwyda drachefen,
Gan dynned ei botten,
Heb feddwl am angen a gofid.

53 Mae'n meddwdod yn crïo,
Am newyn i'n pigo,
Mae'n gloddest yn ceisio
Dwyn prinder i'n cell,
Mae'n afrad ysowaeth,
Yn gofyn drudaniaeth,
A hir-bryd trwy hiraeth i'n cawell.

54 Yn gyfiawn, gan hynny,
O Arglwydd, ti elli,
A newyn ein gryddfu
Am wrthod gras,
A thorri, a difa
Cynhaliaeth ein bara,
A pheri in' fwytta ein carcas.[K]

55 Ond, Arglwydd trugarog,
Er mwyn dy Eneiniog,
Na ddanfon yn llidiog
Hir newyn i'n lladd;
Na nychdod i'n gryddfu,
Na phlag i'n difethu,
Na rhyfel, na chleddy' i'n gwrthladd.

56 Ond maddeu yn rasol,
Ein trawsedd angyriol,[L]
Na wna ni yn siompol,[M]
I bobol y byd,
Ond arbed ni'n dirion,
A gwella'n harferion,
A newid ein ffinion[N] fywyd.

57 Nac edrych, Dad cyfion,
Ar drosedd dy weision,
Na'n beiau mawrion,
I'n lladd gan eu maint;
Ond edrych yn hyfryd,
Ar angau dy Anwylyd,
I ddofi dy danllyd ddigofaint.

58 Er mwyn ei rhinweddau,
A'i fywyd a'i angau,
A'i 'fudd-dod a'i wyrthiau,
A'i werthfawr wa'd,
Maddeu i ni baswys,[O]
Tro ni i'r ffordd gymmwys,
A chadw ni yn d' eglwys yn wastad.

59 Golch ein pechodau,
Yng ngwaed dy welïau,[P]
Croeshoelia ein beiau
Yn grugiau ar dy groes,
Rhwyga'n 'bligasiwn,[Q]
A dyro i ni bardwn,[R]
Er mwyn dy ddrud bassiwn[S] a'th hir-loes.

60 Na alw ni i gyfri',
Am dan ein drygioni,
Na ddere i'n cospi,
Am ein gwegi a'n gwaith;
Ond arbed dy weision,
Er mwyn dy Fab gwirion,
A'th wnaeth yn dra boddlon unwaith.

61 A danfon dy Yspryd,
I wella'n drwg fywyd,
A'n helpu i ddychwelyd,
A chalon iach:
I'th gywir was'naethu,
A'th ofni a'th garu,
A'n rhwystro i bechu dim mwyach.

62 Duw, attal dy wialen,
Dad-ddigia drachefen,
Tro d' wyneb yn llawen,
Nâ'd newyn i'n lladd,
Maddeu'n troseddau,
Gwir wella'n drwg nwydau,
Sancteiddia'r calonau sy'n d' wrthladd.[T]

63 Duw, gwella di'r tywydd,
Bendithia di'r maesydd,
Tro'n tristwch yn wenydd,[U]
Na newyna ni;
Rho râd[V] ar y fisgawn,
Gwna'r farchnad yn gyflawn,
Diwalla ni â'th radlawn ddaioni.

64 Rho ymborth i'r Cristion,
Rho ogor[W] i'r eidion,
Rho'r 'fengyl i'r gwirion
A garo'r gair;
Rho heddwch i'r deyrnas,
Ac iechyd ac urddas,
I'n pen-llywydd Charlas[X] ddiwair.

[J] *Beer*, cwrw. [K] *Carcase*, burgyn, corph marw. "Ein cnawd."—S. Hughes. [L] Erchyll, rhyfedd. [M] *Example*, siampl, rhybudd. [N] Ffiaidd, atgas. [O] A basiodd, a aeth heibio. [P] Clwyfau. [Q] *Obligation*, rhwymedigaeth am ddyled. [R] *Pardon*, maddeuant. [S] *Passion*, dioddefaint. [T] Gwrthwynebu. [U] Llawenydd. [V] Bendith. [W] Gogawr, ymborth anifeilaidd. [X] Charles y cyntaf, brenhin Lloegr.

65 Mil, chwe'-chant ac ugain,
A naw mlynedd cywrain,
Medd holl ddoethion Brydain,
Oedd oedran ein Brawd,
A'n prynwr, a'n Ceidwad,
Pan gwympodd y gawad,[Y]
Y lanwodd y farchnad â chwyd-[flawd.[Z]

## CVIII.—Ynghylch cynhauaf gwlyb.[A]

1 RHEOLWR y nefoedd,
A'r ddaear, a'r moroedd,
A'r tywydd, a'r gwyntoedd,
A'r glynnoedd, a'r gwlaw,
Clyw gwynfan tosturiol,
Ac achwyn dy bobol,
Gan dywydd dryg-hinol a hir-wlaw.

2 Mae'r gwynt, y mae'r tonnau,
Mae'r gwlaw a'r dialau,
A'r ser yn eu graddau,[B]
A'r nefoedd yn grych,
Yn ymladd i'n herbyn,
Droseddwyr escymmun,
I'n plago[C] â newyn yn fynych.

3 Mae'r haul oedd i'n porthi,
A gwres a goleuni,
Yn awr gwedi sorri,[D]
Yn edrych yn sur,
Gan ballu rhoi twymder,
A gwres wrth ei arfer,
Nes pydru'r naill hanner o'n llafur.[E]

4 Mae'r lleuad yn mwrno,[F]
Fel gwraig a fai'n wylo,
Bob nos mae yn ymguddio
Mewn cwmmwl o'r gŵydd,
I ollwng ei deigrau,
Gan amled o'n[G] beiau,
Nes soddi'r llafuriau âg aflwydd.

5 Mae'r tonnau cynddeiriog,
A'r wybren gafodog,
A'r cym'lau gwlyborog,
Yn gwlawio bob awr,
Afonydd o ddrwg-fyd,
Gan gynddrwg o'n bywyd,
I'n plago âg adfyd yn ddirfawr.

6 Mae'r ormes[H] yn sathru
Y llafur sy'n tyfu,
Mae'r gwynt yn cawdelu[I]
A dalo o frig,
Nes iddo ddihidlo,[J]
A mallu,[K] egino,
Gan wlaw yn ei guro yn gyrnig.[L]

7 Mae'r llafur s'eb fedi,
Yn barod i golli,
Heb dywydd i'w dorri,
Na'i daro ynghyd,
Mewn cyflwr anhygar,
Duw moes in' dy ffafar,[M]
I'w gwnnu[N] o'r ddaear sopaslyd.[O]

8 Mae'r maint sy'n ei helem,
Fel gwellt yn y dommen,
Yn ddigon anghymmen,
Yn nghwmman[P] y dâs,
Yn twymo, yn mygu,
Yn llwydo, yn mallu,
A chwedi llwyr bydru o gwmpas.

9 Mae'r maint sy'n y 'sgubor,
Gogyfer a goror,[Q]
Yn twymo heb gynghor,
Yn mygu heb gel;
Yn barod i 'nynnu,[R]
Mab Duw dere i'n helpu,
A nâ'd di lwyr fethu ein trafael.[S]

10 A'r maint sydd ar feder
Ein ciniо a'n swpper,
Sydd gynddrwg ei biner,[T]
A'i dymmer mor dost;
Ac oni chawn gennyd,
Duw grasol, gyf'rwyddyd,
Fe'n plagir ni âg adfyd hir-dost.

11 Agor dy lygad,
O Arglwydd ein Ceidwad,
A chenfydd mor irad,[U]
It' weled mor hyll,
Holl ymborth Crist'nogion,
Yn pydru mor ffinion,[V]
O eisiau cael hinon[W] i'w gynnull.

[Y] Cafod, gwlybaniaeth. [Z] Blawd gwrthwynebus i'r cylla. "A chwd-flawd," yn yr hen argraphiadau.

[A] Oddiwrth argraphiad S. Hughes, gellir casglu mai at yr un cynhauaf y cyfeiria y Fleer yn y Gân hon a'r un flaenorol; oblegid geilw hi, "Cân arall ynghylch y cynhauaf gwlyb;" ac y mae ynddi ral pennillion yr un peth ag yn y llall. [B] Barn. 5. 20. [C] *Plague*, poeni, cospi. [D] Digio. [E] Yd. [F] *Mourn*, galaru. [G] Yw ein. [H] Gorthrymder. [I] Cymmysgu. [J] Syrthio i'r llawr. [K] Pydru. [L] "Yn ffyrnig," yn yr hen argraphiadau. [M] *Favour*, tiriondeb, caredigrwydd. [N] Cyfodi. [O] Gwlyb iawn. [P] Bôn, godre, gwaelod. [Q] Bwyd anifeiliaid. [R] I fyned ar dân. [S] *Travail*, llafur, trafferth. [T] Ansawdd, cyflwr. [U] Tosturus. [V] Brwnt, ffiaidd. [W] Tywydd teg.

12 Duw grasol tosturia,
Difwynodd ein bara,
(Hir nychdod a faga
Dan fogail dy blant;)
O ddiffyg it 'i rwystro,
A'i ddyfal fendithio,
A rhoddi rhad arno a llwyddiant.

13 Duw, beth a feddyliwn,
Am had-ŷd y gwanw'n,
O ba le y ceisiwn,
Os cawn ni fyw cy'd?
Mae pawb yn achwyngar,
Ddifwyno eu holl heiniar,[X]
Duw, dangos dy ffafar am had-ŷd.

14 Duw grasol tosturia,
Wrth ddefaid dy borfa,
Na thorr ffon[Y] ein bara,
I beri i ni boen;
Maddeu'n troseddau,
Gwella'n drwg nwydau,
Cysura'n calonnau di-hoen.[Z]

15 Gorchymyn i'r haul-wen
Ymddangos drachefen,
Gwna'r lleuad a'r seren
Yn siriol i'th saint,
Rho hinon a chysur,
I'r poenfawr lafurwyr,
A dofa dy brysur ddigofaint.

16 Rhwylla'r[A] wybrennau,
Gwasgara'r cymylau,
Cerydda'r cawadau,
Cu[B] ydwyd a rhwydd;
Gostega'r dost ormes,
Rho degwch a chras-des,
I'r llafur anghynnes, Arglwydd.

17 Ond yma, Duw'r gallu,
'Rwy'n brudd yn cyffesu,[C]
Mae'n pechod yn tynnu
'R fath ddial ar ein traws,
A'th stormydd anrasol,
A'r tywydd dryghinol,
I'n cospi dy bobol rhy-draws.

18 Ti lenwaist ein boliau,
Mor gyflawn â'th ddoniau,
Na chodem o'n heiste'
I ostwng ein glin,
I roddi it' foliant,
Na chlod am ein porthiant,
Nes tynnu aflwyddiant i'n dilyn.

19 Yr eidion a'r asen
A edwyn eu perchen,[D]
A'r ci fydd llawen,
Wrth ei borthi[E] a llaeth;
Ond pobol ddi-wybod
Ni fynnant gydnabod,
Nac adde' mo'r Drindod eu Tad-maeth.

20 Tair-gwaith o leia'
Y gwas'naethwn ni'r bola,
Bob dydd pan bo byrra',
Gan bori ein bwyd;
Ond prin mewn saith dyddiau
Y cofiwn ni dithau,
Sy'n llanw ein boliau â bras-fwyd.

21 Yr wyt yn ein porthi
Ag amryw ddaioni,
Fel un a fai'n pesgi[F]
Pascwch[G] yn rhin;
Ni chodwn ein pennau
I wel'd, mwy nag yntau,
O ble mae'r fath ddoniau yn disgyn.

22 Gan hynny ti yrraist
Y storom a thempest,[H]
I gospi ein gloddest
A dryg-hin a gwlaw;
I beri i ni 'nabod,
A gweled mai'r Drindod
Sy'n porthi ni'n wastod[I] a'i ddwylaw.

23 Er maint o'r dialau
A roist am ein pennau,
I gospi ein beiau,
Gan gynddrwg y'm yn byw;
Ni buom er y conquest,[J]
Yn byw mor anonest,
A chymmaint ein gloddest[K] ag heddyw.

24 A'r storom yn chwythu,
A'r gwlaw yn ein gryddfu,[L]
A'r llafur yn pydru
Heb adrodd ond gwir,
Yn nheiau'r tafarnau,
Yn chwydu ar Suliau,
A'th gablu 'rym ninnau, rai anwir.

[X] Yd, cynnyrch y maes. [Y] Esay 3. 1. [Z] Di-lawenydd. [A] Agor, rhwygo. [B] Cariadus. [C] *Confess*, addef. [D] Esay 1. 3. [E] "Ei porthi," (yr hwn a'i portho.)—S. Hughes. [F] *Pasco*, (Lladin,) porthi, bwyda. [G] Pasg-hwch, hwch basgedig, mochyn tew. [H] *Tempest*, tymhestl. [I] Yn wastadol, yn barhaus. [J] *Conquest*, goresgyniad—er yr amser y goresgynwyd Lloegr gan William, Dug Normandy, yn y flwyddyn 1066. [K] Gwastraff, anghymmedroldeb. [L] Poeni, gofidio.

25 Pan ddylem weddïo,
A phrysur repento,[M]
Mewn llwch, ac ymgreinio[N]
Am bardwn[O] a gras,
A'th gywir was'naethu,
'Roe'm[P] ninnau'n dy gablu,
A'th rwygo a'th regu yn ddiras.

26 Pa fwynaf y ceisid
Ein troi a'n dychwelyd,
I wella ein bywyd,
A 'madael â'n bai;
Waeth-waeth y pechem
Fwy-fwy y'th ddigiem,
Saith bellach y ciliem ninnau.

27 Pa fwya' o ddialau
A roid am ein pennau,
Bid newyn, bid cleddeu,
Bid clefyd, bid gwlaw;
Fwy-fwy, fel Pharao,
Yr ym yn dy gyffro,
I'n poeni a'n plagio â hir-wlaw.

28 Nid rhyfedd, gan hynny,
Dy fod yn ein maeddu,
Gan ddwblu a threblu[Q]
Ein maethgen â thrwst;
Ond mwy o ryfeddod,
Na roit i ni ddyrnod,
A'n taflu i'r pwll isod yn ddi-drwst.[R]

29 Duw, maddeu'n 'styfnigrwydd,
Duw dofa'th lidiawgrwydd,
Tynn ymaith ein gw'radwydd,
A'n haflwydd hir;
Rho ras i ni fedru
Fel Ninif'[S] ddifaru,
A'th ddyfal was'naethu yn gywir.

30 [T]Duw, gwella di'r tywydd,
Bendithia di'r maesydd,
Tro'n tristwch yn wenydd,
Na newyna ni;
Rho râd ar y fisgawn,
Gwna'r farchnad yn gyflawn,
Diwalla ni â'th radlawn ddaioni.

31 Duw attal dy wialen,
Dad-ddigia drachefen,
Tro d'wyneb yn llawen,
N'âd newyn i'n lladd;
Maddeu'n troseddau,
Gwir wella'n drwgnwydau,[ladd.[U]
Sancteiddia'r calonnau sy'n d'wrth-

## CIX.—Byr yw oes Dyn.

1.

FEL gwennol[A] Job mae'n hoes yn llithro,
Fel rhosyn Dafydd[B] mae hi'n gwywo,
Fel gyrfa Paul[C] y mae'n diweddu,
Fel bwmbwl[D] Iago mae'n diffoddi.[E]

2.

Fel canwyll gŵyr mae'n hoes yn treulio
Fel llong dan hwyl mae'n myned heibio
Fel post[F] dan sawd[G] mae'n pedwarcarnu,[H]
Fel cysgod cwmmwl mae'n diflannu.

3.

Gwan yw'n tai,[I] a chryf yw'n gelyn,
Byrr yw'n terem,[J] siwr[K] yw'n terfyn,
Ansertennol[L] yw 'i ddyfodiad;
Byddwn barod yn ei wyliad.[M]

## CX.—Rhybudd i Gymru i edifarhau,

YNGHYLCH YR AMSER YR OEDD Y CHWARREN FAWR YN LLUNDAIN.[A]

1.

CYMRU, Cymru, mwrna,[B] mwrna,
Gad dy bechod, gwella, gwella,
Rhag i'th bechod dynnu dial,
A digofaint Duw i'th ardal.

2.

Mae dy bechod wedi dringad
Cuwch a'r nef, yn crïo'n[C] irad,[D]
Am ddialau ar dy goppa,
Megis Sodom a Gommorah.

[M] *Repent*, edifarhau. [N] Ymdreiglo ar y llawr. [O] *Pardon*, maddeuant. [P] Yr oeddem. [Q] *Double and treble*, ychwanegu ddwy a thair gwaith. [R] Heb rybudd. [S] Ninefeh. Jonah 3. 5. [T] Ni ailadroddir y ddau bennill canlynol yn argraphiad T. Durston, ond rhoddir hwynt yn eiddo Stephen Hughes. [U] Gwrthwynebu.

[A] Gwennol gwehydd. Job 7. 6. [B] Psalm 90. 5, 6. a 103. 15. [C] 2 Tim. 4. 7. [D] *Bubble*, cloch ddwfr. [E] Iago 4. 14. [F] *Post*, rhedegwr, cennad brysiog. [G] Ar ei neges: [H] Carlammu. [I] Job 4. 19. [J] *Term*, amser pennodedig. [K] *Sure*, sicr. [L] *Uncertain*, ansicr. [M] Gwilio, disgwyl.

[A] Tebygol mai y pla mawr, yn y flwyddyn 1625, a feddylir, o'r hwn y trengodd dros bymtheg mil ar hugain o drigolion Llundain; dychrynfeydd yr hwn a ddarlunir gan y Ficer mewn modd tra chyffrous, yn y Gân hon a'r un ganlynol. [B] *Mourn*, galaru, ymofidio; gwisgo arwyddion galar. [C] *Cry* llefain, gwaeddi. [D] Yn ddychrynllyd.

3.
Mae e'n gwaeddi nos a borau,
Fel gwaed Abel,[E] am ddialau,
Nid oes dim a stoppa[F] ei safan,
Ond plag[G] Duw, neu wella'n fuan.

4.
Mae e' gwedi 'nurddo'r[H] ddaear,
Fel pechodau'r cewri cynnar;[I]
Ac yn gofyn dy ddysgubo
Oddi arni neu repento.[J]

5.
Nid oes cornel mwy na Ninif',
Na bo llawn o feiau aneirif;
Na chrach bentref, na bo pechod,
Yn swrdanu[K] clustiau'r Drindod.

6.
Nid oes unrhyw radd na galwad,
Na bo gwedi ymlygru'n irad,
Ac yn tynnu, fel wrth reffyn,
Blag a dial ar dy gobyn.[L]

7.
Mae'r pennaethiaid bob yr un,
Yn ceisio'u mawl a'u lles eu hun;
Ac heb ymgais am wir grefydd,
Moliant Duw, na lles y gwledydd.

8.
Mae dy 'ffeiriaid hwyntau'n[M] cysgu,
Ac yn gado'r bobol bechu;
Ac i fyw y modd y mynnon',
Heb na cherydd na chynghorion.

9.
Mae dy farnwyr, a'th wyr mawrion,
Yn cyd-ddwyn â mwrddwyr, meddwon;
Ac yn goddef treiswyr diriaid,
'Speilio'r gweddwon a'r ymddifaid.

10.
Mae'r swyddogion hwyntau'n godde',
Cablu Duw a meddwi'r Suliau,
Troedio'r[N] 'fengyl, casau'r cymmun,
Heb na chosp na cherydd arnyn'.

11.
Mae'r sheriffaid,[O] a'u debidion,[P]
Yn anrheithio'r bobol wirion;
Ac wrth rym eu braint a'u swyddau,
Yn eu speilio liw dydd goleu.

12.
Mae'r cyfoethog hwyntau'n llyngcu
Faint sy'n helw'r tlawd yng Nghymru,
Ac wrth rentu'n[Q] dost, ac occra,[R]
Yn eu gyrru hwy'i gardotta.

13.
Mae'r cyffredin o bob rhyw,
Yn gwneud'n ffalst,[S] yn digio Duw:
Ynddall, yn ddwl, heb fynnu eu dysgu,
Yn myn'd i'r pwll, heb oddeu nadu.[T]

14.
Mae pob gradd yn pechu'n rhugyl,
Ac heb wneuthur pris o'r 'fengyl,
Nac o gyfraith Duw gorucha',
Yn addoli'r byd a'r bola.

15.
Mae pob gradd, â rhaffau pechod,
Yn dirdynnu[U] dial hynod,
Am eu pennau heb dosturi,
Oni thront oddiwrth eu brynti.

16.
Mae'r fath feddwdod, mae'r fath dyngu,
Mae'r fath gamwedd ynot Cymru,
A'r fath wan-gred, a gau-dduwiaeth,
Na bu 'nghred[V] o'i sut[W] ysywaeth.

17.
Mae'r Duw cyfion yntau'n canfod
Drwg ymddygiad pawb a'u pechod,
Ac yn rhwym wrth swydd a natur,
'Ddial ar y fath droseddwyr.

18.
Er ys dyddiau mae'n ymhwedd,[X]
A'th holl blant am wella'u buchedd:
Eisiau gwella, mae'n bwriadu,
Weithian ddial camwedd Cymru.

19.
Duw a'th ddododd yn y taflau,[Y]
Duw a'th gafodd lai na phwysau;
Duw a fyn roi maethgen[Z] iti,
Oni throi oddiwrth dy frynti.

20.
Eisiau i Gymru gym'ryd rhybudd,
Oddiwrth Loegr a'i holl gystudd,
Mae gwialen gwedi'i gwlychu,
Yn y sicc[A] ar feder Cymru.

21.
Y mae plâg, yn ol dy bechod,
Gwedi'i lunio gan y Drindod;
Ac yn barod ddyfod attat,
O waith cynddrwg yw'th ymddygiad.

22.
Y mae'n crogi uwch dy gobyn,
Ddydd a nos, fel wrth edefyn,
Ac yn barod iawn i syrthio,
Oni throi di a repento.

[E] Gen. 4. 10. [F] *Stop*, cau, attal. [G] *Plague*, haint, pla. [H] Halogi. [I] Gen. pen. 6. [J] *Repent*, edifarhau. [K] Syfrdanu. [L] Ar dy goppa, ar dy ben. [M] Hwythau. [N] Sathru, dirmygu. [O] *Sheriffs*, siryddion, prif swyddogion y brenhin mewn siroedd. [P] *Deputies*, dirprwywyr, rhai yn gweinyddu dros y siryddion. [Q] Rent, gosod ar ardreth. [R] Cyfodi llôg anghyfreithlon. [S] *False*, twyllodrus. [T] Attal, rhwystro. [U] Tynnu, yn egniol. [V] Y gwledydd lle y proffesir Cristionogaeth. [W] Ei fath. [X] Ymbil, erfyn yn daer. [Y] Cloriannau. [Z] Cerydd, cosp. [A] Trwyth, lleisw sur,—y mae y flangell wedi ei darparu.

23.
Yr wyt tithau yn pentyrru
Plâg ar blâg, heb edifaru,
Ac yn cam-arferu'n rhyfedd
Ffafar[B] Duw, a hir amynedd.

24.
'Rwyt ti beunydd yn myn'd waeth-waeth,
Ac yn pechu fwy-fwy 'sowaeth ;[C]
'Rwyt ti'n tybied fod Duw'n cysgu,
Tra'n dy gathrain[D] i ddifaru!

25.
'Rwyt ti'n hwrnu[E] yn dy bechod,
Heb ystyried, na chydnabod,
Fod Duw'n hogi'n llym ei gleddeu,
Tr'ech[F] di' hepian ar dy feiau.

26.
Hir yr erys Duw heb daro,
Llwyr y dial pan y delo;
Am yr echwyn ar hir scori,[G]
Och! fe dal ar unwaith iti.

27.
Lle bo Duw yn hir yn oedi,
Heb rhoi dial am ddrygioni;
Trymma'i gyd y fydd ei ddyrnod,
Pan y del i ddial pechod.

28.
Gochel dithau ddial Duw,
Fe ddaw ar frys, er llaesed[H] yw,
A'i droed o wlan, a'i ddwrn o blwm,
I'th daro yn ymwngc[I] ac yn drwm.

29.
Gad dy bechod, dal dy law,
Dial Duw fel bollt[J] a ddaw;
Rhoi it' rybudd prudd sydd raid;
Oni chym'ri rybudd paid.

30.
Edifara'n brudd gan hynny,
Cyn del plâg i'th ardal, Cymru,
Cyn y tynno Duw ei gleddeu,
Cais ei ffafar ar dy liniau.

31.
Os digofaint Duw a 'nynna,
Pwy o'r holl fyd a'i diffodda?
Os y chwaren wyllt a ddenfyn,
Pwy a'i tynn i maes o'th derfyn?

32.
Os yr Arglwydd dig a ddechreu
Ladd dy blant, â'i follt a'i gleddeu;
Pwy all gadw rhag ei ddyrnod,
Un o'th blant, heb law y Drindod?

33.
Gwel pa laddfa wnaeth e'n Llundain,
Er maint oedd eu cri a'u llefain:
Eisiau gwneuthur hyn mewn amser,
Fe ddifethodd fwy na'u hanner.[K]

34.
Cwyn[L] gan hynny, gochel oedi,
Llwyr ymwrthod â'th holl frynti;
Llef am ras cyn del dy faethgen,
Foru ysgatfydd y daw'r chwarren.

35.
Mae dy blâg mewn cydau lliain,
Etto'n sioppau[M] marchants[N] Llundain;
Fe ddaw'r plâg oddi yno i Gymru,
Os ar fyrder ni ddifaru.

36.
Os i Gymru daw y cornwyd,
Och! mor ammharodol ydwyd,
'Fyn'd i'r barr i wneuthur cyfri',
Heb na gwisg na dim goleuni.[O]

37.
Os i Gymru y daw'r clefyd,
Ofer ceisio un cyf'rwyddyd:
Nid yw'r byd yn abal[P] stoppi[Q]
Haint, pan helo[R] Duw i'n cospi.

38.
Ofer ceisio Sads a Ryw,[S]
I wrth'nebu clefyd Duw;
Oni throi oddiwrth dy bechod,
Ni thal medswn[T] un o'r chwilod.

39.
Ofer cadw pyrth dy drefydd,
Fe ddaw'r plâg dros ben y gwelydd,[U]
Ni all peics[V] na dwbwl canon,[W]
Attal plâg, os Duw a'i danfon.

40.
Ofer rhedeg hwnt ag yma,
I geisio cilio rhag dy ddifa;
Dos lle mynnech, fe fyn dyrnod
Duw, a'i farn orddiwes pechod.

[B] *Favour*, tiriondeb, hynawsedd. [C] Ysywaeth, fel y mae gwaethaf. [D] Yn galw arnat. [E] Chwyrnu, cysgu yn drwm. [F] Tra fyddech. [G] *Score*, cadw cyfrif, rhedeg i ddyled. [H] Er mor araf. [I] Yn ddisymmwth. [J] *Bolt*, saeth. [K] Bu pla mawr arall yn Llundain yn y flwyddyn 1601, o ba un y bu farw dros ddeng mil ar hugain o'r trigolion. Digwyddodd hwnnw hefyd yn oes y Ficer; a dichon ei fod yn cyfeirio at y ddau yn y pennill hwn. [L] Cyfod. [M] *Shops*, gweithdai. [N] *Merchants*, masnachyddion. [O] Heb y wisg briodas, na goleu yn y lamp. [P] *Able*, galluog. [Q] Attal, rhwystro. [R] Pan anfono. [S] *Sage*, *Rue*, enwau llysiau. [T] *Medicine*, meddyginiaeth. [U] *Walls*, muriau. [V] *Pikes*, picellau, gwaywffyn. [W] *Double cannon*, gwn neu ddryll mawr.

41.
Goreu cynghor rhag y plag,
I ddyn gadw ei hun yn wag;
Nid rhag bwyd, ac nid rhag diod,
Ond rhag pob rhyw fath o bechod.[X]

42.
Os daw plag i gospi Cymru,
Fe ddaw newyn i'th gastellu,[Y]
Tristwch, cerydd, câs,[Z] ac ofan ;
Ni ddaeth plag erioed ei hunan.

43.
Fe fydd drygfyd yn dy drefydd,
Fe fydd ochain rhwng dy welydd;
Fe fydd cwynfan ym mhob heol,
Fe fydd braw ar bawb o'th bobol.

44.
Cariad brawdol a ddiffodda,
Pob car'digrwydd a ddiflanna;
A naturiaeth a charennydd
A lwyr gollant eu cydnebydd.[A]

45.
Ni ddaw'r fam i drin y ferch,
Na'r wraig ei gŵr, er maint ei serch,
Na'r chwaer ei brawd, na'r tad ei blentyn;
Cas, a thrist, a thrwm yw'r cowyn.[B]

46.
Y mab a ladd ei dad â'i ana'l,
A'r fam ei phlant, er maint ei gofal;
A'r wraig ei gwr wrth roi uchenaid,
A'r brawd ei chwaer a'i holl gyfnesiaid[C]

47.
Y marw ladd y byw a'i claddo,
A'r gwan y gwych, a ddel i'w drinio,
A'r claf y iach a fo'n ei faethu,
Mor gas, mor flin yw'r plag wrth hyny.

48.
Dyn â'r plag sy'n lladd â'i ddillad,
Fel y Basilisc[D] â'i lygad,
Ac â'i ana'l sy'n gwenwyno,
Fel y Coccatrus[E] y granffo.[F]

49.
Y plag a bair i bob cymmydog
Gasa'r llall fel ci cynddeiriog;
A chyfathrach, ffryns,[G] a chene'l,
Gashau câr fel blaidd neu gythraul.

50.
Hyn a bair garcharu'r cleifion,
Yn eu tai fel traitwyrs[H] ffeilstion,
A'i dehoryd[I] i fyn'd allan,
I gael bwyd dros[J] aur ac arian,

51.
Yr aur a ladd y rhai 'i derbyniant,
Y stwff[K] a ddifa'r maint a'i medlant;[L]
Pan ddel plag, er maint o'r diffyg,
Ni thal arian fwy na cherrig.

52.
Hyn a bair i'th bobl, Cymru,
Pan ddel chwarren, hir newynu;
Pan na chaffer bwyd dros arian,
Na dim cymhorth, er ei fegian.[M]

53.
Dy blag a ddaw yn ymwngc hefyd,
Fel y diluw ar y cynfyd;[N]
Neu'r tân gwyllt a ddaeth ar Sodom,[O]
Yn ddi-rybudd fel y storom.[P]

54.
Pan b'ech brysur yn ymdwymo,
Neu'n y tafarn yn carowso,[Q]
Neu'n cynhenu yn y farchnad,
Y daw'r plag ymwngc arnad.

55.
Os mewn tafarn, neu y stewdy,[R]
Os mewn marchnad neu ddadleu-dy,
Os mewn maes y'th dery'r cowyn,
Dyna'r man y bydd dy derfyn.

56.
Yno cei di, megis 'nifail,
Farw'n ymwngc trwy fawr drafael;
Heb i undyn i weinif[S] iti,
Na'th areilio,[T] na'th gomfforddi.[U]

57.
Ni ddaw meddyg, ni ddaw 'ffeiriad,
Ni ddaw ffryns yn agos attad;
Nac un carwr o'th holl gene'l,
Mwy nag at ryw anfad[V] rebel.[W]

58.
Ni chei neb a ddel i'th drinio,
Nac i'th ystyn,[X] na'th amwisgo,
Nac i'th arwyl,[Y] nac i'th gladdu,
Ond â chladdiad buwch o'r beudy.

[X] Amos 9. 1—3. [Y] Gwarchau, amgylchynu. [Z] Casineb. [A] Cydnabyddiaeth. [B] Y pla. [C] Perthynasau agosaf. [D] *Basilisk.* (oddiwrth y gair Groeg *Basileis*, brenhin) brenhin y nadroedd, math o sarph, am yr hon y dywedai yr hynafiaid ei bod yn lladd â'i golwg. Rhoddir yr enw yn bresennol i bryfyn Americanaidd, tebyg yn ei ddull i fudr-chwilen. [E] *Cockatrice*, enw Saesonig y Basilisk. Gelwid ef felly gan y Seison, oddiar y dyb ei fod yn cael ei ddeor o wy ceiliog. [F] A gyrhaeddo. [G] *Friends*, cyfeillion. [H] *Traitors*, bradwyr. [I] Rhwystro. [J] Am. [K] *Stuff*, dodrefn. [L] *Meddle*, trafod, cyffwrdd â pheth. [M] *Beg*, erfyn. [N] Mat. 24. 39. [O] Luc 17. 29. [P] *Storm*, tymhestl. [Q] *Carouse*, cyd-yfed, gloddesta. [R] *Stew*, putteindy. [S] Gwasanaethu. [T] Gofalu am danat. [U] *Comfort*, cysuro, diddanu. [V] Drygionus. [W] *Rebel*, gwrthryfelwr. [X] Estyn, troi heibio. [Y] Gwylio dy gorph marw.

59.

O! pa angau, O! pa benyd,
O! pa blag a diwedd aethlyd,[Z]
O! pa felldith a throm fforten,[A]
Ydyw marw'n lly'n[B] o'r chwarren!

60.

Hyn i gyd a welodd Lloeger,
Yn nhref Llundain yn hwyr amser;[C]
Hyn a weli dithau, Cymru,
Os â'th bechod ni 'madawi.

61.

O! gan hynny, Cymru, ystyr,
Mor anhygar, mor ddi-gysur,
Mor ddi-gariad, mor aflawen,
Ydyw marw'n llyn o'r chwarren!

62.

Dyma'r angau wyt ti'n haeddu,
Am dy bechod, Cymru, Cymru;
Dyma'r angau s' ar dy feder,
Oni throi at Dduw ar fyrder.

63.

Mae Duw'n disgwyl, er ys dyddiau,
Am it' droi a gado'th feiau;
Eisiau troi, mae Duw yn barod,
A phlag i ddial dy holl bechod.

64.

O gan hynny, Cymru, mwrna,
Gad dy bechod, edifara:
Dysg gan Ninif' geisio heddwch,[D]
Cyn del dial a diffaithwch.[E]

65.

Cyn y tynno Duw ei gleddeu
Cais ei heddwch ar dy liniau:
Rhy ddiweddar it' ymbilian,[F]
Gwedi tynno ei gleddyf allan.

66.

Cwymp i lawr wrth draed dy Brynwr,
Fel Magdalen wyla'r hallt-ddw'r;
Sych â'th wallt ei ddwy droed rasol;[G]
Fe ddiddana'r edifeiriol.

67.

Cyfod allor megis Dafydd,[H]
Offrwm iddo yspryd cystudd:[I]
Deisyf arno stoppi'r[J] angel,
Sydd ar feder lladd dy gene'l.

68.

Mwrn mewn sach[K] fel pobl Ninif',
Tro oddiwrth dy feiau aneirif;
Duw newidia'th farn a'th ferdid,[L]
Os tydi newidi'th fywyd.

69.

Tramwy i'r demel nos a dydd,
Megis Aaron mwrna'n brudd;
Llef am ras ar Grist dy Geidwad,
Cyn y delo'r cowyn arnad.

70.

Cur dy ddwy-fron yn gystuddiol,
Fel y Publican[M] 'difeiriol:
Cais gan Dduw dosturio wrthyd,
Cyn y'th dorrer ffwrdd â'r clefyd.

71.

Bwytta beunydd fara dagrau,
Megis Dafydd am dy feiau;
A gwna'th weli'r nos yn foddfa,[N]
Cyn i'r chwarren wyllt dy ddifa.

72.

Saf fel Moesen yn yr adwy,
Lle mae'r plag ar feder tramwy:
Cais gan d'Arglwydd droi'i ddigllon-
Felly dengys it' drugaredd. [edd,

73.

Megis Phine's cymmer siaflyn,[O]
Lladd y rhai sy'n perir cowyn,
Cospa â'r gyfraith afreolaeth,
Duw a'th geidw rhag marwolaeth.

74.

Gado Sodom, tynn i Zoar,
Gochel ddistryw, bydd edifar:
Gwrando'r angel sy'n rhoi rhybudd,
Cyn y del y plag i'th drefydd.

75.

Gado'r moch a'r bobl feddwon,
Fel y gadai'r mab afradlon;
Tynn i dŷ dy dad rhag newyn,[P]
Cyn dy dorri lawr â'r cowyn.

76.

Tynn fel Peder[Q] i ryw gornel,
Wyla'n chwerw dros dy gene'l;
Y mae'r ceiliog yn dy gofio,
Cais drugaredd cyn dy blago.

77.

Gwna dy gownt[R] a'th gyfri'n barod,
Cyn dy fyn'd o flaen y Drindod;
'Nyn[S] dy lamp, a gwisg dy drwsiad,
Cyn y delo'r chwarren attad.

78.

Chwyrn yw'r chwarren pan y delo,
Ni ry amser it' ymg'weirio:[T]
Bydd barodol yn ei gwiliad,
Bob yr awr cyn delo attad.

[Z] Arswydus, dychrynllyd. [A] *Fortune*, rhan, damwain. [B] Fel hyn. [C] Yn ddiweddar. [D] Jonah 3. 8. [E] Anghyfannedd-dra. [F] Deisyf, gweddio. [G] Luc 7. 38. [H] 1 Chron. 21. 26. [I] Psalm 51. 17. [J] *Stop*, attal. [K] Sachliain. Jonah 3. 8. [L] *Verdict*, barn, dedfryd. [M] Casglwr trethi. Luc 18. 13. [N] Psalm 6. 6. [O] *Javelin*, gwaywffon. Num. 25. 7, 8. [P] Luc 15. 18. [Q] Mat. 26. 75. [R] *Count*, cyfrif. [S] Ennyna, cynneua. [T] Ymbarottoi.

79.
Os ymg'weiria Cymru i farw,
Ac i fyn'd at Dduw yn hoyw,
Cynta' i gyd i Dduw dy spario,[U]
A rhoi hoedel[V] hir it' etto.

80.
Duw fo grasol wrthyd Cymru,
Duw rho ras it' edifaru,
Duw'th achubo rhag y chwarren,
Duw ro iti flwyddyn lawen.[W]

## CXI.—ARALL, YNGHYLCH Y CHWARREN.

1.
CYMRU, CYMRU, mwrna,[A] mwrna,
Cwyn[B] fel Ninif',[C] edifara;
Gwisg dy sach, cyhoedda ympryd,
Llef am ras, a gwella'th fywyd.

2.
Y mae Lloeger, dy chwaer hyna',
Yn dwyn blinder tost a gwasgfa,
Dan drom wialen y Duw cyfion,
Sy'n ei maeddu[D] yn dra chreulon.

3.
Y mae'r plag yn difa ei phobloedd,
Fel tan gwyllt y ddo'i[E] o'r nefoedd,
Ac fel goddaith[F] ar sych fynydd,
Yn goresgyn ei holl drefydd.

4.
Maent hwy'n meirw yn ddi-aros,
Wrth y miloedd yn yr wythnos,
Ac yn cwympo ar eu gilydd,
Yn gelanedd[G] mewn heolydd.

5.
Nid oes eli, nid oes metswn,[H]
Nid oes dw'r, na deigrau miliwn,
All ei ddiffodd, och! na'i laesu,
Ond trugaredd Duw a'i allu.

6.
Y mae Llundain fawr yn mwrno,
Fel Caersalem, gwedi'i hanrheithio;
Nid oes dim ond ochain ynddi,
Cwynfan tost, a llef annigri'.

7.
Mae'r fath alar, mae'r fath dristwch,
Mae'r fath gwynfan a thrafferthwch,
Mae'r fath wewyr a'r fath ochain,
Ni bu'r fath erioed yn Llundain.

8.
Mae pob gradd yn gwel'd yr angau,
Ger ei bron yn cwnnu cleddeu,
Ac yn disgwyl heno, heddy',
Am y cart i'w dwyn i'w claddu.

9.
Y mae'r gwyr yn gwel'd eu gwragedd,
A'u plant anwyl yn gelanedd:
Yn y tai yn dechreu sowso,[I]
Heb gael undyn i'w hamwisgo.

10.
Y mae'r gwragedd hwythau'n ochain,
Wel'd eu gwyr a'u plant yn gelain;
Ac heb feiddio myned allan,
Yn gwall-bwyllo'n flin gan ofan.

11.
Mae'r ymddifaid bach yn gwaeddi,
Yn y tai heb neb i'w porthi;
Ac yn sugno brest[J] eu mammau,
Gwedi marw er ys tridiau.

12.
Nid oes cymhorth, nid oes cysur,
O'r nef, o'r ddae'r, o'r môr, na'r awyr,
O'r dre', na'r wlad, o'r maes, na'r winllan,
O'r llan, na'r llys, o'r gaer, na'r gorlan.

13.
Y mae'r iach yn gwel'd y trwclau,[K]
A fai gynt yn dwyn tommennau,
Heb ddwyn dim, o'r goleu i'w gilydd,[L]
Ond y meirw i'r monwentydd.

14.
Mae'r rhai byw yn hanner marw,
Cyn del arnynt wŷn na gwaew,
Wrth wel'd cymmaint yw'r dialau,
Sy'n digwyddo am eu pennau.

15.
Ni cheir rhydd-did i fyn'd allan,
Ni cheir bwyd i mewn dros[M] arian;
Ni cheir trammwy at un Cristion,
Ni cheir 'madael â'r rhai meirwon.

16.
Yn y tai mae'r plag a'r cowyn,
Yn yr hewl,[N] mae'r cri[O] a'r newyn;
Yn y maes mae'r cigfrain duon,
Hwythau, 'n pigo llygaid cleifion.

[U] *Spare*, arbed. [V] Einioes. [W] Gellir meddwl, wrth y llinell hon, mai tua dechreu y flwyddyn y cyfansoddodd yr Awdwr y Gân.

[A] *Mourn*, galaru. [B] Cyfod. [C] Ninefeh. Jonah 3. 5. [D] Curo. [E] A ddeuai. [F] Fflam, llosgiad. [G] Yn gyrph meirwon. [H] *Medicine*, meddyginiaeth. [I] *Souse*, braenu, pydru, drewi. [J] *Breast*, bronnau. [K] *Trucks*, ceirt bychain. [L] O'r bore hyd y nos. [M] Am. [N] Heol. [O] *Cry*, gwaedd, wylofain.

17.
Y mae 'sowaeth, Duw a dynion,
Wedi gado'r rhai'n yn dlodion;
Heb rhoi help[P] na swccwr[Q] iddyn',
Yn eu nychdod tost a'u newyn.

18.
Mae Duw'n chwerthin am eu pennau,
Ac â'i fys yn cau ei glustiau :[R]
Ac heb wrando gweddi can'-mil,
Eisiau gwrando llais ei 'fengyl.

19.
Y mae dynion anrhugarog,
Yn eu ffoi[S] fel cŵn cynddeiriog;
Gwell yw ganddynt weled gwiber,[T]
Yn y wlad na gweled Lyndner.[U]

20.
Waith bod dyn a'r plag yn 'nurddo[V]
Pob rhyw un a ddel i'w drinio :[W]
Ac yn lladd â gwynt ei ddillad,
Fel y Basilisc[X] â'i lygaid.

21.
Ni faidd tad fyn'd at ei blentyn,
Na gwraig drin ei gŵr â'r cowyn,
Na ffrynd[Y] wel'd ei ffrynd â'r clefyd,
Heb fawr beryg' am ei fywyd.

22.
Y mae'r fam yn lladd â'i chusan
Ei hanwylyd blentyn bychan;
Ac heb wybod yn andwyo,[Z]
Hwn â'r plag, tra fyddo'n sugno.

23.
Y mae'r tad yn lladd â'i ana'l,
Ei blant anwyl yn ddi-attal;
Ac fel Coccatris[A] gwenwynllyd,
Yn ddi-son[B] yn dwyn eu bywyd.

24.
Y mae'r plentyn a glafychwys
Yntau'n lladd ei fam a'i magwys;
Ac o'i anfodd yn inffecto,[C]
Yr holl dylwyth lle bo'n trigo.

25.
Maent hwy'n meirw yn ddisymmwyth,
Gwyr a gwragedd, plant a thylwyth:
Wrth y pum'-cant yn y noswaith,
Nes myn'd Llundain megis anrhaith.

26.
Mae'r fath wylo, mae'r fath ochain,
Ym mhob cornel yn dref Llundain;
Ni bu 'rioed o'i fath yn Rama,[D]
Gynt gan Rachel a'i chyfnesa'.[E]

27.
Mae'r offeiriaid a'r pregethwyr,
Yn galaru maes o fesur,
Wel'd eglwysydd, lle'r oedd miloedd,
Fel lluestai[F] heb ddim pobloedd.

28.
Mae'r marsiandwyr[G] mawr a'u siop-
Llawn o frethyn aur, a laesau,[I] [pau[H]
Heb gael gwerthu dim o'r llathaid,
I roi bara i'r prentisiaid.[J]

29.
Y mae'r crefftwyr hwyntau'n ochain,
Gwedi gweithio pethau cywrain,
Heb gael undyn idd eu prynu,
Ac yn barod i newynu.

30.
Mae lletty-wyr y gwyr mawrion,
A'r arglwyddi, a'r marchogion;
A'u hostriau[K] mawr yn wâg,
Heb neb ynddynt ond y plag.

31.
Y mae'r water-men[L] a'r porters,[M]
A'r carniswyr[N] oll, a'r haliers,[O]
Heb gael lle i ennill dimai,
I roi bara yn eu pennau.[P]

32.
Mae'r farchnadfa, lle'r oedd llafur,[Q]
Cig a physgod, tu hwnt i fesur;
A phob moethau o'r danteithia',
Heb na chig, na blawd, na bara.

33.
Y mae llawer oedd yn ceisio,
Quails,[R] a pheasants,[S] idd eu cinio,
'Nawr yn chwennych torri'u newyn,
Ar Bwr Jon[T] a hen ymenyn.

34.
Lle'r oedd beunydd fil o fadau,[U]
Yn dwyn ymborth heb law llongau,
Nid oes heddyw bwnn yn dwad[V]
O flawd cawl, dros aur i'r farchnad.

[P] *Help*, cymhorth. [Q] *Succour*, ymgeledd. [R] Diar. 1. 26, 28. [S] Yn ffoi rhagddynt. [T] *Viper*, math o sarph. [U] *Londoner*, un o drigolion Llundain. [V] Difetha. [W] "A ddelo atto."—S. Hughes. [X] Neidr wenwynllyd. [Y] *Friend*, cyfaill. [Z] Dinystrio. [A] Math o sarph. [B] Yn ddistaw, yn ddiarwybod. [C] *Insect*, gwenwyno. [D] Mat. 2. 18. [E] Perthynasau. [F] Bythod, pebyll. [G] *Merchants*, masnachwyr. [H] *Sops*, gwerth-dai. [I] *Laces*, ysnodennau gwerthfawr. [J] *Apprentices*, rhai yn gwasnaethu er mwyn dysgu celfyddyd. [K] *Hostelries*, tai i roesawi dieithriaid. [L] Badwyr, rhai yn rhwyfo cychod. [M] Rhai yn dwyn beichiau ar eu cefnau. [N] "Carauiswyr, (rhai yn hala cart.")—S. Hughes. Yn hytrach "Craniswyr," *cranagers*, sef rhai yn derbyn *cranage*, hynny yw tâl am fenthyg *cranes*, periannau at lwytho a dadlwytho llongau. [O] *Haulers*, rhai yn llusgo pethau. [P] Geneuau. [Q] Yd. [R] Soflieir. [S] Ceiliogod y coed. [T] *Poor John*, math o bysgodyn gwael at ymborth; "pysgod hallt sych."—S. Hughes. [U] *Boats*, cychod. [V] Dyfod.

35.
Lle'r oedd llewndid o bob ffrwythi,
Ag oedd dae'r a dw'r yn rhoddi;
Nid oes heddyw ond y newyn,
A'r drudaniaeth,[W] waith y cowyn.

36.
Hyn a barodd ein hen draha,[X]
A'n gloddineb,[Y] a'n putteindra,
A'n gau-dduwiaeth, a'n cas feddwdod,
A dirmygu'r gair yn wastod.

37.
Dyma wobor, dyma ffrwythau,
Dyma gyflog ein pechodau;[Z]
Dyma'r fathgen[A] dost haeddasom,
Am y bryntni gynt a wnaethom.

38.
Dyma fel y gall Duw cyfion,
Dynnu lawr y trefydd mawrion ·
Mewn byrr ennyd am anwiredd,
A'u darostwng am eu balchedd.

39.
Dyma fel y gall Duw blygu,
Pobol drawson a f'o'n pechu;
Ac heb wneuthur pris[B] o'i ddeddfau,
A'u committo[C] dan law'r angau.

40.
Hyn haeddasom er ys dyddiau,
Hyn a ddylem bawb ei adde':
Cyfiawn yw Duw a diarg'oedd,[D]
Yn ei ffyrdd a'i holl weithredoedd.[E]

41.
Ni hauasom bob diffeithder,[F]
Gynt rhwng cwysau anghyfiawnder,
'Ry'm ni'n medi ac yn casglu
Y crop[G] a ddygodd pechod ini.

42.
Dyma'r dial gynt addawodd
Duw ei anfon ar y bobloedd,
Nas gwas'naethant â'u holl galon,
Ac na chadwent ei orch'mynion.[H]

43.
Dyma'r fathgen a gaiff Cymru,
Eisiau gwella a 'difaru,
A chymmeryd rhybudd tyner,
Oddiwrth blag a dial Lloeger.[I]

44.
Pan yr helodd[J] Duw'r fath wialen
Ar y bobl dda o Lundain,
Mae arnaf ofn y daw y cleddy',
Ar y bobl ddrwg o Gymru.

45.
Pan na chym'rai pobl Juda
Rybudd prudd oddiwrth Samaria ;
Duw roes Juda i gaethiwed,
Fel Samaria dan law'r Syriaid.

46.
Oni chymmer Cymru warning,[K]
Oddiwrth Loegr yn ddi-daring;[L]
Mae arna'i ofn y daw dial,
Ar y Cymry, a phla anial.

47.
Pan y gwlawiodd Duw gorucha',
Dân ar Sodom a Gomorrah,
Ni ddiffoddodd o'i lid tanllyd,
Nes difethi Zeboim hefyd.[M]

48.
Pan yr helodd Duw y chwarren,
I dir Lloeger ac i Lundain,
Mae arna'i ofn tost na laesa
'R plag, nes del i 'mwel'd â Chambria.[N]

49.
Os pan helodd Duw y cleddeu,
I Germania a'i chyffiniau;
Eisiau i'r Ffrangcod gym'ryd rhybudd,
F' aeth y cleddyf trwy'u holl drefydd.

50.
Eisiau i Loeger gym'ryd warning,
Oddiwrth Bohemia, Ffraingc a Flush-
Y mae Duw yn cospi Lloeger, [ing,[O]
Yn saith gwaeth nag un o'r nifer.

51.
Oni chymmer Cymru rybudd,
Oddiwrth Loeger drist a'i chystudd;
Mae arna' i ofn gwel'd ar fyrder
Blag yng Nghymru'n waeth na Lloeger

52.
O, gan hynny, Gymry, mwrna,
Gâd dy bechod, edifara;
Dysg gan Ninif' geisio heddwch,
Cyn del dial a diffeithwch.[P]

[W] Prinder. [X] Balchder. [Y] Glythineb, gwastraff, anghymmedroldeb. [Z] Deut. 28. 15, 21, 27. [A] Cerydd, cosp. [B] *Price*, gwerth,—heb gyfrif yn werthfawr. [C] *Commit*, anfon i garchar. [D] Diargyhoedd, na ellir ei farnu yn euog o fai. [E] Psalm 145. 17. [F] Drygioni. [G] *Crop*, cynnyrch. [H] Lef. 26. 14—39. [I] Dywed Stephen Hughes,—" Fe fu'r chwarren ar ol hyn yng Haerfyrddin, yn Hwylffordd, ym Mhenfro, ac amryw leoedd eraill, a Rhyfel tôst trwy'r Deyrnas ;" a lled-arwydda fod y Ficer yn brophwyd, trwy goffhau Psalm 25. 14—" Dirgelwch yr Arglwydd sydd gyda'r rhai a'i hofnant ef." [J] Anfonodd. [K] *Warning*, rhybudd. [L] *Tarry*, aros—yn ddioed. [M] Dinistrwyd Admah a Seboim, ar yr un amser a Sodom a Gomorrah. Deut. 29. 23. Jer. 50. 40. [N] *Cambria*, Cymru. [O] Lleoedd ar gyfandir Europ, â'r rhai yr ymwelsai y farn yn flaenorol. Bohemia sydd rhan o Germany, a Flushing sydd dref ar làn y môr yn ynys Walcheren, rhan o Holland. [P] Y mae y pennill hwn yn y Gân flaenorol.

53.
Cur dy ddwyfron, wyla'r hallt-ddw'r,
Golch dy wisg yng ngwaed dy Brynwr;
Llef am ras, a gâd dy frynti,
Cyn dialer dy ddrygioni.[Q]

54.
Cyn y tynno Duw ei gleddeu,
Cwymp yn isel ar dy liniau;
A chais ras a ffafar gantho,
Cyn i'r angau dig dy daro.

55.
Ofer crïo gwedi'th glwyfer,
Ofer ymbil gwedi'th farner,
Ofer ceisio torri'r wialen,
Gwedi rhodder iti'r faethgen.

56.
Cwyn, gan hynny, gochel oedi,
Brysia'n esgud,[R] gâd dy frynti:
Gwel y farn sydd uwch dy gobyn,[S]
Tro, cyn caffo arnat ddisgyn.

## CXII.—GWEDDI EGLWYSWR, WRTH YMWELED A'R CLEIFION YN AMSER Y CHWARREN.

1.
Duw Dad, gwel mor beryglus
Yw swydd dy was trafaelus,[A]
Sydd yn myned,[B] aua' a haf,
At bob dyn claf gwrth'nebus.

2.
Nid oes na gwr na bachgen,
Bid glaf o'r frech neu'r chwarren,
Neu ryw glefyd a fo gwaeth,
Nad wyf fi gaeth i'w olren.[C]

3.
Os gwres, os gwayw poethlyd,
Os chwys, os twymyn awchlyd,[D]
F' orfydd myned uwch ei ben,
Bid glaf o'r chwarren waedlyd.

4.
A hyn sydd dra echrydus,
I galon egwan glwyfus,
Sydd heb bŵer[E] ganddo ei hun
I ochel twymyn awchus.

5.
Gan hynny, ar f' unig helpwr,[F]
A'm Ceidwad a'm diffynwr,
Sy'n rheoli'r rhain i gyd,
'Rwy'n crïo'm[G] mhryd[H] am swccwr.[I]

6.
O Arglwydd mawr, ti elli
Fy nghadw'n iach, os mynni,
Rhag yr heintiau hyn i gyd,
Er maint o'u bryd[J] i'm llyngcu.

7.
Ac oni byddi helpwr,
I'm cadw rhag cyfyngdwr,
Nid oes le im' ddiangc mwy,
Ond ildio[K] i nhwy[L] fel gwan-wr.

8.
Gan hynny, Duw'r holl allu,
Os d'wyllys sy'n cenhadu,
Cadw fi dy waelaf was,
Rhag heintiau cas i'm cyrchu.[M]

9.
Tydi fy Nuw sy'n clwyfo,
Tydi sydd yn elïo;[N]
Tydi sy'n lladd ac yn bywhau,[O]
Tydi a gei'n correcto.[P]

10.
Gan hynny, tanna'n rasol,
Dy aden yn dosturiol;
N'âd i glwyf neu glefyd cas
Ymlynu â'th was daearol.

11.
Duw, 'r hwn a gedwaist Aaron,
Yn iach yng nghanol cleifion,[Q]
Cadw finnau'n rasol rhag
Yr haint a'r plag echryslon.

12.
Ti gedwaist Abednego,
Yng nghanol fflam, heb dwymno;[R]
Cadw finnau ynghanol plag,
Er Iesu, n'âd f' andwyo.[S]

13.
Ti gedwaist Ddaniel hefyd
O safn y llew newynllyd;[T]
Cadw finnau, Arglwydd Dduw,
Rhag haint, i fyw mewn iechyd.

[Q] Joel 2. 12—14. [R] Bywiog, ebrwydd. [S] Pen.

[A] Trafferthus. [B] "Twttan."—S. Hughes. Brysio yn ol ac ym mlaen. [C] Olrhain, myned ar ei ol. [D] Llym, angherddol. [E] *Power*, gallu. [F] *Helper*, cynnorthwywr. [G] *Cry*, llefain, galw. [H] Mewn pryd, mewn amser cyfaddas. [I] *Succour*, cymhorth. [J] Amcan. [K] *Yield*, ymostwng. [L] Iddynt hwy. [M] Ymosod arnaf. [N] Gosod eli, meddyginiaethu. [O] Hos. 6. 1. 1 Sam. 2. 6. [P] *Correct*, cerydd. [Q] Num. 26. 47. 48. [R] Dan. 3. 28. [S] Dinystrio. [T] Dan. 6. 22.

14.
Ac felly mi'th folianna,
Mewn llann,[U] a llys, a thyrfa;
Ac a roddaf, tra ynnwy' chwyth,
It' ddiolch byth o'r mwya'.

15.
Fel Aaron yn y gangell,[V]
Fel Daniel yn y 'stafell;[W]
Ac fel Dafydd, tra f'wyf byw,[X]
Bendithiaf Dduw, fy nghastell.[Y]

## CXIII.—CYNGHOR I'R CLAF.

1.
PAN y'th d'rawer gynta' â chlefyd,
Ystyr o b'le daeth mor danllyd,
A phwy helodd[A] glefyd attad,
A phaham ei dodwyd arnad.

2.
Duw ei hun sy'n danfon clefyd
Oddiwrth Dduw y daw mor aethlyd;[B]
Am ein beiau mae'n ei hela,
I geisio genym droi a gwella.

3.
Edifarha am dy feiau,[C]
Deisyf bardwn[D] ar dy liniau,
Cais gan Dduw dosturio wrthyd,
Fe'th gysura yn dy glefyd.

4.
Os 'nynnodd llid dy Dduw yn d'erbyn,
Nes rhoi arnat glefyd 'sgymmun,[E]
Gwaed yr Oen a'th reconseila,[F]
Deigrau hallton a'i dad-ddigia.[G]

5.
Gostwng iddo, mae'n drugarog;
Cais ei ras, fe'i rhy yn serchog;[H]
Edifara, yntau faddeu;[I]
Wyla di, tosturia yntau.

6.
Addef iddo dy gamweddau,[J]
Barn dy hunan am dy feiau,
Cwymp o'i flaen, a deisyf bardwn,
Ti gai ras ac absoluwsiun.[K]

7.
Tro di atto, fe a'th dderbyn,
Er ei ddigio, rhy dy ganlyn,[L]
A phan gwello hallton ddeigrau,
Fe bair laesu[M] dy flinderau.

8.
Duw ei hun sy'n danfon clefyd,
Cennad Duw yw nychdod aethlyd,
Oddiwrth Dduw y daw clefydion,
Ni all neb ond Duw eu danfon.

9.
Nid o'r moroedd, nid o'r mynydd,
Nid o'r ddae'r,[N] na'r aer,[O] na'r corsydd,
Y daw clefyd ar blant dynion,
Ond oddiwrth yr Arglwydd cyfion.

10.
Gwres, a gayw, crach, cornwydon,
Cryd, a haint, a syndra[P] calon,
Nychdod, nodau,[Q] mall,[R] diflanniad,
Sy' oddiwrth Dduw ei hun yn dwad.[S]

11.
Ni all emprwyr[T] mawr yr holl-fyd,
Ddanfon haint, na thynnu clefyd:
Nid oes neb a'i tynn na'i ddanfon,
Ond Duw mawr, y Barnwr cyfion.

12.
Nid aiff clefyd ffwrdd wrth bwyntment[U]
Leo, nac Antwn, Cat, na Chlement,[V]
Witch,[W] na dewin, swyn, na phlaned,
Nes cennado Duw ei fyned.

13.
Os o swrffet,[X] os o anwyd,
Neu dŷ afiach y ce'st glefyd,
Duw ei hun sydd yn dy daro,
Pa fodd bynnag daethost iddo.

14.
Nid wrth ddamwain, nid wrth fforten,[Y]
Nid wrth dreiglad[Z] lloer na seren,
Y daw clefyd, mawr na bychan,
Ond wrth bwyntment Duw ei hunan.

15.
Na chais edrych, fal dyn ynfyd,
Trwy ba fodd y daeth y clefyd:
Gwell it' edrych tua'r nefoedd,
Ar dy Dduw a'r llaw a'th d'rawodd.

16.
Duw a'th d'rawodd, Duw a'th wella,
Duw a'th glwyfodd, Duw'th elïa;[A]
Duw sy'n cospi y gnawd diriaid,
Duw iacha dy gorph a'th enaid.

[U] Lle neillduedig, eglwys. [V] *Chancel*, lle cyssegredig. [W] Dan. 6. 10. [X] Psalm 146. 2. [Y] Ymddiffynfa.
[A] Anfonodd. [B] Deut. 28. 22. [C] Hos. 6. 1. [D] *Pardon*, maddeuant. [E] Erchyll. [F] *Reconcile*, cymmodi, heddychu. [G] Er mai gwaed Crist yw yr unig Iawn am bechod; etto, cyn cael lleshad oddiwrtho, rhaid edifarhau a galaru yn wirioneddol am bechod. Iago 4. 9, 10. [H] Mat. 7. 7. [I] Act. 3. 19. [J] Psalm 32. 5. [K] *Absolution*, rhyddhad, gollyngdod. [L] Dymuniad, deisyfiad. [M] Lleihau. [N] Job 5. 6. [O] *Air*, awyr. [P] Dychryn. [Q] Pläau. [R] Pydrni. [S] Dyfod. Deut. 28. 22. [T] *Emperors*, ymerawdwyr. [U] *Appointment*, trefniad, gorchymmyn. [V] Seintiau Pabaidd, ar yr rhai yr arferid gweddïo mewn cyfyngderau. [W] *Witch*, rheibwraig, dewines. [X] *Surfeit*, bwytta neu yfed yn ormodol. [Y] *Fortune*, digwyddiad. [Z] Troad, symmudiad. [A] Job 5. 18.

17.
Derbyn gennad Duw'n roesawgar
Ymddwyn dano'n ddioddefgar;
Neb a garo Duw fe'i cospa,
Pob mab anwyl fe'i gwïalenna.[B]

18.
Bydd ddioddefgar dan dy drwbwl;[C]
Ffol a wingad ar ben swmbwl;
Duw a'th d'rawodd mor ddolurus,
Ofer it' wrth'nebu ei 'wyllys.

## YR AIL RAN.

### YR ACHOS O GLEFYD.

1.
Am ein pechod a'n drwg fywyd,
Y mae Duw yn danfon clefyd;[A]
Ac yn gryddfu[B] meibion dynion,
Am droseddu ei orch'mynion.

2.
Darn o gyflog pechod aethlyd,
Ydyw nychdod ac afiechyd;
Pechod ddygodd, wrth ei gynffon,
Bob rhyw glefyd ar blant dynion.

3.
Torri'r Sabboth, tyngu'n rhugyl,
Casau'r eglwys a'r efengyl,
Disang[C] 'ffeiriaid a swyddogion,
A bair lawer o glefydion.

4.
Meddwdod, maswedd, a phutteindra,
Rhegu, loettran,[D] a lladratta,
Gwledda, gloddest, treisio tlodion,
Sy'n dwyn clefyd a thrallodion.

5.
Os ce'st glefyd, o daeth cnofa,[E]
Pechod helodd[F] hwn i'th ddala,
Ac a barodd i Dduw ddigio,
A rhoi'r clefyd hwn i'th daro.

6.
Chwilia'n fanol dy gydwybod,
A chais gwrdd â'th ffiaidd bechod:
Llwyr groeshoelia dy anwiredd,
Ac ymbilia am drugaredd.

7.
Os 'difaru am dy feiau,
A llwyr droi at Dduw yn foreu,
Fe faddeua Duw dy bechod,[G]
Ac a'th dynn i maes o'th nychdod.[H]

8.
Cais gan Dduw leihau dy ddolur,
Dofi'th boen, â gwella'th gysur;
Cais yn daer esmwythder gantho,
F' all ei roi yr awr y mynno.

9.
Pa ryw bynnag yw dy ddolur,
Fe all Duw ostegu ei wewyr,
A'th iachau y modd y mynno,
Bid e'r dolur mwyaf fytho.

10.
Fe iachaws y claf o'r parlys,[I]
Gwraig o'r lacs,[J] a'r crippil[K] 'nafus,
Job o'i grach, a Naaman glawrllyd,[L]
A'r rhai cleifion o bob clefyd.[M]

11.
Nid yw clefyd ddim ond cennad,
Wrth arch Duw sy'n dwad attad,
Fe ladd, fe baid, pan archo ei berchen,
Fe ddaw, fe â, fel gwas y capten.[N]

12.
O! gan hynny galw'n daerllyd,
Ar dy Dduw sy'n danfon clefyd,
Cais ei nawdd er mwyn dy Brynwr,
Di gei gantho help a swccwr.[O]

## CXIV.—GWEDDI'R CLAF.

1.
Arglwydd cyfion, tad fy iechyd,
Barnwr pawb, a'u helpwr hyfryd,
Gwrando weddi dyn clafecca,[A]
Er mwyn Crist, ac edrych arna.'

2.
Yn glaf mewn corph, yn drist mewn enaid,
Yn drwm mewn meddwl ac uchenaid,
'Rwy'n ymlusgo, O! 'Nghreawdwr,
Attad ti i geisio swccwr.[B]

[B] Curo â gwialen. Heb. 12. 5—7. [C] *Trouble*, trallod. Iago 5. 10, 11.

[A] Deut. 21. 58—61. [B] Cystuddio. [C] Damsang, dirmygu. [D] *Loiter*, segura. [E] Poen, gwaew. "Mocfa" (Diffyg anadl.)—S. Hughes. "Gwasgfa."—T. Durston. [F] Anfonodd. [G] Act. 3. 19. [H] "Os bydd hynny er daioni i'th."—S. Hughes. [I] *Paralysis* (Lladin,) dideimladrwydd, diffrwythder aelodau. Mat. 9. 2. [J] *Lax*, gweudid corphorol, diferlif. Luc 8. 43. [K] Dyn cloff, neu analluog. [L] A'r clafr arno, gwahanglwyfus. [M] Mat. 4. 24. [N] *Captain*, llywydd milwyr; canwriad. Mat. 8. 9. [O] *Succour*, cymhorth, ymgeledd.

[A] Afiach, clafaidd. [B] *Succour*, cynnorthwy.

3.

Grasol wyt, a llawn trugaredd,
Hwyr dy lid, a mawr d' amynedd,[C]
Hawdd i'th gael mewn tost gyfyngdwr;
Er mwyn Crist tosturia 'nghyflwr.

4.

Ti ro'ist iechyd im' ys dyddiau,
'Nawr ti'i dygaist am fy meiau,
Ac a helaist[D] boen a nychdod,
I'm cystuddio am fy mhechod.

5.

Duw, mi haeddais, 'rwy'n cyfadde',
Un oedd drymmach er ys dyddiau;
Yn dra chyfion, Duw goruchaf,
Y rho'ist hyn o nychdod arnaf.

6.

Ti allasid ddanfon clefyd
Immwgc,[E] cas, i ddwyn fy mywyd,
A'm troi i uffern i'm poenydio,
Heb roi amser im' repento.[F]

7.

Etto'n fwyn, fel Tad trugarog,
Ti roi'st arnaf glefyd serchog,
I'm rhybuddio am fy niwedd,
A'm cyf'rwyddo i wella 'muchedd.[G]

8.

'Rwy'n ei gym'ryd megis arwydd
O'm mabwysiad[H] a'th gar'digrwydd;
Yn fy nghospi a'm correcto,[I]
Rhag i'm pechod fy andwyo.[J]

9.

Da yw'th waith, O Arglwydd cyfion,
Yn cospi'r corph â'r fath drallodion,
Lle'r oedd f'enaid er ys dyddiau,
Yn dra chlaf gan ormod foethau.

10.

Tra ce's[K] iechyd ni che's weled
O'm pechodau, er eu hamled;
Ond, yn awr, gwae fi, mewn nychdod,
Nid wy'n gweled ond fy mhechod.

11.

O pa nifer o bechodau, [nau;
Wnaethoi'n[L] d'erbyn, Duw, gwae fin-
Maent yn amlach mewn rhifedi,
Nac yw'r ser os ceisia'u cyfri'.[M]

12.

Pa fath elyn gwyllt a fuo,[N]
Yn d'wrthwynebu megis Pharao,
Gynt pan oeddit yn ymhwedd,[O]
Am im' droi a gwella 'muchedd.

13.

Arglwydd grasol, 'wy'n cydnabod,
Imi haeddu can' mwy nychdod,
Ac im' bechu yn ysgymmun,[P]
O'm mabolaeth[Q] yn dy erbyn.

14.

Etto gwn dy fod ti'n rasol,
I bwy bynnag fo'n 'difeiriol,
Ac yn barod iawn i faddeu
I'r galarus eu camweddau.

15.

Er na haeddais ond trallodion,
A dialau, a chlefydion;
Gwna im' yn ol dy fawr drugaredd,
Ac nac edrych ar f'anwiredd.

16.

Cymmer angau Crist a'i 'fudd-dod,
Yn dâl iti am fy mhechod;
Cladd fy meiau yn ei weli;[R]
Er ei fwyn bydd rasol imi.

17.

N'âd im' farw yn fy mrynti,
Cyn im' wneuthur dim daioni;
Ond rho amser o'th drugaredd,
Imi etto wella 'muchedd.

18.

Dal dy law, gostega 'nolur,
Llaesa[S] 'mhoen, lleiha fy ngwewyr,
Ac na osod arnai'i boenau,
Fwy nag allo 'nghorph eu godde'.

19.

Er bod f'enaid weithiau'n d'wedyd,
Dere Grist, a derbyn f'ysbryd;
Mae fy nghnawd er hyn yn crïo,[T]
Duw, tro'r cwppan chwerw heibio.

20.

Y mae'r cnawd a'r yspryd etto,
Yn amharod i ymado:
Duw rho amser im' i'w trefnu,
O bydd d'wyllys yn cennadu.

[C] Exod. 34. 5, 7. [D] Anfonaist. [E] Disymmwth. [F] *Repent*, edifarhau. [G] Psalm 119. 71. [H] "Yr arwyddion pennaf o fabwysiad, (hyny yw, o fod wedi ein cymmeryd trwy Grist i fod yn blant i Dduw), yw ffydd yng Nghrist, galar am bechod, troad oddiwrth bechod, gwir gariad at y sawl sydd yn ofni Duw, ynghyd â chadw ei orchymynion ef; oni fydd dyn mewn rhyw fesur a'r pethau hyn ynddo, ni ddichon efe gasglu oddiwrth ei glefyd a'i gystudd ei fod ef yn blentyn i Dduw. Ioan 1. 12. Mat. 5. 4. 1 Ioan 3. 8–10, 14, a 2. 3, 4."—S. Hughes. [I] *Correct*, ceryddu. [J] Dinystrio. [K] Y cefais. [L] A wnaethum i. [M] Psalm 40. 12. [N] A fum. [O] Ymbil, erfyn yn daer. [P] Yn dra annuwiol. [Q] Mebyd, ieuengctyd. [R] Clwyf, archoll. [S] Esmwythdra. [T] *Cry*, llefain.

21.
Nid wy'n ceisio gennyd amser,
I fyw'n foethus mewn esmwythder,
Ond i dannu[U] dy anrhydedd,
Ac i wella peth o'm buchedd.

22.
Duw, o gweli fod yn addas,
Estyn f'oes fel Ezekias;[V]
Dyro imi ryw gyf'rwyddyd,
I'm iachau a thorri 'nghlefyd.

23.
Ond o gweli fod yn oreu,
Etto 'nghospi dros fwy ddyddiau,
Duw, dy 'wyllys di gyflawner;
Ond cyfnertha fi'r cyfamser.

24.
Yn iach ni wnaethum ond dy ddigio,
Yn glaf ni allaf ond och'neidio;
Oni roi dy nefawl Ysbryd,
I'm diddanu yn fy nghlefyd.

25.
Arglwydd, cymhorth fi'n fy mlinder,
Llaesa 'mhoen, a'm hanesmwythder;
D'wed wrth f'enaid yn ei halaeth,[W]
Myfi yw dy iechydwriaeth.

26.
Tydi Crist yw'r mwyn Samariad,[X]
Minnau yw'r claf drafaelwr[Y] irad;[Z]
C'weiria 'nolur, rhwym f'archollion,
Dofa 'mhoen, cryfha fy nghalon.

27.
Mae dy law yn orthrwm[A] arnaf,
Etto ynod mi ymddiriedaf;
A phe lleddit fi â thrallod,
Duw, mae f' holl ymddiried ynod.[B]

28.
Gennyt ti mae'r holl allweddau,[C]
Sydd ar fywyd ac ar angau:
Ni faidd angau edrych arnaf,
Nes danfonech, Crist, ef attaf.

29.
Gwna fi'n barod cyn y delo,
Par i'm ddisgwyl byth am dano;
Fel y gallwyf fyn'd yn addas,
Trwyddo i dy nefawl deyrnas.

30.
N'âd i bethau'r byd anwadal,
N'âth gyfiawnder ddydd y dial,
Nac i ofan angau'm rhwystro
Ymbar'toi i rwydd ymado.

31.
Tynn o'm calon ofan angau,
Par i'm wadu'r byd a'i bethau;
Golch a'th waed fy mhechod 'sgeler,
Cudd fy mrynti â'th gyfiawnder.

32.
Rho im' ffydd yn dy bromeision,[D]
Gobaith cryf am gael y goron,
Dioddefgarwch yn fy nghlefyd,
Chwant ddo'd[E] attat a dattodyd.[F]

33.
Crist, rho d' Ysbryd i'm diddanu,
A'th angylion i'm castellu;[G]
Gwna'r awr olaf fy awr oreu,
Rho imi'r goron ar awr angau.[H]

34.
Crist, fy Mugail, cadw f'enaid,
N'ad i'r llew o'th law ei scliffiaid,[I]
Tydi'i prynaist yn ddrud ddigon,[J]
Dwg e' i'r nef at dy anghelion.

## CXV.—RHYBUDD I'R CLAF I ALW AM WEINIDOG I'W GYNGHORI EF, AC I WEDDIO DROSTO.

1.
PAN glafychech, cais offeiriad,
Yn ddi-aros ddyfod attad,
I weddïo dros dy bechod,[A]
A'th gyf'rwyddo i fod yn barod.

2.
Crist a bwyntiodd[B] yr offeiriaid,
Yn Bysygwyr[C] doeth i'r enaid,
Ac a roddwys iddynt eli,
I wrth'nebu pob drygioni.

3.
Adde'th bechod wrth y 'ffeiriad,
Fe ry iti gynghor difrad;
Fel y gallo roi cyf'rwyddyd,
Yn ol naws[D] a rhyw dy glefyd.

4.
Cred beth bynnag dd'wetto'r 'ffeiriad,
O air Duw,[E] yn brudd[F] am danad,
Can's llais Crist ei hun yw hynny,
I'th geryddu[G] neu'th ddiddanu.

[U] Llydanu, helaethu. [V] Hezekiah, brenhin Judah. 3 Bren. 20. 6. [W] Ofn, dychryn. [X] Luc 10. 33, 34. [Y] *Traveller*, ymdeithiwr. [Z] Truenus, galarus. [A] Trwm iawn. [B] Job 13. 15. [C] Ag riadau. Dat. 1. 18. [D] *Promises*, addewidion. [E] I ddyfod. [F] Phil. 1. 23. [G] Cadw, amddiffyn. [H] 2 Tim. 4. 8. [I] Ysglyfiaw, ysglyfaethu. [J] 1 Petr 1. 19.

[A] Am faddeuant o'th bechod. [B] *Appoint*, trefnu. [C] *Physicians*, physygwyr, meddygon. [D] Natur. [E] "Pan lefaro'r Gweinidog allan o air Duw, y mae Crist yn llefaru trwyddo."—S. Hughes. [F] Yn ddifrifol. [G] "I'th rebycco," (*Rebuke*, ceryddu.)—S. Hughes.

5.

Deisyf arno brudd weddïo,
Ar i'r Arglwydd dy recyfro,[H]
I roi iti gyflawn iechyd,
Neu yn rasol dderbyn d'yspryd.

6.

Mae Duw'n addo gwrando'r 'ffeiriad,
Pan gweddïo'n ol ei alwad :[I]
Crist a ddyry ei ganlyniaeth,[J]
Oni phwyntiodd dy farwolaeth.

7.

Deisyf arno dy gyfnerthu,
Rhag i Satan dy orchfygu,
A llonyddu dy gydwybod,
Pan y'th fliner gan dy bechod.

8.

Goddef chwilio[K] dy gornwydion,
Godde' i'r gair fraenaru'r galon,
Fel y gallo fwrw ynddi,
Win ac olew gydag Eli.

9.

Gwell it' adael i'r offeiriad
Ddangos it' dy ddrwg ymddygiad,
Fel y gallech edifaru,
Nag o'i blegid gael dy ddamnu.[L]

10.

Ti gai gynghor[M] rhag dy bechod,
I lonyddu dy gydwybod ;
Ti gai gomffordd[N] gan y 'ffeiriad,
Os mewn pryd ei gelwi attad.

11.

N'âd y 'ffeiriad heb ei alw,
Nes y b'ech yn hanner marw;
Ni all 'ffeiriad y pryd hynny,
Na neb arall dy ddiddanu.

12.

Oh ! pa nifer o Frutanniaid
Sydd yn meirw fel 'nifeiliaid,
Eisiau ceisio nerth y 'ffeiriad,
I gyf'rwyddo eu 'madawiad.

13.

Er bod Duw yn abal[O] cadw
Sawl a fynno, heb eu galw,
Nid yw'n cadw fawr o enaid,
Ond trwy swydd a gwaith offeiriaid.[P]

14.

Cais gan hynny, gynta' ag allech,
'Ffeiriad attad pan glafychech;
I roi pwrg[Q] yn erbyn pechod,
'Rhwn yw achos dy holl nychdod.

## CXVI.—GWEDI CAEL CYNGHOR PHYSYGWR YR ENAID, CAIS GYFARWYDDYD PHYSYGWR Y CORPH.

1.

Yn ol cynghor yr Eglwyswr,
Cais gyf'rwyddyd y Physygwr;
Duw a roes i hwn gelfyddyd,
I'th iachau o lawer clefyd.

2.

Duw ordeiniodd yr offeiriaid,
I iachau doluriau'r enaid ;[A]
A'r physygwr a'r meddygon,
I ymg'leddu cyrph y cleifion.

3.

Llawer dyn sy'n marw'n fudyr,[B]
Eisiau cymhorth y physygwyr,
Gan fyrhau eu hoes a'u hamser,
Yn enbeidus[C] eisiau eu harfer.

4.

Corph pob dyn yw tŷ ei enaid,
Rhaid reparo[D] hwn a'i drefnaid ;[E]
Rhaid i bob-dyn, hyd y gallo,
Gadw ei dŷ ar draed heb gwympo.

5.

Arfer gymhorth physygwriaeth,
Yn dy glefyd trwy Grist'nogaeth ;
Duw ordeiniodd[F] hon yn gysur,
I blant dynion rhag pob dolur.

6.

Y neb wrthodo physygwriaeth,
Y roes Duw er iechydwriaeth,[G]
Mae'n gwrth'nebu maeth ei anian,[H]
Ac yn mwrddro'i[I] gorph ei hunan.

[H] *Recover*, adferu, gwellhau. [I] Iago 5. 14—16. [J] Dymuniad, cais. [K] "Lawnso."—S. Hughes. *Lance*, agor â chyllell lem. [L] Damnio, condemnio, collfarnu. [M] Golygir yma y cynghor i'r claf yn Nhrefn yr Eglwys Sefydledig ; ond ni wna unrhyw gynghor les, oni weithredir yn unol âg ef. Iago 1. 22. [N] *Comfort*, diddanwch. [O] *Able*, galluog. [P] Dywed yr ysgrythyr (Rhuf. 10. 17), mai trwy glywed y mae ffydd yn dyfod ; am hynny dylai dyn yn amser iechyd sylwi yn fanwl ar Air yr Arglwydd. Ni ddylai yr hyn a ddywed y Ficer yn y Gân hon, am lesholdeb gweinidogaeth Offeiriad mewn cystudd, feithrin rhyfyg yn neb, na'u tueddi i oedi pethau anhebgorol i iechydwriaeth, hyd amser cystudd neu awr marwolaeth ; oblegid os na ddaw angau yn ddisymmwth ac yn ddirybudd, y mae clefyd trwm yn hollol anaddasu dyn i fyfyrio ar bethau pwysig. [Q] *Purge*, meddyginiaeth garthiadol.

[A] "I fod yn offerynnau i iachau yr enaid."—S. Hughes. [B] Yn frwnt. [C] Enbydus, peryglus, [D] *Repair*, adnewyddu. [E] Trefnu. [F] *Ordain*, trefnu, gosod. [G] Iachad. [H] Natur. [I] *Murder*, llofruddio.

7.

Y llysieuyn salwa' welech,
Ar gyf'rwyddyd waela' gaffech,
All roi help[J] a iechyd iti,
Os rhy Duw ei fendith arni.

8.

Swp o ffigys, os bendithia,
All iachau y cornwyd mwya':[K]
A'r gyf'rwyddyd ni thal un-rhith,[L]
All roi help, ond cael ei fendith.

9.

Ond pe ceit ti Balm[M] a Nectar,[N]
Cennin Peder,[O] Cerrig Besar,[P]
Olew a Myrrh,[Q] a gwin a gwenith,
Ni wnant les heb gael ei fendith.

10.

Cais gan hynny fendith hyfryd,
Gan dy Dduw ar bob gyf'rwyddyd;
Heb ei fendith ni wna'r benna'
Ond troi'n wenwyn yn dy gylla.

11.

Nac ymddiried i'r physygwyr,
Nac un fetswn[R] f'ont yn wneuthur,
Rhag dy farw megis Asa,[S]
Eisiau 'mddiried i'r Gorucha'.

12.

Nid oes rhinwedd ar lysieuach,
Grym mewn eli, na diottach,
I leihau o'n cur a'n poenfa,
Os yr Arglwydd nis bendithia.

13.

Duw sy'n rhoddi rhad[T] ar lysiau,
Grym mewn eli a chyfyrddonau;[U]
Lle bendithio Duw, hwy lwyddant,
Lle ni fynno Duw, ni thicciant.

14.

Cais gan Dduw roi bendith hyfryd,
Ar bob metswn a chyf'rwyddyd;
Heb ei fendith ni wna'r benna'
Ond troi'n wenwyn yn dy gylla.

## CXVII.—GWEDDI'R CLAF CYN CYMMERYD PHYSYGWRIAETH.

1.

AWDWR iechyd, Lluniwr llysiau,
Rhoddwr rhinwedd, Rhwymwr angau,
Tywallt fendith, rhad a iechyd,
Ar y metswn[A] wyf fi'n gym'ryd.

2.

Ti ordeiniaist[B] amryw lysiau,
Diod, eli, a chyferddonau,[C]
I ymgeleddu meibion dynion,
Yn eu gwendid a'u clefydon.

3.

Yn ol d'wyllys a'th ordeiniaeth,
'Rwyf fi'n cym'ryd physygwriaeth,
I ostegu peth o'm didri;[D]
Rho dy fendith, Arglwydd, arni.

4.

Gwn na ddichon un creadur,
Na chyf'rwyddyd laesu ngwewyr,
Oni byddi di'n bendithio
'Rhyn a roer, a'r hwn a'i cym'ro.

5.

O, gan hynny, prudd fendithia
Y gyf'rwyddyd a gymmera',
Fel y rhoddo hon im' gysur,
Ac y llaeso[E] fy holl wewyr.

6.

Peraist gynt i'r ffigys diflas
Iachau cornwyd Hezecias;[F]
Par, O Arglwydd, i'r gyf'rwyddyd
Hon roi 'minnau gyflawn iechyd.

7.

Ti iachaist olygon Tobi,[G]
Gynt âg afu'r[H] pysg annigri':
O iacha fy nolur innau,
A'r rhai hyn dy gyfyrddonau.

8.

Fel y peraist i ddw'r Jordan,[I]
Olchi ffwrdd wahanglwyf Naaman,[J]
Felly par i'r ddiod yma,
Dynu ffwrdd fy nghur a'm poenfa.

9.

Fel y peraist gynt i'th boeryn
Rhoddi golwg i'r cardottyn:[K]
O pâr, Arglwydd, i'r gyf'rwyddyd
Hon roi minnau gyflawn iechyd.

10.

Gwn y gelli trwy fath foddion,
Neu heb un, iachau clefydion:
Llaesa 'nolur yn ol d'allu,
Os bydd d'wyllys yn cennadu.

[J] *Help*, cymhorth. [K] 2 Bren. 20. 7. [L] Dim. [M] Sudd pren, a arferid yn feddyginiaeth. [N] *Nectar*, meddai y paganiaid, oedd y ddiod a yfai eu duwiau. [O] Llysiau tra meithrinol. [P] *Bezar*, cerrig a fegir yn ymysgaroedd rhai anifeiliaid, ac a ystyrid gynt yn rhinweddol i wrthwynebu gwenwyn, a symmud clefydion ymaith. Cyfrifid hwynt mor werthfawr, fel y prynid hwynt weithiau am ddengwaith eu pwys o aur; ac y maent mewn bri etto yn y gwledydd dwyreiniol, lle y cynnyrchir hwynt yn bennaf. [Q] Sudd pren. [R] *Medicine*, meddyginiaeth. [S] 2 Chron. 16. 12. [T] Bendith. [U] Cyfarwyddyd.

[A] *Medicine*, meddyginiaeth. [B] *Ordain*, trefnu. [C] "Pethe i iachau pobol."—T. Durston. [D] Trallod, anhwyldeb. [E] Y lleihao. [F] Esay 21. 21. [G] Tobit. [H] Bustl. Tobit 11. 11—13. [I] Yr Iorddonen. [J] 2 Bren. 5. 14. [K] Marc 8. 23.

11.
Ond os pwyntiais[L] ti fy niwedd,
A'm llwyr dynnu i'th drugaredd;
Duw, dy 'wyllys di gyflawner,[M]
'Rwy'n ymostwng it' bob amser.

12.
Ond rho imi ras a phŵer,[N]
Grym a gallu, y cyfamser,
'Ddwyn fy nolur yn ddioddefgar,
Megis Cristion yn ddidrydar.[O]

13.
A rho d' Ysbryd i'm cyfnerthu,[P]
Yn fy mlinder i'th foliannu,
Ac i ddwyn dy groes a'th wialen,
Yn 'wyllysgar ac yn llawen.

14.
A phar i mi fod yn barod,
'Ddwad[Q] attad ac ymddattod,
A rhoi f'enaid yn 'wyllysgar,
Yn dy ddwylo, Arglwydd hygar.

15.
O fy Arglwydd gwn y gelli
Fy iachau yr awr y mynni:
Oni fynni laesu 'mlinder,
Duw, dwg f'enaid i'th esmwythder.

## CXVIII.—RHYBUDD I'R CLAF I OCHELYD CEISIO CYMHORTH SWYNWYR A DEWINIAID.

1.
Gochel geisio help gan swynwyr,[A]
Yn dy flinder tost a'th ddolur:
Gado Duw mae'r cyfryw ddynion,
Ac addoli gau-dduw Ecron.[B]

2
Na chais help i'r corph mor embaid,[C]
Gan y diawl sy'n lladd yr enaid;
Nid oes un physygwr[D] allan
Waeth na'r diawl i helpu'r egwan.

3.
Nid yw swyn ond hug[E] i'th dwyllo,
Gwedi i Satan ei ddefeisio,[F]
I ddifethu d'enaid gwirion,
Pan y swyner dy glefydion.

4.
Nid yw'r swynwr ond apostol[G]
Ffalst[H] i'r diawl, i dwyllo'r bobol,
Oddiwrth Grist, mewn poen a thra-
I butteinia ar ol y cythraul. [fael,[I]

5.
Twyllo'r corph a lladd yr enaid,[J]
Digio Duw, boddloni diawlaid,
Gwrthod Crist, a'r maint sydd eiddo,
Y mae'r swyn a'r sawl a'i cretto.

6.
Ceisio'r cythraul yn physygwr,
Ydyw ceisio help gan swynwr:
Ceisio'r diawl i ddarllen tesni,[K]
Yw â dewin ymgynghori.

7.
Ceisio gwir gan dad y celwydd,[L]
Yw ymofyn â d'rogenydd:
Ceisio help i ladd yr enaid,
Ydyw ceisio swyn hudoliaid.[M]

8.
Na châr swynwr mwy na cythraul,
Mae'n dy demtio yn dy drafael:
Glŷn wrth Grist, er maint yw'th flin-
Cais ei nerth, ti gei esmwythder. [der,

## CXIX.—GWEDDI FYRACH I'R CLAF I'W HARFERU YN EI GLEFYD.

1.
Duw trugarog, Tad diddanwch,
Awdwr iechyd, pen dedwyddwch,
Gwrando waedd pechadur nychlyd,[A]
Sydd yn beggian[B] cymhorth gennyd.

2.
Daeth fy mhechod yn dy olwg,
A'm holl fuchedd oedd yn gynddrwg;
A chan gymmaint oedd fy nhraha,[C]
Ti ddanfonaist glefyd arna'.

3.
Haeddais, Arglwydd, drymmach pen-
Tostach twymyn, casach clefyd, [yd,[D]
Blinach dolur, byrrach amser,
Pe'm talasit wrth gyfiawnder.

4.
Di allasit dorri 'ngwddwg, [E]
Am fy muchedd oedd yn gynddrwg,
Neu fy moddi, neu fy mwrddro,[F]
Heb roi amser im' ym'gweirio.[G]

[L] *Appoint*, trefnu, penderfynu. [M] Mat. 26. 42. [N] *Power*, nerth, gallu. [O] Yn ddiachwyn. [P] Cynnorthwyo. [Q] I ddyfod.

[A] Deut. 18. 10—12. Lef. 19. 31. [B] Baal-zebub, duw Ecron. 2 Bren. 1. 16. [C] Enbyd, peryglus. [D] *Physician*, un yn deall anian, meddyg. [E] Gorchudd, hudoliaeth. [F] *Devise*, dychymmygu. [G] *Apostle*, cennad, negeswr. [H] *False*, gau, celwyddog. [I] *Travail*, trafferth. [J] Dat. 21. 8. [K] *Destiny*, digwyddiadau bywyd; rhagfynegu damweiniau. [L] Ioan 8. 44. [M] Twyllwyr.

[A] Afiach, darfodedig. [B] *Beg*, erfyn, ceisio. [C] Balchder, uchder yspryd. [D] Cospi. [E] Fy ngwddf. [F] *Murder*, llofruddio. [G] Ymbarottoi.

5.

'Nawr 'rwy'n gwel'd dy gariad attaf,
Yn rhoi clefyd c'ruaidd[H] arnaf,
I'm ceryddu am f'anwiredd,
Ac i'm cyffro i wella 'muchedd.

6.

Nid 'wyllysi, Duw'r holl gysur,
Ddrwg farwolaeth un pechadur;
Ond yn hytrach gwella ei fuchedd,
I gael bywyd a thrugaredd.[I]

7.

Trwy'r fath glefyd blin corphorol,
'Rwyt i'm cofio 'mod yn farwol;
A thrwy flinder tost a thristwch,
'Rwyt i'm gwa'wdd i edifeirwch.[J]

8.

Er i'm haeddu dy ddigofaint,
A'th lidiawgrwydd tost yn gymmaint,
Arglwydd grasol na cherydda
Fi â'th lid a'th gerydd mwya'.[K]

9.

Mae dy saethau wedi 'nghlwyfo
Mae fy esgyrn gwedi'u briwio,
Mae fy yspryd wedi gryddfu;[L]
Arglwydd, tyred i'm diddanu.

10.

Tydi'm clwyfaist am fy mhechod,
Minnau haeddais hyn o drallod;
Nid oes neb, fy Nuw am hynny,
Ond tydi all fy ngwaredu.

11.

Tydi sy'n lladd ac yn bywhau,
Tydi sy'n clwyfo a iachau,
Yn dwyn i'r bedd, yn adgyfodi,
Yn trugarhau, ac etto'n cospi.[M]

12.

Tydi, O! Dduw, sy'n danfon clefyd,
Tydi yn unig all roi iechyd;
Nid oes neb all llaesu 'nolur,
Ond tydi, na roi i'm gysur.

13.

Er dy fwynder a'th drugaredd,
Er dy enw a'th anrhydedd,
Maddeu 'mhechod, llaesa 'nolur,
Gwared fy enaid, rho im' gysur.

14.

Oni phwyntiaist[N] fy marwolaeth,
A diweddu fy milwriaeth,
Arglwydd, llaesa ar fy mlinder,
A rho imi beth esmwythder.

15.

Dymchwel,[O] Arglwydd, i'm diddanu,
O fy Nuw, pa hyd y sorri?[P]
Gwel fy mhoen, a chlyw fy nghwynfan,
Tro dy lid, iacha fi weithian.

16.

C'weiria 'ngwely yn fy nghystudd,
Tro fy nhristwch yn llawenydd,
Rhwyg fy sach,[Q] a sych fy neigrau,
Llaesa 'mhoen, iacha 'noluriau.

17.

Maddeu 'mhechod, torr fy nghlefyd,
Tynn fi o'r ffos, a rho i'm iechyd,
Fel y gallwyf dy glodfori,
Yn fy mywyd â'm holl allu.

18.

Yn y bedd, O! Dduw pwy'th goffa?
Yn nhir angau pwy'th glodfora?[R]
Sparia[S] 'mywyd, Arglwydd grasol,
I'th glodfori gyda'r bywiol.

19.

Felly canaf it' yn hyfryd,
Glod a moliant am fy mywyd:
A thra ynof rym a chwythiant,
Mi ddatganaf dy ogoniant.[T]

## CXX.—RHYBUDD I'R CLAF I WNEUTHUR EI EWYLLYS MEWN PRYD, A DOSPARTHU EI BETHAU MEWN OFN DUW.

1.

Oni wnaethost etto d'wyllys,[A]
Dod dy dŷ mewn trefn weddus;[B]
Dosparth[C] d' olud megis Cristion,
Yn Grist'nogaidd ac yn union.

2.

Cais gan Dduw ei nefawl Yspryd,
I roi iti lawn cyf'rwyddyd,
I gyfranu d' olud bydol,
Yn ol gwyllys dy Dad nefol.

[H] Naturiol, esmwyth. [I] Ezec. 33. 11. [J] Amos 4. 10. Micah 6. 9. [K] Psalm 6. 1, a 38. 1. [L] Gofidio gan boen. [M] 1 Sam. 2. 6. Hos. 6. 1. [N] *Appoint*, trefnu, penderfynu. [O] Dychwel. [P] Digio, llidio. [Q] Gwisg o sachliain, arwydd galar ac ymostyngiad. [R] Psalm 6. 5, a 30. 9. [S] *Spare*, arbed. [T] Psalm 30. 12.

[A] Testament, llythyr cymmun. [B] Esay 38. 1. [C] Rhanna.

3.

Rho dy enaid bach i'th Brynwr,[D]
Crist a'i piau, dy Iachawdwr:
Rho dy gorph i'r ddae'r lle cafad,[E]
Hyd nes delo'r adgyfodiad.

4.

Tynn, fel Jacob, ddefaid Laban,[F]
A da eraill, o'th dda allan;
Rho i bob-dyn ei iawn eiddo,
Tal dy ddyled cyn ymado.[G]

5.

Na ddod geiniog yn dy 'wyllys,
O dda eraill yn gamweddus,
Rhag eu taflu yn dy ddannedd,[H]
O flaen Duw, ar ddydd dy ddiwedd.

6.

Ac na chytgam, er dy fywyd,
Roi i'th blant anghyfiawn olud:
Ni wna hyny, ond eu hela[I]
I gyrwydro a chardotta.

7.

Er na feddech ond tair anner,
I rhoi rhyngthynt trwy gyfiawnder,
Gwell y llwydda hyn i'th eppil,
Na thrwy gamwedd pe roit dair-mil.

8.

Gwell y llwyddodd rhandir Abram,
Nag y llwyddodd teyrnas Joram,[J]
A'r gohilion[K] a ga's Iago,[L]
Na phraidd Laban gwedi'u hyso.[M]

9.

Fel y bwyttodd gwinllan Naboth
Deyrnas Ahab a'i holl gyfoeth:[N]
Felly bwytty'r geiniog 'sgeler,[O]
Faint a feddech trwy gyfiawnder.

10.

Ceiniog ddrwg, pwy bynna'i caffo,
Sydd fel gwartheg truain Pharao,
Rhai fwyttasant ei dda tewion,
Heb fod llawnach eu coluddion.[P]

11.

Rho gan hynny'r hyn sydd union,
Rhwng dy blant, a'th ffrins,[Q] a'th weis- [ion;
Ac na chytgam,[R] er dy fywyd,
Roi i neb anghyfiawn olud.

12.

Fel y llwyddodd Duw y manna,[S]
Toes y weddw o Serepta,[T]
Olew'r weddw dlawd a'i meibion,[U]
Felly llwydda'r gronyn cyfion.

13.

Rho i Isaac, dy etifedd,
Ei 'difeddiaeth yn ddi-duedd;
A rho i'r lleill o'th blant o bob-tu,
Fodd i fyw yn ol dy allu.[V]

14.

Rho i'th wraig ei chyflawn draian,[W]
Na ro iddi lai na'i chyfran;
O roi 'chwaneg, mae yn rhugul,[X]
Fod y fath yn nafu'r eppil.

15.

N'âd was ffyddlon heb ei wobar,
Rho i'th gâr tlawd help o'r heiniar;[Y]
N'âd dy weithiwr heb ei gyflog;
Crïo'n[Z] dost a wna'r fath geiniog.

16.

Cofia'r 'fengyl, cofia'r Eglwys,
Gofia'r College[A] a'th fanteiniwys;[B]
Cofia'r wlad a'r dref y'th fager,
Os bydd gennyd fodd a phŵer.[C]

17.

Os goludog wyt heb eppil,
Ac yn caru Crist a'i 'fengyl,
Adail[D] ysgol rydd yng Nghymru,
Lle mae eisiau: dysg sy'n methu.

18.

Cofia Joseph sy'n y carchar,
Rho beth help i borthi Lazar,[E]
Rho yn awr dy rodd tra gallech,
Dyma'r rhodd diwetha' roddech.

19.

Maint y roech i'th blant a'th drasau,[F]
Dy wraig, a'th blant, a'th ffrins a'i piau;
Y maint y roech i'r tlawd a'r truan,
Storio'r[G] wyt i ti dy hunan.

20.

Dyro'n ol yr hyn a dreisiaist,
Gwna iawn dâl i'r rhai orthrymmaist,
Tâl dy ddyled cyn dy symmud,
Yn y pwll nid oes dymchwelyd.[H]

[D] Act. 7. 59. "Os buaist fyw yn dduwiol, fe dderbynir dy enaid i'r nef; ond nis gwneir felly, os marw a wnei di yn annuwiol. Mat. 7. 21."—S. Hughes. [E] Y cafwyd. [F] Gen. 30. 40. [G] Rhuf. 13. 7. [H] Rhag eu ddanod i ti. [I] Gyrru. [J] 2 Bren. 9. 25, 26. [K] Gwehilion, y rhai gwaelaf. [L] Jacob. Gen. 30. 42. [M] Difa. [N] 1 Bren. 2. 1, 19—24. [O] Drwg anghyfiawn. [P] Gen. 41. 4. [Q] *Friends,* cyfeillion. [R] Cynnyg, rhyfygu. [S] Gen. 16. 18. [T] 1 Bren. 17. 16. [U] 2 Bren. 4. 2–6. [V] Gen. 25. 5, 6. [W] Y drydedd ran. [X] Amlwg, cyhoeddus. [Y] Cynnyrch y maesydd. [Z] *Cry,* llefain. Iago 5. 4. [A] *College,* ysgoldy, athrofa. [B] *Maintain,* cynnal. [C] *Power.* gallu. [D] Adeiladu. [E] Lazarus y cardottyn. Luc 6. 20, a 19. 8. [F] Perthynasau. [G] *Store,* trysori. [H] Talu neu wneuthur iawn i'r gorthrymmedig.

21.

Dyro'r badell, dyro'r crochan,
Dyro'r tai, a'r tir a'r arian,
Yn eu hol i'r rhai a'u piau,
Rhag dy fyn'd i'r didrangc boenau.

22.

Nâd i dyddyn y dyn gwirion,
'Rhwn a dreisiaist yn anghyfion,
Beri it' golli teyrnas nefol:
Rho ei dyddyn yn ei wrthol.

23.

'Nawr di elli megis Zache',[I]
Wneuthur iawn am dy droseddau,[J]
Yn y pwll[K] ni bydd i'th bŵer,
Dalu'r hatling pan gofyner.

24.

Prawf[L] gyttuno â'th wrthnebwr,
Cyn dy fyn'd o flaen y Barnwr,[M]
Rhag dy droi i'r dwnsiwn[N] isaf,
Lle rhaid talu'r hatling eithaf.

25.

'Nawr ni fynny, mwy na phagan,[O]
Ddilyn cynghor Crist ei hunan;
Ond ti fwytty gig dy freichiau,
Eisiau'i ddilyn cyn mawr ddyddiau.

26.

Pa sawl mil sy'n nhân uffernol
Eisiau rhoddi trais yng ngwrthol,[P]
Rhai a roddent heddyw'r holl-fyd
Yn sarhad[Q] i'r tlawd, pes cym'ryd?

27.

Os yn erbyn Duw y pechu,
Ti gei bardwn[R] ond 'difaru;
Os yn erbyn dyn, ni faddau
Duw, nes caffo'r tlawd a ddylai.

28.

Os bu farw'r rhai a dreisiaist,
Rho i'w plant y maint a ddygais,
Ac os aethant o'r wlad allan,
Rho eu rhan i'r tlawd a'r truan.

29.

Na ro rhwng dy blant yn anghall,
Y peth a biau un dyn arall:
Ni wna hynny ond dy ddamnio[S]
A throi d'eppil i gyrwydro.

30.

Na rho rhwng dy blant, trwy 'wyllys,
Ddim ennillaist yn gamweddus,
Trwy usuriaeth,[T] trais, neu ffalstedd;
Drwg y llwyddant yn y diwedd.

31.

Craffa blant yr occrwyr[U] mawrion,
A'r gorthrymwyr a'r carn ladron,[V]
Yn ceiniocca[W] mewn eglwysydd,
Ac yn dwyn y waled[X] beunydd.

32.

Felly tygfydd[Y] i'th blant dithau,
O rhoi iddynt dda annifai;[Z]
Canys dial Duw yn rhugyl
Drais ar dadau, ac ar eppil.[A]

33.

Dod di ofan Duw, gan hynny,
O flaen dy wyneb wrth ddosparthu;
Rho i bob dyn ei dda cyfion,
Rhanna'r cwbwl lle bo achosion.

34.

Duw a roddo it' gyf'rwydd-deb,
Ac a'th nertho i wneuthur d'atteb:[B]
Duw a'th gadwo rhag camsynied,
Duw fo Ceidwad ar dy enaid.

## CXXI.—LLYTHYR YR ANRHYDEDDUS SYR LEWIS MANSEL, O FARGAM, YN SIR FORGANWG (FEL YR YDYS YN TYBIED) AT FICER PRICHARD.

1.

Gwr wyf yn dioddef maethgen,[A]
Rhyw bendro dost sy'm talcen,
Ys amser hir, (yr Arglwydd hael!)
Heb allael cael ei orphen.

2.

Cei's chynghor, a pharactys[B]
Doctoriaid,[C] gwŷr synwyrus,
I geisio help; nid llai fy mloedd,
Er myn'd dros foroedd trwblus.[D]

3.

Pan ffaelodd[E] lles corphorol,
'Rwy'n anfon at wŷr duwiol,
Eglwysig, call, dros dir a môr,
I geisio cynghor hollol.

4.

I ddysgu p'un mae'r Hael-Dad
O ddigder, neu o gariad,
Yn danfon ar ei bridwerth[F] bla,
Rhyw groes neu boenfa irad.[G]

[I] Zacheus. Luc 19. 8. [J] Dy droseddau yn erbyn dynion. [K] Y bedd. Preg. 9. 10. [L] Ceisio, ymdrechu. [M] Mat. 5. 25. [N] *Dungeon*, daeardy, carchar tywyll tan y ddaear. [O] Dyn heb broffes o Gristionogaeth. [P] Yn ol. [Q] Iawn am gamwedd. [R] *Pardon*, maddeuant. [S] *Damn*, collfarnu. [T] Codi gormod o log. [U] Usurwyr, crib ddeilwyr. [V] Lladron nodedig, prif-ladron. [W] Casglu ceiniogau. [X] *Wallet*, cŵd, cwdyn deupen. [Y] Y digwydd. [Z] Drwg, heb fod yn ddifai. [A] 1 Thes. 4. 6. Exod. 20. 5. [B] I roddi cyfrif yn llawen yn y farn.

[A] Poen, cystudd. [B] *Practise*, ymarferiad, gwasanaeth. [C] *Doctors*, meddygon. [D] *Troubled*, terfysglyd. [E] *Fail*, methu. [F] Un a brynwyd yn ddrud. [G] Tost, gofidus.

## CXXII.—Atteb, addysg, cynghor, a chysur,

I'R ANRHYDEDDUS SYR LEWIS MANSEL, O FARGAM, YN EI GLEFYD; YR HYN ALL FOD YN FUDDIOL I BOB DYN DUWIOL YN EI GLEFYD A'I ADFYD.

1.
ANWYL Gristion, clywais dd'wedyd
I Dduw anfon arnad glefyd,
Ac na wyddost pu'n ai o gariad,
Ai o gas yr helodd[A] attad.

2.
'Rwy'n dy atteb mewn byrr eiriau,
Ac yn myneg [B] iti'n oleu,
Nad o gerydd,[C] ond o gariad,
Y rhoes Duw wialen arnad.

3.
Nid dy elyn sy'n dy faeddu,[D]
Dy Dad grasol sy'n dy ddysgu,
Trwy ddarostwng dy gnawd diriaid,[E]
Fel y galler cadw d'enaid.

4.
Nid yw'r clefyd hyn ond cennad,
Helodd Crist dy Brynwr attad,
I dreio'th[F] ffydd, a'th hir amynedd,
A'th rybuddio am dy ddiwedd.

5.
Derbyn gennad Duw'n roesawgar,
Ymddwg dano yn ddioddefgar;
A rho ddiolch o wraidd calon,
I'th Dad nefol am ei ddanfon.

6.
Ni wna'r clefyd niwed iti,
Mwy na'r pwrg [G] sy'n carthu'r geri;[H]
Ni wna rwystyr, ond dy buro,
I gael oes o newydd etto.

7.
Ni bu gwin erioed heb waddod,
Ni bu aur erioed heb sorod,
Ni bu gwenith heb ei fasclau,[I]
Ni bu ddyn ond un [J] heb feiau.[K]

8.
Yr oedd Adda hen a'i bechod,
Lot a'i losgach,[L] Noah a'i feddwdod,
Moses, Aaron, a'u camweddau,[M]
Peder, Paul a mil o feiau.

9.
Gwybydd dithau, 'r marchog hyfryd,
Er hawddgared yw dy fywyd,
Nad wyt heb ryw fai i'th ddiblau,[N]
Can's dyn wyt, er maint yw'th ddoniau

10.
I nithio d'us, i doddi'th sorod,[O]
I wella'th fai, i dynnu'th waddod,
I ddofi'th gnawd, i nerthu d'yspryd,
Y danfonodd Duw dy glefyd.

11.
Nid i'th waethu,[P] ond i'th wella,
Nid i'th faeddu, nac i'th ddifa;
Ond i'th ddysgu a'th gyf'rwyddo,
Y mae'r Arglwydd yn dy daro:

12.
Er troi heibio fydol foethau,
A gwir hoffi nefol ddoniau,
Casau'r byd a'r maint sydd ynddo,
A dilyn Crist â'th draed a'th ddwylo.

13.
Rho fawr foliant prudd [Q] gan hynny,
I'th Dad nefol am dy ddysgu, [rwydd,
'Rhwn sy'th wneuthur, trwy serchog-
Yn gyfrannog o'i sancteiddrwydd. [R]

14.
Y neb a garo Duw, fe'i cospa,
Pob mab anwyl fe'i ffonnodia ;[S]
Y dyn ni chospo Duw ei bechod,
Bastardd yw, nid mab o briod.

15.
Mae Duw'n cospi'r rhai anwyla',
A rhyw groes neu gilydd yma,
Rhag eu myned yn ddamnedig,
Gyda phlant y byd gwrthnysig.[T]

16.
Nid glân gwenith nes y nithier,
Nid gwynn cambric [U] nes y golcher,
Nid pur aur coch nes ei doddi,
Nid da Cristion nes i gospi.[V]

[A] Anfonodd, gyrrodd. [B] Mynegu, hyspysu. [C] O ddigofaint. [D] Curo. [E] Drwg. [F] *Try*, profi. [G] *Purge*, meddyginiaeth garthiadol. [H] Bustl, llysnafedd. [I] Plisg, cibau. [J] Sef Crist. Heb. 4. 15. 1 Peter 2. 22. [K] 1 Ioan 1. 8. [L] Godineb â pherthynasau gwaharddedig. [M] Num. 20. 12. [N] Conglau. Psalm 19, 12. [O] Ammhuredd. [P] Gwaethygu. [Q] Dwys, ystyriol. [R] Heb. 12. 5—11. [S] Curo â ffon. [T] 1 Cor. 11. 32. [U] *Cambric*, lliain teg, a elwid felly oddiwrth enw Cambray, tref yn Ffraingc, lle y gweneid llawer o hono. [V] Psalm 119. 67. 71.

17.
Ni ry'r grawn wîn nes eu gwasgu,
Ni ry'r thus[w] sent[x] nes ei fygu,
Ni ry'r fflint[y] dân nes y ffuster,[z]
Na dwyn ffrwyth da nes cystuddier.

18.
Y clofs[A] a 'rogla'n well o'u pwnian,[B]
Y vine[C] a danna'n well o'i chroppian,[D]
Y palm[E] a dyf yn well o'i blygu,
A'r dyn y fydd yn well o'i faeddu.

19.
Pa fwyaf sanger ar y gammil,[F]
Mwya' 'rogla'u gwynt yn rhugyl;
Pa fwyaf wasger ar y Cristion,
Mwyaf fydd ei ffydd a'i ofon.[G]

20.
Ystyr, mai er lleisant iti,
Y mae'r Arglwydd yn dy gospi,
Ni phery'r gosp ond ennyd fychan,
Fe bery'r lles dros hir-oes gyfan.[H]

21.
Na wan-ffyddia yn dy glefyd,
Yn llaw Duw y mae dy fywyd;
Fe ry oes a iechyd etto,
Ac esmwythder, ond ei geisio.[I]

22.
Cymmer cysur, cod dy galon,
Ymwrola, bydd obeithlon,[J]
Fe ddaw Crist â help ar fyrder,
Ac a laesa d'anesmwythder.

23.
Y llaw'th drawodd, honno'th helpa,
'R hwn a'th glwyfodd a'th elïa,[K]
A'r neb helodd attad glefyd,
Hwnnw a'i tynn, gan roi it' iechyd.

24.
Galw am help ar Dduw dy Geidwad,
Dy Dâd yw, fe wrendy arnad,
Cais ei gymmorth, ac fe'i dyry,
Llef yn daer ni feder ballu.[L]

25.
Pa beth bynnag yw dy glefyd,
F' all ei laesu a'i ddiffoddyd;
Cais ei gyfnerth, ac fe'i llaesa,
Trusta[M] ynddo, ac ni'th dwylla.

26.
Onis llaesa'r awr y mynnech,
Pwylla, aros, dan dy ortrech;[N]
Fe ddaw help o'r nef yn dambaid,[O]
Pan bo gwell ar les dy enaid.

27.
Ni chei aros awr ym mhellach,
Yn dy glefyd, na myn'd glafach,
Nag y welo Duw'n anghenrhaid,
Er lleshad i'th gorph a'th enaid.

28.
Goddef ronyn bach o gystudd,
Ti gei gwedi'n hir lawenydd;
Bydd ddioddefgar nes y delo,
Ti gei oes o newydd etto.

29.
'Rhwn a nerthodd Job mor hygar,
'Ddwyn ei glefyd yn ddioddefgar,
Nerthed dithau â'i Lân Yspryd,
Mor ddioddefgar ddwyn dy glefyd.

30.
A'r hwn helodd un o'i angylion,
I gymfforddi'i[P] Fab wrth Cedron,
Helo o'r nef ei angel hyfryd,
I'th gymfforddi yn dy glefyd.

31.
Dy ro'ist sampl dda'n dy iechyd,
Ini fyw mewn buchedd hyfryd;
Rho i ni etto siampl hygar,
I ddwyn clefyd yn ddioddefgar.

32.
Godde'th nefawl Dad dy drinio,
Goddef dynnu'r draen sy'n pigio,
Goddef wasgu'r crawn llosgedig,[Q]
Carthu'r clwyf, a sugno'r ysig.[R]

33.
Godde' i Grist gael tynnu'n gwbwl,
Gol[S] y sarph sydd yn dy sowdol,
Rhag i'r gwenwyn ddyrcha[T] i'r galon,
Ac inffecto'r[U] enaid gwirion.

34.
Mae Duw'n garcus[V] iawn am danad,
Gwell it' oddo' loes na bagad;[W]
Mae'n dy bwrgio'n[X] 'nawr trwy gys-
I gael iechyd yn dragywydd. [tudd

35.
Mae'n dy wneuthur yma'n addas,
I gael rhan o'i nefol deyrnas,
Mae e'n carthu'r holl ddrygioni,
Sy'n dy rwystro i wir oleuni.

36.
'Rwyt ti'n un o feini'r demel,
Rhaid dy naddu'i gyd wrth lefel,[Y]
Rhaid i'r morthwyl dy lwyr bario,[Z]
Os yn y nef y mynni drigo.

[W] Sudd pren a ddygir i'r wlad hon o Arabia; yr hwn, wrth ei losgi, a arogla yn beraidd. [X] *Scent*, arogl. [Y] *Fflint*, callestr, carreg dân. [Z] Y curer. [A] *Cloves*, math o ber lysiau. [B] Curo. [C] *Vine*, gwinwydden. [D] *Crop*, torri brigau. [E] *Palm*, palmwydden. [F] *Camomile*, llysieuyn arogl-ber. [G] 1 Petr 1. 6—8. [H] 2 Cor. 4. 17. [I] Os bydd hynny yn llesiol. [J] Yn llawn gobaith. [K] Hos. 6. 1. [L] Mat. 7. 7. [M] *Trust*, ymddiried. [N] Gorthrech, gorthrymder. [O] Tanbaid, cryf, amlwg, [P] *Comfort*, cysuro. Luc 22. 42. [Q] Poeth. [R] Briw, ysigodd. [S] Colyn. [T] Dyrchafu, codi. [U] *Infect*, llygru, gwenwyno. [V] *Careful*, gofalus. Psalm. 121. 3. [W] Llawer. [X] *Purge*, carthu glanhau. [Y] *Level*, rheol union. [Z] *Pure*, llyfnhau.

37.

'Rwyt ti'n wenith i'r Gorucha',[A]
Rhaid dy ddyrnu tra fe'ch yma,
Tynnu'r us a'r col [B] oddi wrthyd,
Cyn be'ch i Grist yn fara hyfryd.

38.

Ti ge'st lawer o felusder,
Ar law Duw er dechreu d'amser;
Rhaid it' brofi peth o chwerw,
Gyda'th Brynwr cyn dy farw.[C]

39.

Yf o'r cwppan chwerw lymmaid,
Yfodd Crist o'th flaen ei lonaid,
F' orfydd ar bob gwas ei dasto,[D]
Nid yw'r disgybl well na'i Athro.[E]

40.

Cofia i Grist dy Brynwr odde',
Dros dy bechod ti a minnau,
Fwy o flinder, ing, ac ysig;
O! goddefwn ninnau 'chydig.

41.

Ystyr nad oes sant yn gorphwys,
Mewn gogoniant ym mharadwys,
Na ddioddefodd fwy o gystudd:
Goddef dithau a bydd lonydd.

42.

F' orfu ar Abel odde'i fraenu,[F]
F' orfu ar Joseph odde'i werthu,
F' orfu ar Esay odde'i lifo,[G]
Cyn cael myn'd i'r nef i drigo.

43.

F' orfu ar Stephan odde'i bwnian,[H]
F' orfu ar Lawrence odde'i frwlian,[I]
F' orfu ar Iago odde'i wanu,[J]
Cyn cael nefoedd i'w meddiannu.

44.

F' orfu ar Beder odde'i hoelio,[K]
F' orfu ar Barth'lom'[L] odde'i flingo,
F' orfu ar Ifan [M] odde'i ferwi,
Cyn cael myn'd at Dad goleuni.

45.

Nid oes un yn credu'n gywir,
Yng Nghrist Iesu, hyn sydd siccyr,
Na raid iddo odde'n rhwyfodd,
Gystudd mawr, cyn myn'd i'r nefoedd[N]

46.

Nid eir o'r Aipht i Ganaan hyfryd,
Ond trwy'r môr a'r mynydd tanllyd:
Nid â neb i'r nef i daring,[O]
Ond trwy'r poeth a'r llwybyr cyfyng.[P]

47.

Mae'n rhaid dwyn y groes yn gyntaf,
Cyn cael dwyn y goron benaf;
Ni ddarllenais yn fy oes,
Gael y goron heb y groes.

48.

Dwg y groes [Q] fel milwr ffyddlon,
Ti gei gwedi'n ddwyn y goron:
Cyd-ddioddef gyda'r Iesu,
Ti gei gwedi'n gyd-deyrnasu.[R]

49.

Na chais nefoedd ar y ddaear,
Na chais wyn-fyd yn rhy gynnar,
Na chais iechyd di-drangc dewlwys,[S]
Nes y delech i baradwys.

50.

Ni chair melus heb y chwerw,
Ni chair gwynfyd nes in' farw,
Ni chair coron heb y groes,
Ni chair nefoedd heb ryw loes.

51.

Ni cha'dd un o'r patriarchiaid,[T]
Na'r prophwydi, na'r merthyriaid,[U]
Na'r 'postolion, na'r Messiah,
Fyn'd o'r byd heb lawer gwasgfa.

52.

Na chais dithau, fy anwyl-ddyn,
Gael y peth nas cafas un-dyn;
Ond ymroa, yn ddi-drydar,[V]
Ddwyn dy ddolur yn ddioddefgar.

[A] Mat. 3. 12. [B] Barf neu frigau yr ŷd. [C] Job 2. 10. [D] *Taste*, profi. [E] Mat. 10. 24. [F] Curo yn friw. [G] Y mae traddodiad cyffredinol i'r Prophwyd Esay gael ei lifio trwy ei ganol, wrth orchymmyn y brenhin gwaedlyd Manasseh, tua'r flwyddyn 861 cyn geni Crist; a bernir ei fod ef yn un o'r rhai "a dorwyd â llif," y cyfeirir attynt yn Heb. 11. 37. [H] Llabyddio, curo â cherrig i farwolaeth. Act. 7. 59. [I] *Broil*, pobi, golosgi.—St. Laurence, merthyr yn y trydydd canrif, oedd Ddiacon i'r Pab Sixtus II. Rhostiwyd ef i farwolaeth yn y flwyddyn 258, yn yr erledigaeth a gyfodwyd ar y Cristionogion gan Velerian, ymerawdwr tra chreulon yn Rhufain. [J] Brathu â chleddyf. Act. 12. 2. [K] Ioan 21. 18, 19. Dywedir i'r Apostol Petr gael ei groeshoelio a'i ben i lawr yn Rhufain, dan deyrnasiad Nero, ar yr un dydd, ac yn yr un man ag y torrwyd pen yr Apostol Paul. [L] Bartholomew, un o'r Apostolion. Dywed haneswyr iddo fyned i bregethu i'r India Ddwyreiniol; lle y cafodd ei flingo yn fyw, ac yna ei groeshoelio a'i ben i lawr. [M] Ioan yr Efengylwr. Dyweda haneswyr iddo unwaith gael ei daflu i bair o olew berwedig, ond iddo ddyfod allan yn fyw. Bu farw yn y diwedd o farwolaeth naturiol, yn Ephesus, tua'r flwyddyn 100 o oed Crist, pan ynghylch can' mlwydd oed. [N] Act. 14. 22. [O] *Tarry*, aros, trigo. [P] Mat. 7. 13. [Q] Mat. 16. 24. [R] 1 Tim. 2. 12. [S] "Di-loes."—S. Hughes. [T] *Patriarchs*, pennau teuluoedd, cyffion cenhedloedd. [U] *Martyrs*, tystion Crist, a oddefasant farwolaeth dros y gwirionedd. [V] Yn ddirwgnach.

53.
Cofia i Grist, dy Brynwr, odde'
Mwy o flinder am dy feiau;
Cofia ei groeshoelio drosot,
Ti anghofi'r loes sydd ynot.

54.
Ac na feddwl nad o gariad
Y roes Duw y clefyd arnad,
I'th sicrhau dy fod yn un
O'i etholedig [W] blant ei hun.

55.
Cofia fod pob peth yn gweithio,
Ar y goreu i'r dyn y gretto,[X]
Hyd y nod ei glwyf a'i glefyd,
A'i golledion, a'i holl adfyd.

56.
Cofia hefyd, nos a boreu,
Nad all croes, nac ing, nac angau,
Na dim arall ein gwahanu
Oddiwrth gariad Duw a'r Iesu.[Y]

57.
'R hwn a gododd ei ffrynd [Z] Lazar,[A]
Yn iach o'r bedd dan y ddaear,
Hwnnw'th gotto yn iawch lawen,
O'th glaf-wely'n wych drachefen.

58.
'R hwn a spariodd [B] fywyd Isaac,
Gwedi 'i offrwm ar ben Moriac,[C]
Hwnnw spario'th fywyd dithau,
Etto ennyd o flynyddau.

59.
'R hwn a helodd gynt Esaias,
I iachau clwyf Hezekias;[D]
Hwnnw helo o'r nef angel,
I iachau Syr Lewis Mansel.

## CXXIII.—Rhesymau yn cyffroi'r Claf i fod yn ddioddefgar.

1.
Oni bai fod yn anghenrhaid,
Dofi'r corph i wella'r enaid,
Ni ddanfonai Duw glefydion,
Byth ar un o'i anwyl feibion.

2.
Yr oedd Duw yn gwel'd dy enaid
Yn glaf iawn o bechod diriaid;
Nid oedd lun [A] i gadw'th fywyd,
Nes dy gospi â'r fath glefyd.

3.
Oni ba'sai'r cwppan chwerw,
Fe allasai d'enaid farw,
Yn ddiswmmwth heb repento,[B]
A myn'd dros fyth i boenydio.

4.
Trwy gystudd corph, a chlefyd diriaid,[C]
Y mae Duw'n iachau dy enaid;[D]
Ac yn d'arwain, trwy ddifeirwch,
At dy Grist i gael ei heddwch.

5.
Trwy glefydion mae Duw'n tynnu
Dyn, i geisio cymmorth Iesu,
A gwir iechyd idd ei enaid,
Rhag ei fyn'd i uffern embaid.[E]

6.
A chlefydion bach amserol,
Mae'n rhag-achub poen trag'wyddol;
Ac wrth gospi'r corph mor ddiriaid,
Dofi'r cnawd a chadw'r enaid.[F]

7.
Nid clefydion, ond dialau
Blin, a haeddodd dy bechodau;
Dwg gan hynny, yn ddioddefgar,
Y fath glefyd c'ruaidd hygar.

8.
Fe allasai dorri d'wddwg,
Am dy fuchedd oedd yn gynddrwg,
A'th roi i uffern i boenydio,
Heb roi amser it' repento.

9.
Rho gan hynny, yn ddiwegi,
Ddiolch iddo am dy gospi,
Lle gallasai dy lwyr ddifa,
A'th roi i frwlian [G] yn Gehenna.[H]

10.
Fe allasai Duw dy roddi
Dan law gelyn cas i'th gospi,
Lle mae'n rasol iawn yrŵan,[I]
Yn dy gospi â'i law ei hunan.

[W] Nid yw cystudd yn ddigon i sicrhau bod un yn gadwedig o ran cyflwr, os na bydd arwyddion eraill yn proff hynny. [X] Rhuf. 8. 28. [Y] Rhuf. 8. 38. [Z] *Friend*, cyfaill. [A] Lazarus o Bethania. Ioan 11. 43, 44. [B] *Spare*, arbed. [C] Moriah. Gen. 22. 2. [D] Esay 38. 21.

[A] Ffordd, modd. [B] *Repent*, edifarhau. [C] Tost, poenus. [D] Psalm 119. 67, 71. [E] Enbyd, dychrynllyd. [F] Sef yr enaid grasol. [G] *Broil*, rhostio, llosgi. [H] Enw cyffelybiaethol ar uffern, wedi ei gymmeryd oddiwrth le yn agos i Jerusalem, a elwid Glyn mab Hinnom, neu Ddyffryn Hinnom, yn yr hwn y cedwid tân gwastadol, ac i'r hwn y teflid budreddi y ddinas. [I] Yr awr hon, yn awr.

11.
Nid yw'r Arglwydd yn dy blago,[J]
Megis gelyn i'th andwyo,[K]
Ond yn dirion yn dy faethdrin,[L]
Megis Tad yn trin ei blentyn.

12.
Er bod d'Arglwydd yn dy faeddu,
Mae er hynny yn dy garu;
Pob gwialennod ag a roddo,
Sydd fel plaster[M] i'th elïo.

13.
Ni ry Duw sydd mor ddaionus,
Na'th Dad nefol sydd mor garcus,[N]
Glefyd arnad na chaledi,
Na wnel iti fawr ddaioni.

14.
Fe ŵyr Duw beth yw dy ddolur,
Dy rym, dy ryw, dy naws, dy natur;
Fe rydd dy groes yn ol dy gyflwr,
Ni bydd dy bwn uwchlaw dy gryfdwr.[O]

15.
Er bod aloes[P] yn beth chwerw,
Mae e'n achub dyn rhag marw;
Er bod clefyd yn dy flino,
Mae'n dy achub rhag dy ddamnio.[Q]

16.
Y mae miloedd yn Gehenna,
Rhai a ddygent fwy o boenfa,
Dros fil-filoedd o flynyddau,
Pe caent rydd-did o'u poenydiau.

17.
Rho gan hynny yn ddi-wegi,
Ddiolch i Dduw am dy gospi,
Lle gallasai dy lwyr ddifa,
A'th roi i frwlian i Gehenna.

18.
Arwydd teg o'i ras a'i ffafar,[R]
Yw cael cosp trwy glefyd hygar,
Sydd yn gwneuthur dyn yn barod,
Cyn yr el o flaen y Drindod.

19.
Clefyd sydd fel chwip[S] i'th gospi,
Nid fel cleddeu llym i'th dorri;
Swmbwl awchlym i'th ddihuno,
Ac nid bwyall i'th ddistrywio.

20.
Ffust i ddyrnu ffwrdd dy ffwlach,[T]
Ffann[U] i nithio dy holl sothach,
Ffwrn i buro dy amrheyddion,[V]
Chwip i'th gospi yw clefydion.

21.
Nid da mêl i'r llawn digonol,
Nid da gwynfyd i'r annuwiol;
Nid da gwîn i'r poeth ei goludd,[W]
Nid da iechyd i'r anufudd.

22.
Nid oes arnad gymmaint dolur
Ag a fu ar rai o'th frodyr,
Sydd yrŵan mewn esmwythder,
Yn y nefoedd gwedi'r blinder.

23.
Bu ar Lazar[X] glefyd blinach,
Bu ar Job[Y] ddoluriau trymach,
Bu ar Grist ei hun fwy blinder,
Maent yrŵan mewn esmwythder.

24.
Ac os tithau fydd ddioddefgar,
Fe ry' Duw it' hyn o ffafar:
Fe wna naill a'i llaesu'th flinder,
Ai fe'th gymmer i esmwythder.

## CXXIV.—Ymddiddanion cysurus

RHWNG Y CLAF DUWIOL A'I ENAID YN ERBYN OFN ANGAU.

1.
O FY enaid, pa'm yr ofni,
Fyn'd at Grist, a fu'n dy brynu,
Ac a gollodd waed ei galon,
I'th ryddhau o law d'elynion?[A]

2.
Pa'm yr ofni fyn'd i'r nefoedd,
Lle mae Crist yr hwn a'th brynodd,
A'th Dad nefol, a'r Glân Ysbryd,
A'r holl saint mewn braint a bywyd?

3.
Mae fy mlaen[B] i yno eisiwys,[C]
A'm Iachawdwr, 'r hwn a'm prynwys;
Crist tynn finnau d' aelod attad,
Er anhawsed gennyf ddwad.[D]

4.
O! fy enaid, cwyn[E] dy galon,
Pa'm yr ofni mor echryslon?
Gwel Fab Duw, a'i waed, a'i weli,[F]
A dynnodd ffwrdd oedd raid it' ofni.

[J] *Plague*, cystuddio, taro â haint. [K] Dinystrio. [L] Meithrin, trin wrth fagu. [M] *Plaster*, eli, meddyginiaeth allanol. [N] *Careful*, gofalus. [O] 1 Cor. 10. 13. [P] Sudd pren a dyf mewn gwledydd poethion, ac a arferir fel meddyginiaeth garthiadol. [Q] Hynny yw, os ettyb y diben i'th dywys i edifeirwch. Luc 13. 5. [R] *Favour*, caredigrwydd. [S] *Whip*, fflangell. [T] Llwch a ffylor cymmysgedig âg ŷd. [U] *Fan*, gwyntyll. [V] Ammhureddion, sorod. [W] Cylla, ymysgaroedd. [X] Lazarus y cardottyn. Luc 16. 20. [Y] Job 2. 7.

[A] Ystyried y darllenydd, mai am y claf *duwiol* y mae y Ficer yn llefaru yn y Gân hon, ac nad oes hawl gan neb arall i'r bendithion a nodir yma. [B] Fy mlaenffrwyth. 1 Cor. 15. 20. Wrth fod y gair "aelod" yn y drydedd llinell gellid meddwl mai "Mae fy *Mhen* i yno eisiwys" a ysgrifenodd yr Awdwr. [C] Eisioes, yn barod. [D] Dyfod. [E] Cyfod. [F] Clwyf, archoll.

5.

O! fy enaid, gwel dy Brynwr,
Gwel dy Geidwad a'th Iachawdwr,
Gwel dy bardwn,[G] gwel dy artre',
Gwel y nef a'r hwn a'th biau.

6.

O! nac edrych ar dy bechod,
Gwel yr Oen a laddwyd trosod:
Ac nag ofna wedd y Barnwr,
Crist, y Mab, yw dy Ddadleuwr.[H]

7.

Ac nac ofna'r angau melyn,
Crist a dynnodd ffwrdd ei golyn;[I]
Ni all angau ond dy symmud,
O'r byd hwn i dir y bywyd.

8.

Nac arswyda ruthrau Satan,
Gwel angylion Duw i'th waetan,[J]
A Christ Iesu, â saith llygad,
Ddydd a nos bob awr i'th wyliad.

9.

Ac nac ofna'r bedd lludylyd,
Gwely Crist yw hwn, f'anwylyd;
Y mae'r Prynwr gwedi'i dwymo,
I bob Cristion nes cyfotto.

10.

Na wna bris o uffern boenau,
Gwel gan bwy mae'r agoriadau;
Gan dy Grist y mae cadwraeth,
Allwedd uffern a marwolaeth.[K]

11.

O! gan hynny cwyn dy galon,
Pa'm yr ofni mor echryslon?
Gwel Fab Duw, a'i waed, a'i weli,
Fe dynnodd ffwrdd oedd raid it' ofni.

12.

Cymmer gysur, cwyn d'olygon,
Dring uwchlaw pob daearolion;
Gwel y nef a brynwyd iti,
A'r 'tifeddiaeth sydd it' ynddi.

13.

Gwel dy orsedd, gwel dy goron,[L]
Gwel dy balm[M] a'th wisgoedd gwyn-
Rhai a brynodd Mab Duw iti, [ion,[N]
Fry yn nheyrnas y goleuni.

14.

Gwel dy Grist a'i holl angylion,
Gwel y saint, a'r holl rai cyfion,
Yn dy ddisgwyl ddyfod attyn',
Ac yn barod bawb i'th dderbyn.

15.

Gwel dy delyn, gwel dy feiol,[O]
Gwel dy wers[P] a'th ganiad nefol,
Fry yn disgwyl fyn'd i ganu,
I'th Iachawdwr am dy brynu.

16.

Llef gan hynny am dy ddattod,[Q]
I gael myn'd at Grist, dy Briod,
O garchardy'r corph a lygrwys,[R]
I gael trigo ym mharadwys.

17.

Lle mae Duw a'i holl angylion,
Crist, a'i saint, a'i Apostolion,
Mewn gogoniant a rhialtwch,[S]
Yn teyrnasu mewn dedwyddwch.

18.

Nid oes yno ddim anghysur,
Poen, na chlefyd, cwrb,[T] na dolur,
Na marwolaeth, na dim tristwch,[U]
Ond llawenydd a dedwyddwch.

19.

O! hiraetha am gael hedfan,[V]
I'r wlad lawen fry yn fuan,
At dy Brynwr Crist, a'th Briod,
Mae dy neithior[W] ynddi'n barod.

20.

O fy enaid, meddwl dithau
Am ymdrwsio yn dy dlysau,[X]
I fyn'd o flaen Crist yn addas,
Yng ngwisg sanctaidd y briodas.

21.

Golch dy hun yn ffynnon Dafydd,[Y]
Gwaed yr Oen, a deigrau cystudd;[Z]
Ymlanha mewn gwir 'difeirwch, [wch.
Ffydd yng Nghrist, gwiriondeb, hedd-

22.

Gwisg sancteiddrwydd Grist am danad,
A'i gyfiawnder yn lle trwsiad;
Pleth dy wallt mewn gras a gobaith,
Hardda'th frest[A] â chariad perffaith.

[G] *Pardon*, maddeuant. [H] Eiriolwr. 1 Ioan 2. 1. [I] 1 Cor. 15. 55. 57. [J] *Wait*, disgwyl am danat. Luc 16. 22. [K] Dat. 1. 18. [L] 2 Tim. 4. 8. [M] Palmwydd, i arwyddoccau buddugoliaeth. [N] Dat. 7. 9. [O] *Viol*, offeryn cerdd dannau, crwth. Dat. 15. 2. [P] *Verse*, cân, cerdd. [Q] Phil. 1. 23. [R] A aeth yn aflan. [S] *Royalty*, rhwysg, mawredd brenhinol. [T] *Curb*, rhwystr, anhwylusdod. [U] Dat. 21. 4. [V] Ehedeg. [W] Gwledd priodas. [X] Addurniadau gwychion. [Y] Zech. 13. 1. [Z] Gwaed Crist yn unig sydd yn glanhau dyn oddiwrth ei bechodau; ond nid oes neb yn cael lleshad oddi wrtho, heb fod yn edifeiriol a gwir alarus am bechod.—Y mae y pennill hwn, a'r lleill hyd ddiwedd y Gân, ar gael yn awr, yn meddiant y Parch. J. M. Traherne, Coedriglan, gerllaw Caerdydd, Morganwg, wedi ei hysgrifenu gan y Ficer ei hun, ar gefn llythyr a dderbyniodd oddiwrth ei fab o Rydychen, dyddiedig Mehefin 5ed, 1623. [A] *Breast*, dwyfron.

23.
Cais dy lamp a 'nynn[B] dy ganwyll,
Dwg i'th lusern olew di-dwyll:
Gwylia, gwarchod, a gweddïa,
Nes del Crist, na chwsg, na slwmbra.[C]

24.
Deffro, disgwyl am dy Briod,
Llef am dano nes ei ddyfod;
Fel yr hydd na orphwys frefad,[D]
Nes del Crist dy Briod attad.

25.
Dywed wrtho, Dere[E] weithian,
Dere, Arglwydd, dere'n fuan,
Dere, Iesu Grist, fy Nghariad,
Dere, tynn fy enaid attad.

26.
I'th ddwy ddwylo, Arglwydd hyfryd
Yr wy'n brudd yn offrwm f'ysbryd;
Can's ti prynaist, Duw'r gwirionedd,
Dwg ef weithian i'th drugaredd.

## CXXV.—Ymddiddan arall

RHWNG Y CLAF DUWIOL A'I ENAID AM OFNI MARWOLAETH.

HOLIAD.—1.
O FY enaid, dywed imi,
Mewn prysurdeb,[A] pa'm yr ofni,
Fyn'd at Grist a'i wir angylion,
O'r byd brwnt a'i holl drallodion?

ATTEB.—2.
Tost a thrwm yw gorfod gadael
Gwraig, a phlant, a ffryns[B] a chenel,
Tai, a thir, a da, a dodrefn,
Heb eu gweled mwy drachefen.

CLAF.—3.
O, f' anwylyd, cymmer gysur,
Ti gai olud mewn mwy mesur,
Suwrach[C] ffryns, a gwell cyfeillion,
Gyda Christ a'i wir angylion.

4.
Os dy blant a ofna'r Arglwydd,
A'i wasnaethu mewn santeiddrwydd,
Ti gei wel'd dy blant drachefen,
Mewn gogoniant yn dra llawen.

5.
Yn lle ffryns a mwyn gyfeillion,
Ti gei'r saint a'r holl angylion,
I'th fawrhau a'th gywir garu,
A'th blant eilchwaith[D] i'th ddiddanu.

6.
Gâd dy wraig, a'th blant a'th bobol,[E]
I gadwraeth dy Dad nefol;
Rhwyscwy'r[F] weddw, Tad ymddifad,
Yw'r Goruchaf wrth ei alwad.

7.
Na wna bris am dan dy olud,
Nac o'r ddodrefn wael sydd gennyd;
Mae'n y nef fwy ar dy feder,[G]
Nag y feddodd Alexander.[H]

8.
Na wna bris o'th neuadd lwydlas,
Mae'n y nefoedd dai o Dopaz,[I]
Gwedi i Dduw o berls[J] eu gwneuthur,
Yn disgleirio fel y gwydyr.

9.
Na hiraetha am dy diroedd,
Na'th berllannau, na'th winllannoedd,
Mae 'mharadwys dir sydd deccach,
Ffrwyth sydd well, a gardd areulach.[K]

10.
Na wna gownt[L] am aur ac arian,
Mae'n y nefoedd aur i'w ddamsian,[M]
Perls a gemmau'n[N] gweithio'r gwledydd;
Aur yn pafio'r[O] holl heolydd.[P]

11.
Na wna bris am un o'th swyddau,
Mae'n y nefoedd fwy o raddau;
Y mae'r gwaethaf s' ynddi'n 'ffeiriad,
Ac yn frenhin mawr ei alwad.[Q]

12.
Na wna bris am ddillad gwychion,
Mae 'mharadwys wisgoedd gwynion,[R]
Yn disgleirio ar dy gefen,
Mewn gogoniant fel yr haul-wen.[S]

13.
Na wna bris o'th fwyd newynllyd,
Mae 'mharadwys bren y bywyd;[T]
Manna yn fwyd, 'qua-vitæ'n[U] dd'od,
Gwledd heb ddiwedd, oes heb ddarfod.

B Ennyna, cynneua. C *Slumber*, heppian, go-gysgu. D Brefu, hiraethu. E Tyred. Dat. 22. 17.

A Difrifoldeb. ystyriaeth ddwys, yn iaith Deheubarth. B *Friends*, cyfeillion. C *Surer*, sicrach. D Eilwaith, drachefen. E Perthynasau. F Rhysgwydd. cynhaliwr. Psalm 146. 9. G Ar dy gyfer, yn dy aros. H Alexander Fawr, brenhin Macedonia, yr hwn a orchfygodd ac a feddiannodd ran fawr o'r byd. I Maen gwerthfawr, o liw melyn. J *Pearls*, meini gwerthfawr. K Mwy hyfryd. L *Count*, cyfrif. M Damsang, cerdded drosto. N *Gems*, meini gwerthfawr. O *Pave*, palmantu. P Dat. 21. 18. Q Dat. 1. 6. R Dat. 19. 8. S Mat. 13. 43. T Dat. 22. 2. U *Aqua vitæ*, (Lladin,) dwfr y bywyd.

14.
Na wna bris am ddim difyrrwch,
'Rhwn sydd yma'n blaenu tristwch;
Mae'n y nefoedd wir lawenydd,
Sydd yn para yn dragywydd.[Y]

15.
Na wna gownt o ddim sydd gennyd,
Ond ymg'weiria[W] am dy fywyd,
Fyn'd yn rhwydd, trwy lawn barodrwydd,
I lawenydd Crist, dy Arglwydd.[X]

16.
Lle mae mwy o wir esmwythder,
A dedwyddwch ar dy feder,
Nag all calon dyn chwennychu,
Nac un tafod ei fynegu.[Y]

17.
Dos gan hynny, dos yn llawen,
Dos at Grist, dy Ben, dy Berchen;
Gado'r byd, a'r maint sydd yntho,
Mam a thad, i fyned atto.

18.
Yn lle'r pethau darfodedig,
A ge'ist yma gantho eu benthyg,
Ti gei bethau na ddarfyddant,[Z]
I'w meddiannu mewn gogoniant.

19.
Ti gei iechyd heb ddim nychdod,
Ac esmwythder heb ddim trallod,
Gwir lawenydd heb ddim tristwch,
Oes heb ddiwedd mewn dedwyddwch.

20.
Ni chaiff clwyf, na haint, na dolur,
Newyn, syched, nac anghysur,
Trallod, tristwch, ochain, wylo,[A]
Nac un gelyn mwy dy flino.

21.
Ti gei fyw mewn mawr lawenydd,
A dedwyddwch yn dragywydd,
Ym mhlith miloedd o angylion,
I foliannu d' Arglwydd tirion.

22.
Ti gei eistedd mewn côr[B] auraid,
I glodfori'r Oen bendigaid,
Ac i ganu Aleluia,[C]
Yn dragywydd i'r Gorucha'.

23.
Pwy gan hynny na 'madawai,
A'r byd hwn, a'i boen, a'i bethau,
I fyn'd at ei Brynwr heddy',
O bai'r Arglwydd yn cennadu.[D]

24.
Duw agoro dy ddau lygad,
I wel'd teyrnas Crist, dy Geidwad,
Duw ro'i Yspryd i'th gyf'rwyddo,
Ymbar'ttoi i fyned atto.

## CXXVI.—Agoriad byrr yn erbyn ofn angau;

### A'R DAIONI SYDD YN DYFOD ODDIWRTH DDUWIOL FARWOLAETH.

1.
O! NA wyddai dyn pa ddoniau
Sydd yn dyfod oddiwrth angau,[A]
Byth nid ofnai ei ddyfodiad,
Ond fe lefai am ei ddwad.

2.
Y mae angau'n gwneuthur diwedd
Ar ein cystudd a'n hanwiredd;
Ac yn dwyn, o fôr trafferthwch,
Ddyn i'r porthladd o ddedwyddwch.

3.
Y mae angau'n tannu'n gwely,
Gwedi'n trafferth i ni gysgu;
Ac yn rhoddi mawr esmwythder,
Gwedi'r trallod tost a'r blinder.[B]

4.
Y mae angau'n claddu'n beiau,
Ein clefydion, a'n doluriau;
Fel na ddichon pechod mwyach,
Nac un clefyd flino 'mhellach.

5.
Y mae angau'n tynnu'r cyfion,
Lawer pryd rhag gwel'd trallodion,[C]
A ddygwydda yn dra rhugyl,[D]
Ar eu gwlad, ac ar eu heppil.

6.
Mae e'n tynnu rhai gwirioniaid,
Sydd yn mysg cas bechaduriaid,
Rhag i'r rhai'n eu hudo i bechu,
Ac i weithio'r peth nas dyly.[E]

[V] Psalm 16. 11. [W] Ymbarottoa. [X] Mat. 25. 21. [Y] 1 Cor. 2. 9. [Z] 1 Petr 1. 4. [A] Dat. 21. 4.
[B] *Choir*, lle i dyrfa o gantorion. Dat. 19. 1. [C] Gair Hebraeg, yn arwyddo, "Molwch Jah," neu "Jehofah." [D] Caniattau.

[A] Sef i'r dyn duwiol. [B] Job 3. 17. [C] Esay 57. 1, 2. [D] Cyffredinol. [E] Nad yw gyfreithlon.

7.
Y mae angau'n diosg dynion,
O'u hen frattiau sarnllyd[F] brwnton,
I ddillattu'r rhain yn helaeth, [iaeth.[G]
Mewn hardd wisgoedd iachawdwr-

8.
Mae'n rhyddhau yr enaid hyfryd,
O'r carchardy tywyll tomlyd,
I gael gwel'd goleuni'r Arglwydd,
A'i was'naethu mewn prydferthwch.

9.
Y mae angau toc[H] yn dattod,[I]
Enaid o'r corph caeth i bechod,
Ac heb aros yn cyssylltu
Hwn â'i Briod mawr, Crist Iesu.

10.
Y mae angau'n tynnu dynion,
I'r nef oleu at angylion,
O'u tŷ candryll, sydd y's dyddiau
Ym mron cwympo ar eu pennau.[J]

11.
Mae e'n tynnu maes o Sodom,
I'r mynydd-dir rhag y storom :[K]
Ac yn myn'd o'r Aipht i Ganaan
A'r rhai duwiol yn ddiofan.

12.
Y mae'r angau'n tynnu dynion,
O'r byd hwn i gael y goron,
A bwrcasodd[L] Crist trwy angau,
I'r rhai ffyddlon a'i gwas'naethai.[M]

13.
Y mae'n tynnu dyn o'i ofid,
A'i drueni, a'i drist fywyd,
I ogoniant ac hyfrydwch,
I gael byw mewn gwir ddedwyddwch

14.
Pwy gan hynny ofnai angau,
Sydd yn helpu[N] dyn mor ddeheu,[O]
I fyn'd allan o bob trallod,
A'i drosglwyddo[P] i lys y Drindod ?

15.
Gâd i'r pagans[Q] di-rinweddau,
Gâd i'r Twrcod[R] ofni angau;
Ond nac ofned un gwir Gristion,
Fyn'd trwy angau i gael y goron.

## CXXVII.—MAWRGLOD DDYDD MARWOLAETH Y CYFIAWN.

1.
Dydd ein Jubil[A] a'n gollyngdod,
Dydd ein rhydd-dyd o bob trallod,
Dydd sy'n gollwng ein heneidiau
O'r carchardy, yw dydd angau.

2.
Dydd ein neithior a'n priodas,
A Christ Iesu'r gwir Fessias,
Dydd ein gwledd a'n coronasiwn ;[B]
Yw'n dydd diwedd, os ystyriwn.

3.
Dydd sy'n gorphen ar ein gyrfa,
Dydd sy'n tynnu o gyfyngdra,
Dydd sy'n talu ein cyflogau,
Dydd y gol[C] yw dydd ein angau.

4.
Dydd i'n derbyn i baradwys,
At fab Duw, yr hwn a'n prynwys ;[D]
Dydd sy'n rhoddi'r gŵn[E] a'r goron,
Yw dydd angau i bob Cristion.[F]

## CXXVIII.—GWEDDI YN CYFARWYDDO'R CLAF AM Y PETHAU RHEITAF I'W CEISIO AC I FYFYRIO ARNYNT MEWN CLEFYD.

1.
Duw'r diddanwch, llaesa[A] 'mlinder,
Tad tosturi, rho imi 'smwythder,
Meddyg pob clwyf, iacha 'nolur,
Iesu, mab Duw rho im' gysur.

2.
Tynn fi o dywyll deyrnas Satan,[B]
Ac o bob dallineb allan,
Fel y gallwyf wel'd fy mhechod,
A llonyddu fy nghydwybod.

[F] Wedi eu trybaeddu mewn baw. [G] Esay 61. 10. [H] Yn ebrwydd, yn gyflym. [I] Phil. 1. 23. [J] 2 Cor. 5. 1. [K] *Storm*, tymhestl. [L] *Purchase*, prynu. [M] 2 Tim. 4. 6–8. [N] *Help*, cynnorthwyo. [O] Medrus. [P] Cludo drosodd. [Q] *Pagans*, dynion digred, heb wybodaeth o'r Efengyl. [R] Y Tyrciaid, y rhai ydynt ganlynwyr y gau-brophwyd Mahomet.

[A] Jubili oedd pob degfed blwyddyn a deugain, yn mhlith yr Israeliaid. Yn y flwyddyn honno, yr oedd y tiroedd a wystlwyd yn dyfod yn rhydd i'r perchennogion; a hwythau eu hunain yn dyfod yn rhyddion oddi tan ddwylaw eu meistriaid. Lef. 25. 8—13. [B] *Coronation*, coroniad. [C] *Goal*, pen draw yr yrfa, lle y mae ennill y gamp. [D] Prynodd. [E] *Gown*, gwisg laes. [F] A fyddo felly yn wirioneddol, ac nid mewn enw yn unig. Mat. 7. 21--23.

[A] Lleiha. [B] Act. 26. 18.

3.

Gwna fel Dafydd i'm repento,[C]
Gwna fel Magd'len[D] i mi wylo;
Gwna fel Ninif[E] im' gydnabod,
A 'mofidio am fy mhechod.

4.

Gwna im' geisio pardwn[F] gennyd,
Fel Manasses[G] yn ei ofid;
Ac ymbilio am drugaredd,
Megis Peder[H] am f' anwiredd.

5.

Gwna 'mi gredu fod im' bardwn,
Gwedi'i selu[I] â gwaed dy bassiwn;[J]
A bod f'enaid wedi'i olchi,
Yn dy waed, oddiwrth ei frynti.

6.

Gwna fi hefyd yn ddioddefgar,
Dan fy nolur, megis Lazar;
A rhoi arnat ti fy hyder,
Megis Job,[K] er maint fy mlinder.

7.

Gwna 'mi geisio ymwared gennyd,
O'm trallodion ac o'm clefyd,
Fel Elias[L] o'i flinderau,
Modd y gwelwch fod yn oreu.

8.

Gwna 'mi megis Hezekias,
Droi'r byd heibio, a'i berthynas,
A throi f'wyneb at y pared,[M]
I roi 'Nghrist fy holl ymddiried.

9.

Gwna im' feddwl am y cyfri',
Dydd y farn sydd raid im' roddi,[N]
Am y gwaith a'r geiriau ofer,[O]
Oni cheisiaf ras mewn amser.

10.

Gwna im' wrando ar y 'fengyl,
A'th bromeision[P] ynddi'n rhugyl,
Gwna im' ddala gafael ffyddlon,
A'r d'addewid a'th bromeision.

11.

Gwna im' meddwl am y bywyd,
Yr âf iddo ar fyrr ennyd,[Q]
Lle mae Sabboth o esmwythder,
Heb na chur, na phoen, na blinder.

12.

Gwna im' wadu'r byd twyllodrus,
A'i holl wagedd anwireddus:
Ac ymg'weirio[R] i ddwad[S] attad,
Yn ddiaros anwyl Geidwad.

13.

Gwna im' offrwm,[T] heb ddiffygio,
Gorph ac enaid i dy ddwylo,
Ac ymbilio, hyd y diwedd,
Am dy ffafar[U] a'th drugaredd.

## CXXIX.—DIDDANWCH RHAGOROL I'R ENAID GALARUS YN ERBYN GWAN-OBAITH.

1.

O FY ENAID, pa'm yr ofni
Faint dy bechod, os 'difari?
Lle bu'r Iesu farw drosot,
I'th ryddhau oddiwrth dy bechod.

2.

Pa'm yr ofni farn y Barnwr?
Crist yw'th Dwrnai[A] a'th Ddadleuwr;
Mab yr Ustus,[B] trwy farwolaeth,
A'th ryddhaodd o ddamnedigaeth.

3.

Ni chondemnir[C] yn drag'wyddol,
Un a gretto i Grist yn fywiol:[D]
Ond hwy bassant[E] wrth eu symmud,
O farwolaeth i wir fywyd.

4.

O fy enaid, ymlonydda,
Dy Dduw grasol a'th gyfiawna;[F]
Mae Crist drosot gwedi'i hoelio,
Pwy all bellach dy gondemnio?[G]

5.

Grist â'i waed a ylch dy bechod,
Ac a'th wna mor wynn a'r manod:[H]
Er dy fod mor goch a'r scarled,[I]
Crist a'th ylch mor wynn a'r foled.[J]

6.

Yr haul a rwylla'r[K] cwmmwl tewaf,
Sebon ylch y dillad bryntaf,
Rhinwedd Crist a gudd dy frynti,
Ei waed a'th ylch mor wynn a'r lili!

[C] *Repent*, edifarhau. Psalm 51. [D] Mair Magdalen. Luc 7. 38. [E] Ninefeh. Jonah 3. 5. [F] *Pardon*, maddeuant. [G] Manasseh. 2 Cron. 33. 12. [H] Mat. 26. 75. [I] *Seal*, seilio, cadarnhau. [J] *Passion*, dioddefaint. Eph. 1. 7. [K] Job 13. 15. [L] 1 Bren. 19. 4. [M] Esay 38. 2. [N] Rhuf. 14. 12. [O] Mat. 12. 36. [P] *Promises*, addewidion. [Q] Yn aml, yn gyhoeddus. [R] Ymbarottoi. [S] I ddyfod. [T] *Offer*, cyflwyno. [U] *Favour*, boddlonrwydd, cymeradwyaeth.

[A] *Attorney*, un yn ymddiffyn hawl un arall mewn llys barn. [B] *Justice*, ynad, gweinyddwr cyfiawnder. [C] *Condemn*, collfarnu. [D] Ioan 3. 18. [E] *Pass*, myned trwodd. [F] Ioan 5. 24. [G] Rhuf. 1. 33. 34. [H] Od, neu eira man. [I] *Scarlet*, ysgarlad, lliw coch tanbed. Esay 1. 18. [J] Penwisg, gwraig cap. [K] Rhwygo, agor, gwasgar.

7.

Duw faddeuodd bechod Peder,
Rhyfyg Dafydd, a'r mab ofer,[L]
Rhwyf[M] Manasses, a'i holl feiau,
Duw a faddeu'th bechod dithau.[N]

8.

Cymmer gysur, cwyn[O] dy galon,
Lladdwyd Mab Duw ar yr hoelion,
Am dy bechod a'th gamweddau,
Er ei fwyn ti gei eu maddeu.

## CXXX.—GWEDDI BRUDD AM FADDEUANT PECHODAU.

1.

O FY Nuw, yr hwn a'm creaist,
O fy Ngheidwad, 'r hwn a'm prynaist,
O'r Glân Ysbryd; O'r gwir Drindod,
Cadw f'enaid, maddeu 'mhechod.

2.

Er mwyn Iesu, 'r hwn a'm prynodd,
Ac ym mhob peth a'th foddlonodd,
Maddeu imi oll a chwbwl,
Ar a wnaetho[A] i maes o'th feddwl.

3.

Golch â'i waed fy mai a'm brynti,
Cladd fy mhechod yn ei weli :[B]
Cudd fy ngw'radwydd â'i gyfiawnder,
Maddeu im' fy holl ddiffeithder.[C]

4.

Gwisg fy enaid o gylch gwmpas,[D]
A gwisg sanctaidd y briodas!
Gwna fi'n barod ddyfod attad,
O fy Nghrist, mewn gweddus drwsiad.

5.

Dod d'angylion i'm castellu,[E]
Nâ'd i Satan fy ngorchfygu!
Gadw f'enaid yn dy ddwylo,
Nâ'd, O Grist, i'r llew[F] fy llarpio.

6.

Pan y delwy' i'r barr[G] i atteb,
Ger dy fron am f'annuwioldeb,
Gwared f'enaid er mwyn Iesu,
Na ro imi'r farn wy'n haeddu.

7.

Cymmer angau Crist a'i 'fudd-dod,
Yn iawn iti am fy mhechod;
Fe gondemnwyd[H] am fy meiau,
Er ei fwyn na ddamna[I] 'finnau.

8.

Haeddais angau,[J] haeddais Dopheth,[K]
Haeddais farn rhagrithiwr diffaith ;
Duw na ddyro'r hyn wy'n haeddu,
Rho i mi'r hyn a haeddodd Iesu.

9.

Fe gyflawnodd droswy'r gyfraith,
Fe'th foddlonodd droswy'n berffaith,
Fe groeshoeliwyd am fy mrynti,
Er ei fwyn rho bardwn[L] imi.

10.

Nid oes gennyf ddim sancteiddrwydd,
Na chyfiawnder, na pherffeithrwydd,
Nac ymwared, iawn, na swccwr,[M]
Ond sydd gennyd Crist, fy Mhrynwr.

11.

Crist yw 'nghomffordd,[N] Crist yw 'nghysur,
Crist yw 'ngobaith yn fy ngwewyr,[O]
Crist yw f' Helpwr ar awr angau,
Crist yw 'Ngheidwad ddydd dïalau.

12.

Fe fu farw yn anhyfryd,
Er pwrcasu[P] imi fywyd ;
Er yr angau a ddioddefwys,
Duw, dwg f'enaid i baradwys.

## CXXXI.—GWEDDIAU BYRION I'R CLAF I'W HARFERYD FEL Y BO ACHOS.

### AM ESMWYTHDER.

DUW, rho glust i wrando 'ngweddi,
Duw rho d' Yspryd i'm comfforddi,[A]
Duw rho olwg[B] ar fy nolur,
A'th law rasol llaesa[C] 'ngwewyr.

### AM FADDEUANT.

Oen Duw, maddeu im' fy mhechod,
Sela[D] bardwn[E] i'm cydwybod,
Cladd fy meiau yn dy weli,[F]
N'âd hwy eilchwaith adgyfodi.

[L] Y mab afradlon. [M] Rhwysg, afreolaeth. [N] Os bydd i ti edifarhau a chredu, fel y gwnaethant hwy. [O] Cyfod.

[A] A wnaethum i. [B] Clwyf, archoll. [C] Drygioni. [D] O amgylch o gylch. [E] Amgylchu, amddiffyn. [F] Y diafol. 1 Petr 5. 8. [G] *Bar*, lle y carcharor yn y llys. [H] *Condemn*, barnu yn euog. [I] *Demn*, collfarnu. [J] Rhuf. 6. 23. [K] Topheth, neu Tophet, oedd fan yn nyffryn mab Hinnom, lle y llosgid budreddi a chelaneddau, a'r lle y tynnid plant drwy dân i Moloch ; ond rhoddir yr enw yn gyffelybiaethol i uffern. [L] *Pardon*, maddeuant. [M] *Succour*, cynnorthwy. [N] *Comfort*, diddanwch. [O] Poen. [P] *Purchase*, prynu.

[A] *Comfort*, cysuro. [B] Edrych, sylwa. [C] Lleiha. [D] *Seal*, cadarnhau, sicrhau, selio [E] *Pardon*, maddeuant. [F] Archoll, clwyf.

AM DDIDDANWCH.

'Rwyf'n ofni dy gyfiawnder,
'Rwy'n brawychu rhag dy ddigder;
'Rwyn fy marnu am fy mhechod;[G]
Duw, diddana fy nghydwybod.

AM DDONIAU CRIST A'I GYMHORTH.

Dod, O Grist, dy angau gwirion,
Rhyngwyf fi a'th farn echryslon;
Dod dy 'fudd-dod rhwng cyfiawnder
Dy Dad cyfiawn, a'm diffeithder.[H]

AM GYMMOD.

Crist, â'th waed gwna heddwch etto,
Rhyngwy' a'th Dad sydd gwedi digio,
A'th waed diffodd ei ddigofaint,
Fel na byddo 'mlinder cymmaint.

AM GYFNERTH.

Egwan wyf, O Grist, cryfha fi,
Gwann a chlaf, fy Nuw iacha fi;
Trwm a thrist, ag ofnus ddigon,
Cryfha fy ffydd, a chwyn[I] fy nghalon.

AM GYSUR.

Duw'r diddanwch, llaesa 'mlinder,
Tad tosturi, rho im' 'smwythder:
Meddyg pob clwyf, iacha 'nolur,
Iesu, Mab Duw, rho im' gysur.

AM HAWSHAD.[J]

Llaesa mlinder, dofa 'nolur,
Gwel fy mhoen, a thorr fy ngwewyr,
Trefna 'niwedd, penna[K] 'nhrallod,
Dwg fi attad, rwy'n dy warchod.[L]

AM NERTH YSPRYDOL.

O fy Nghrist, cerydda Satan,
Cadw f'enaid rhag ei safan,
Cynnal fi â'th hael-wych Yspryd,
Dwg fi attad i'r gwir fywyd.

AM DRUGAREDD.

Oen Duw, maddeu im' fy mhechod,
Oen Duw, pura fy nghydwybod;
Oen Duw, gwylia ar fy niwedd;
Oen Duw, derbyn fi'th drugaredd.

AM WIR GREDINIAETH.

Dywed, Arglwydd, wrth fy enaid,
It' bwrcasu'r[M] nef fendigaid,
A'th waed gwerthfawr, trwy fawr [boenau,
I'w rhoi imi gwedi angau.

AM NEFOL ADDEWID.

Dywed, Arglwydd, wrth f'enaid,
Dywed, Arglwydd, dywed, dywed,
Heddyw cai di'n gynnar orphwys,
Gyda mi, yng ngwlad paradwys.[N]

AM GADWRAETH.

Crist, fy Mugail, cadw f'enaid,
N'ad i'r llew o'th law ei scliffiaid;[O]
Tydi'm prynaist yn ddrud ddigon,
Dwg fi i'r nefoedd at d'angylion.

AM DDERBYNIAD EI ENAID.

Derbyn f'enaid, anwyl Geidwad,
Derbyn f'enaid weithian attad;
Digon bellach o'r fath ddyddiau,
Nid wyf well na'r rhest[P] o'm tadau.

AM DDUWIOL YMADAWIAD.

Rwy'n gwyllysio cael fy nattod,
A dod attad, Crist, fy Mhriod;
Tynn fi weithian, Arglwydd Iesu,
Os yw'th 'wyllys yn cenhadu.[Q]

AM GADW EI YSPRYD.

I'th ddwy ddwylo, Arglwydd hyfryd,
Yr wy'n brudd yn offrwm f' yspryd;
N'ad ym mhŵer[R] neb ei scliffio,[S]
Na'i ddwyn mwyach byth o'th dwylo.

## CXXXII.—GWEDDI I'R CLAF YN ERBYN RHUTHRAU SATAN.[A]

1.

Crist, fy Mugail, cadw f'enaid,
N'ad i'r llew[B] o'th law ei sliffiaid,
'R hwn sy'n ceisio fy ngorchfygu,
Yn fy ngwendid, a'm traflyngcu.

2.

Dyma'r pryd y cais ef drechaf,
Fyn'd a'r gol,[C] pan byddwyf gwannaf;[D]
Nertha 'ngwendid, Arglwydd cyfion,
Gadw'r gol[E] rhag colli'r goron.

3.

Dod dy Yspryd yn fy nghalon,
Dod o bob-tu'm dy angylion,
Dod d'arfogaeth oll am danaf,
N'âd i'r gelyn gael y trechaf.

4.

Nertha fi ddiweddu 'ngyrfa,
Gwna f'awr oreu'r awr ddiwedda':
Arnad, Arglwydd, mae fy hyder,
Derbyn f'enaid i'th esmwythder.

[G] Psalm 32. 5. [H] Drygioni. [I] Cyfod. [J] Esmwythad. [K] Dibenna, terfyna. [L] Disgwyl. [M] *Purchase*, prynu. [N] Luc 23. 43. [O] Ysglyfaethu. [P] *Rest*, y lleill. 1 Bren. 19. 4. [Q] Caniattau. [R] *Power*, gallu. [S] Ysglyfio, llarpio.

[A] Ymosodiadau ymgyrchiadau. [B] Y diafol. 1 Petr 5. 8. [C] *Goal*, diwedd yr yrfa—cario dydd. [D] Dat. 2. 10. [E] Ennill y gamp.

## CXXXIII.—GWEDDI FERR I'R CLAF DUWIOL I'W HARFERU AR YR AWR DDIWEDDAF.

1.
'Nawr, O Arglwydd, y gollyngi
Fi mewn heddwch o'm carchardy [A]
Gwna i'm llygaid, cyn marwolaeth,
Wel'd dy nerthol iachawdwriaeth.

2.
Daeth y dydd a'r awr a roddaist,
Daeth yr amser a derfynaist,[B]
Daeth y tymmor, daeth y terfyn,
Nid oes lle im' fyned trostyn'.

3.
Y mae 'nghyrfa ar ei gorphen,
A'm dydd diwedd ar ei ddiben,
Y mae'r terfyn gwedi dwad ;[C]
Arglwydd, derbyn f'enaid attad.

4.
Megis Stephan, 'rwyf fi'n d'wedyd,
Arglwydd Iesu, derbyn f'ysbryd ;[D]
Dere, Arglwydd, dere'n fuan,
Cymmer fi i'th drugaredd weithian.

## CXXXIV.—MYFYRDOD AR FYWYD AC ANGAU.

1.
Pa gyntaf bytho marw Cristion,
Cyntaf derbyn hwnnw ei goron :[A]
Pa hwyaf bytho Cristion byw,
Hwyaf bydd heb weled Duw.[B]

2.
Pa hwyaf byddo dyn heb farw,
Mwyaf fydd gofynion hwnnw ;
Pa gyntaf tynner dyn o'i wegi,
Lleia' i gyd a fydd ei gyfri.

## CXXXV.—TOST GYFLWR DYN ANNUWIOL GWEDI MARW.

1.
Gwyr, a gwragedd, meibion merched,
Dewch yn nes, rhowch glust i glywed,
Cwyn a chynghor hen ofer-dyn,
Sydd yn gorwedd dan y brethyn.[A]

2.
Mi fum gynt fel yr 'ych chwithau,
Yn fawr fy nwyf ym mlith fy nhrasau;[B]
'Nawr heb nwyf,[C] yn noeth, yn isel,
'Rwyf fi'n gorwedd dan y trestel.[D]

3.
Pan oedd fwya 'mryd ar faswedd,
Lleia' 'meddwl am fy niwedd,
Fe ddaeth angau glas heb wybod,
Ac a roes im' farwol ddyrnod.

4.
Pan yr oedd y byd yn gwenu,
A phob margain [E] genni'n ffynnu,
Fel y ia fe dorrodd dana',
Ac a'm troes yn noeth i'r gladdfa.

5.
Pan yr oedd fy nghorph yn iachus,
A phob aelod genny'n rymmus,
Fel 'sten bridd fe aeth yn drefion,[F]
Pan ddaeth angau at fy nghalon.

6.
Gynt 'roedd genny' aur ac arian,
Tai a thir, a chyfoeth llydan ;
'N awr ni feddaf ar un beni,[G]
O'r holl olud gynnau oedd genny'.

7.
Gynt 'r oedd gennyf geraint ddigon,
Gwraig, a phlant, a ffryns,[H] a gweision,
'N awr 'does neb ond angau melyn,
Y ddaw attaf dan y brethyn.

8.
Mi gawn lawer gynt i'm helpu,[I]
Ym mhob ffordd y bawn yn pechu ;
Ni ddaw un yn awr i atteb,
Gyda mi am fy ffolineb.[J]

9.
Y peth a ddaeth i mi mor 'sgeler,[K]
Y ddaw i chwithau bawb ar fyrder :
Byddwch barod cyn del angau,
Ni chewch rybudd mwy na minnau.

10.
Y mae Crist a'i weinidogion,
Yn rhoi rhybudd i chwi ddigon :
Llawer mil sy'n myn'd i boeni,
Eisiau gwrando llais rhieny.

[A] Luc 2. 29, 30. [B] Job 7. 1. [C] Dyfod. [D] Act. 7. 59.

[A] Dat. 2. 10. [B] Exod. 33. 20.

[A] Brethyn du a deflir dros gyrph meirwon. [B] Ceraint perthynasau. [C] Bywiogrwydd. [D] *Trestle*, bwrdd i ddal peth arno—cauad yr arch. [E] *Bargain*, cyttundeb ynghylch prynu neu werthu. [F] Yn yfflon, yn ddarnau. [G] *Penny*, ceiniog. [H] *Friends*, cyfeillion. [I] *Help*, cynnorthwyo. [J] Rhuf. 14. 12. [K] Mor ddychrynllyd.

11.
Y mae llawer rhyw o bechod,
Yn dolurio fy 'nghydwybod :
Nid oes un yn lladd mor rhugyl [L]
A dibrisio geiria'r 'fengyl.

12.
Mi fum benffast [M] a gwar-galed,
Ni wnawn bris o'r gair, er cystled,[N]
D'weded Crist a'i wyr eu piniwn,[O]
Ni wnawn innau ond a fynnwn.

13.
Gwell oedd gennyf wrando cynghor
Crach [P] dafarnwr nag un doctor ;[Q]
Er bod hwnnw i'm cyf'rwyddo,
A'r tafarnwr yn f'anrheithio.

14.
Gwell oedd gennyf awr yn llawen,
Yn y tafarn gyda mersen,[R]
Na diwrnod yn y demel,
Gyda Christ a'i anwyl genel.[S]

15.
Gwell oedd gennyf gas gyfeillach,
Moch a meddwon mewn tafarnach,
Na chyfeillach plant goleuni;
'Nawr mae'n gant edifar genny'.[T]

16.
Gwell oedd gennyf wenydd [U] aflan,
Nas parhai ond ennyd fechan,
Na gorfoledd teyrnas nefoedd,
Sydd yn para yn oes oesoedd.

17.
Gwell oedd gennyf bridd a cherrig,
Pres, a phlwm, a moch a chesig,
Na pharadwys a'i hangylion,
Na'r Duw mawr a'i holl fendithion.

18.
Gwell oedd genny'r cnawd na'r enaid,
Y drwg na'r da, y moch na'r defaid,
Y byd na'r nef, y cam na'r cymmwys,
A'r nos na'r dydd, a'r gell na'r Eglwys.

19.
'N awr mae'n 'difar gan fy nghalon,
Fy mod mor ffol, mor ddall, mor ffin-
A phob modfedd sydd yn crynu,[ion ;[V]
'N awr wrth fyn'd i'r barr [W] i'm barnu.

20.
Y mae 'nghorph yn myn'd i bydru,
I'r bedd, am fy ngwaith yn pechu;
A'm henaid trist yn myn'd i atteb,
O flaen Duw, am bob ffolineb.

21.
'N awr mi glywaf Grist yn galw,
Rhaid i'm atteb wrth fy enw:
F' orfydd myn'd i wneuthur cyfrif,[X]
Er anhawsed ydyw gennyf.

22.
O! pa filoedd o bechodau,
Y mae 'nghydwybod yn eu hadde'?
Y rhai a wnaethum mor ddiofon,
Gynt yn erbyn Duw a dynion.

23.
O! pa rol [Y] sydd gan fy ngelyn,
C'yd a'r dwyrain a'r gorllewin,
Yn cyhuddo, ac yn traethu
Y man a'r modd y bum yn pechu.

24.
O! pwy glywa'i yn cyhuddo,
Ond y diawl y fu'n fy hudo,
Gynt i bechu yn y dirgel;
Gwae wrandawo ar y cythraul.

25.
Nid oes pechod ag a wnaethum,
Er yn blentyn, na bo'n awchlym [Z]
Yn ei daflu yn fy nannedd:
Gwae fi gynddrwg y fu muchedd.

26.
Mae e'n achwyn mor ddibrofit,[A]
Gynt y treuliais fy holl ie'ngctid,
Mewn oferedd a phibiaeth,[B]
Heb dduwioldeb na Christ'nogaeth.

27.
Mae e'n claimio [C] mae fe'm piau,
Waith fy ennill fil o weithiau,
Yn fy ie'ngctid, ac na ddichon
Duw roi iddo lai na'i gyfion.[D]

28.
Mae e'n dangos pob ffolineb,
Ag a wnaetho [E] i mewn gwroldeb,[F]
A'm holl feddwdod, a'm holl ryfyg,
A'm trachwantau cas llygredig.

29.
Mae e'n dangos fy nigofaint,
A'm holl geintach [G] yn fy henaint,
A'm cybydd-dod, a'm hanwiredd,
A'm di'mdawrwydd [H] am fy niwedd.

30.
Mae e'n taeru led ei safan,
Iddo f'ennill ym mhob oedran;
A mod innau er yn fachgen,
Yn ei was'naethu yn dra llawen.

[L] Mor gyffredinol. [M] Cyndyn, gwrthnysig. [N] Er mor dda. [O] *Opinion*, tyb, meddwl. [P] Gwael. [Q] *Doctor*, athraw, dysgawdwr. [R] Mursen, benyw anllad. [S] Teulu, pobol. [T] Yr wyf yn edifarhau ganwaith. [U] Llawenydd. [V] Brwnt, ffiaidd. [W] *Bar*, lle y carcharor mewn brawdle. [X] 2 Cor. 5. 10. [Y] *Roll*, plyglyfr ysgrifenedig, llechres cyfrif. [Z] Bywiog, cyflym. [A] *Profit*, elw-difudd. [B] Cerddoriaeth, llawenydd ynfyd. [C] *Claim*, honni, haeru. [D] Cyfiawnder. [E] A wnaethum i. [F] Yn oedran gŵr. [G] Bod yn achwyngar, ac annynad.—"A'm holl rimpe (troau drwg.")—S. Hughes. [H] Diofalwch, anystyriaeth.

31.
Mae e'n pledio [I] yn ddigwyddyl,[J]
Wrth y Gyfraith a'r Efengyl,
Mai fe'm piau eisiau credu,
Gwella 'muchedd, a 'ddifaru.

32.
A lle tybiais, trwy anwybod,
I Grist farw dros fy mhechod,
Ac na chaffai'r cythraul feddu,
Ar y sawl na bai'n ei wadu.

33.
Y mae'r cythraul yntau'n pledo,
Na thal son am hynny wrtho;
Can's ni cheidw Crist un Cristion,
Ond a gretto ynddo'n ffyddlon. [K]

34.
Y mae'r diawl yn d'wedyd eilwaith,
Nad oedd gennyf ffydd na gobaith,
Na 'difeirwch, na gwell amcan,
Nag oedd gan y Twrc [L] a'r pagan.[M]

35.
Mae e'n pledio ac yn taeru,
Nad oes imi nel [N] â'r Iesu,
Eisiau gwrandaw ei leferydd,
A bod yn greadur newydd.[O]

36.
Er imi gael enw Cristion,
A'm bedyddio gyda'r ffyddlon,
Etto nid oedd well fy 'nghrefydd,
Medd y diawl, na dyn di-fedydd.

37.
Mae e'n dywedyd, 'rwy'n ei glywed,
Nad oedd gwell fy ffydd a'm gweith-
Na'm ymddygiad a'm harferion, [red,
Na ryw ethnic [P] anobeithlon.[Q]

38.
Mae e'n d'wedyd, na ddilynais,
Air o'r 'fengyl wen a glywais,
Mwy na'r Iuddew na's ca's[R] etto
Ras i'w dilyn na'i chofleidio.

39.
Mae e'n d'wedyd wrth Duw'n amlwg,
Y rhy gennad 'dorri ei wddwg,
Os adroddai iddo'n rhugyl,[S]
Bedwar gair o'r holl efengyl.

40.
Mae yn galw Duw ei hunan,
A'i angylion fawr a bychan,
Yn dystiolaeth, nad wy'n d'wedyd,
Ond gwirionedd ar fy mywyd.

41.
Mae fy nghonsiens[T] drom, dan chwysu,
Gyda'r diawl, yn tystiolaethu,
Ac yn d'wedyd, mewn gwirionedd,
Felly'n uniawn y bu 'muchedd.

42.
Mae'n dywedyd i mi bilo,[U]
Pobl dlodion, a'u hanrheithio,
Dwyn eu tai a'u tir oddi arnynt,
A sclamenta'r [V] maint oedd ganthynt.

43.
Mae e'n d'wedyd i mi feddwi,
A phutteinia, ac ymlosgi,
Torri'r Sabboth fil o weithiau,
A dibrisio Duw a'i ddeddfau.

44.
Y mae'r diawl gan hynny'n gofyn,
Am i Grist roi'r farn i'm herbyn,
A'm troi i uffern byth i boeni,
Am fy mhechod a'm drygioni.

45.
O! pa grynu, O! pa gwynfan,
Y mae f'enaid rhag gŵg Satan,
Sydd yn dyfod, a'i wŷr duon,[W]
Idd ei gyrchu at Dduw cyfion.

46.
O! mor chwerw, O! mor ddiflas,
O! mor ffiaidd ac mor atgas,
Ydyw pechod ganddo'n awr,
Fu e'n garu gynt mor fawr.

47.
O pa g'wilydd s'arnai wrando,
Y cyhuddwr i'm cyhuddo,
Am gan' peth, na fynnai f' enaid,
Er y byd, i'm mam eu 'styried.[X]

48.
Gwell gan f'enaid, pe cai ddewis,
Fyn'd i uffern, hyn sydd ddilys,[Y]
Na myn'd i'r barr at y Drindod,
I roi cyfrif am ei bechod.

49.
Etto f'orfydd arno ymddangos,
O flaen Duw, nid oes lle [Z] aros,
I roi cyfrif llawn, a derbyn
Barn, fel y b'o'r gwaith yn gofyn.[A]

50.
Nid wy'n clywed neb yn pledo,
Nac yn chwareu'r twrnai [B] drosto,
Nid wy'n clywed yntau'n atteb
Un o filoedd o'i ffolineb.

[I] *Plead,* dadleu, taeru. [J] Digywilydd. [K] Ioan 3. 36. [L] Un o ganlynwyr Mahomet. [M] Dyn heb broffes o Gristionogaeth. [N] A wnelwyf. [O] 2 Cor. 5. 17. [P] *Ethnic,* cenedl-ddyn anghredinol. [Q] Heb obaith ganddo. [R] Cafodd. [S] Yn fedrus, yn rhwydd. [T] *Conscience,* cydwybod. [U] Yspeilio. [V] Ysglyfaethu. [W] Luc 12. 20. [X] Gwybod. [Y] Sicr, gwir. [Z] Modd. [A] Rhuf. 2. 6. [B] *Attorney,* cyfreithiwr—cyflawni swydd dadleuwr.

51.
'Rwyf fi'n gweled Duw â'i lyfrau,[C]
Yn hyspysu ei droseddau,
Ac yn datgan yn ddigwnsel,[D]
Y pechodau wnaeth e'n ddirgel.[E]

52.
'Rwyf fi'n clywed taflu'i fuchedd
Front, ddi-grefydd, yn ei ddanedd,
A'i gwnawdolrwydd, a'i 'freolaeth,[F]
A'i ddrwg arfer ddi-Grist'nogaeth.

53.
'Rwyf fi'n clywed cyfri'r llwon,
A fu'n dyngu 'mysg y meddwon,
A'i ffieidd-dra ar y Sabboth,
A'i ddrwg naws a'i eiriau annoeth.

54.
'Rwy'n ei glywed yntau'n tewi,
Ac yn griddfan, ac yn codi,
Heb agoryd dim o'i enau,
Mwy na'r pysg, ond ochain weithiau.

55.
'Rwyf fi'n clywed Crist yn gwysio
'R diawl i glymmu ei draed a'i ddwylo,
A'i daflu i'r tywyllwch eitha',
Lle nad oes ond cur a phoenfa.[G]

56.
'Rwyf fi'n clywed Crist yn traethu
'R fordid [H] arno, gan eu farni,
I dân uffern yn dra union,
At y cythraul a'i angylion.[I]

57.
'Rwyf fi'n gweled Satan yntau,
Yn ei rwymo mewn cadwynau,
Ac i uffern yn ei dwmblo,[J]
Gwedi clymmu'i draed a'i ddwylo.

58.
'Rwy'n ei glywed yntau'n llefain,
Ac yn beichad,[K] ac yn ochain,
Wrth ei daflu mor anffafrol,[L]
Llwr' ei ben [M] i'r tân uffernol.

59.
'Rwyf fi'n gweled y cythreuliaid,
Hwyntau'n rhwygo'i gorph a'i enaid,[N]
Fel y rhwygai cwn digasog,
Wrth eu newyn, iwrch neu sgwarnog. [O]

60.
'Rwyf fi'n gwrando'i ganlyn [P] yntau,
Yn crïo'n [Q] dost am gael ei angau :[R]
Ac er tosted y mae'n galw,
Nid yw nes er hynny i farw.

61.
Mae e'n gorwedd mewn tywyllwch,
Yn nhân uffern heb lonyddwch,[S]
Rhwng cythreuliaid, lle mae newyn,
A phoenydiau tost di-derfyn.[T]

62.
Nid oes dim yn torri 'nghalon,
Mor ddi-gysur ac mor greulon,
Ag yw meddwl fel na dderfydd
Dim o'i boenfa yn dragywydd.

63.
Dyma'r man a'r lle y gorfydd,
Arnaf finnau, 'r corph di-grefydd,
Fyn'd i boeni atto'n irad,[U]
Yn ol dydd yr adgyfodiad.[V]

64.
A da beth y dylwn [W] fyned,
I dân uffern, er ei boethed ;
O's [X] myfi a barodd iddo,
Bechu'n fynych heb repento. [Y]

65.
Dyna'r lle yr â'r holl bobol
Ddrwg, ddi-grefydd, gas, anneddfol,[Z]
Yn ol hela'r [A] tŷ trwy'r ffenest',[B]
Byw fel moch, mewn glwth,[C] a gloddest

66.
Mi gynghorwn bawb gan hynny,
Ofni Duw, a'i wir was'naethu,
A byw'n sanctaidd ac yn ddeddfol,
Rhag eu troi i'r tân uffernol.

67.
Byddwch sobor, byddwch sanctaidd,
Byddwch union a Christ'nogaidd ;
Oni byddwch, gwn yn sicr,
Mai i uffern y'ch condemnir.[D]

68.
Ofnwch Dduw, gwrandewch y 'fengyl,
Gwoglwch [E] droi at hon eich gwogil ;
Byddwch fyw fel wir Grist'nogion,
Os chwennychwch gael y goron.

[C] Dan. 7. 10. Dat. 20. 12. [D] *Counsel*, cyfrinach—yn ddi-gêl, yn gyhoeddus. [E] Preg. 12. 14. Rhuf. 2. 16. [F] Afreolaeth. [G] Mat. 22. 13. [H] *Verdict*, dedfryd, barn. [I] Mat. 25. 41. [J] *Tumble*, taflu bendramwnwgl. [K] Brefu, gwaeddi. [L] *Unfavourable*, diarbed. [M] Yn llwrw, neu yng nghwysg ei ben ; a'i ben yn flaenaf. [N] I gyd drosto. [O] Ysgyfarnog. [P] Deisyflad, erfyniad. [Q] *Cry*, llefain. [R] Dat. 9. 6. [S] Dat. 14. 11. [T] Mat. 9. 43, 44. [U] Tost, truenus. [V] Ioan 5. 29. [W] Y mae y Ficer yn geirio y Gân hon, fel pe byddai y corph marw yn llefaru. [X] O achos. [Y] *Repent*, edifarhau. [Z] Na rodiant yn ol y ddeddf. [A] Gyrru. [B] Gwastraffu y cwbl. [C] Esmwythder ; anghymmedroldeb. [D] *Condemn*, bwrw yn euog. Dat. 21. 8. [E] Gochelwch.

69.

Ni thal pledo ffydd heb weithred,
Nid plant Duw o'r[F] libertiniaid,[G]
Nid gwir Gristion dyn di-grefydd,
Plant i'r fall yw'r rhai anufudd.[H]

70.

Ni thal d'wedyd, Yr wy'n Gristion,
Os bydd ffydd heb weithred ffyddlon,[I]
Ni bydd bywiol ffydd heb weithred,
Mwy na'r tân heb wres pan cynned.[J]

71.

Byddwch onest, byddwch union,
Duw ni oddef gam fargennion;
Os arferwch dwyll neu ffalstedd,
Trwm o'r dial yn y diwedd.[K]

72.

Beth a ennill dyn wrth dreisio,
Pilo'r tlawd, a'i lwyr anrheithio,
Os tormentir[L] hwn o'r diwedd,
Yn nhân uffern am ei gamwedd ?[M]

73.

Beth y dal i ddyn dros ennyd
Blesio'r[N] cnawd, a chael ei wynfyd,
Os â gwedi'n yn drag'wyddol,
Ar ei ben i'r tân uffernol?

74.

Beth y dâl it' ddyfal lanw
'R bola dro ar win a chwrw,
Od âi gwedi'n, am dy feddwdod,
I newynu i uffern isod ?[O]

75.

Beth a ennill dyn wrth dwyllo,
Torri promais,[P] ac andwyo
Ei gymmydog tlawd trwy gamwedd,
Os â i uffern am ei ffalstedd ?

76.

Nadedq[Q] neb i'r diawl ei dwyllo,
A wnelo ddrwg fe atteb drosto:
Fel yr hauoch felly medwch,
Fel y gwneloch y derbyniwch.[R]

77.

Mae mor hawdd i'r cythraul 'sgeler,[S]
Fyn'd i'r nef y dydd y barner,
Ag i'r drwg-ddyn, glwth, di-grefydd,
Ddiangc uffern ddydd ei gystudd.[T]

78.

Hir yr erys Duw heb daro,
Llwyr y dial pan y delo;
Am yr echwyn a'r hir scori,[U]
Fe ry gyflawn ddial itti.

79.

Fe gyd-ddwg â'r bobl waetha',
Ennyd hir, i geisio eu gwella;[V]
Gwedi'n, eisiau troi'n 'difeiriol,
Fe'u llwyr dry i'r tan trag'wyddol.[W]

80.

Duw ro ras i bob dyn wella,
Tra fo'r dydd a'r goleu'n para;
Duw a'ch gwnel chwi bawb yn barod,
Cyn del angau roi 'chwi ddyrnod.

## CXXXVI.—CWYN A CHYNGHOR DIFES[A] I'W BUM' BRODYR.

*Clywch bawb gŵyn a chynghor Difes,*
*O'r fflam boeth, a'r danllyd ffwrnes,*
*I'w bum' brodyr, a'i holl drasau,*
*Rhag ei ddyfod lle mae yntau.*

1.

O FY mrodyr, clywch fi'n traethu,
Fy nhost gyflwr gwedi 'nghladdu;
Fel y galloch chwithau ddiangc,
Rhag y cyfryw boenau didrangc.[B]

2.

M'arnai ddyled i'ch cynghori,
A rhoi rhybudd amlwg i chwi:
Rhag heb wybod i chwi ddwad,[C]
I'r fath garchar di-ddymchweliad.[D]

3.

A phe gwypech faint o'm[E] trallod,
A'm holl boen yn uffern isod,
Chwi wrandawech ar fy ngeiriau,
Rhag ich' ddyfod i'r fath boenau.

4.

Gwn yn hyspys iawn pe gwypech,
Faint o'm poen, a'm cur, a'm gortrech,[F]
Na chymmerech dda amherod,[G]
Er[H] eu goddef un diwrnod.

5.

O's[I] na ddichon dyn nac angel
Adrodd gymmaint yw fy nhrafael,[J]
Yn y fflam a'r tân uffernol,
Lle'm poenydir yn drag'wyddol.

[F] Yw'r. [G] Wrth y Libirteniaid y sonir am danynt yn Act. 6. 9, deallir gwŷr rhyddion o Rhufain, y rhai oeddynt Iuddewon, neu broselytiaid, a chanddynt synagog iddynt eu hunain; eithr yma golygir dynion yn cymeryd rhyddid i bechu. [H] Ioan 8. 44. 1 Ioan 3. 8. [I] Iago 2. 14. Mat. 7. 17. [J] Pan y cenneuwyd. [K] 1 Thes. 4. 6. [L] *Torment*, poenydio. [M] Mat. 16. 26. [N] *Please*, boddhau. [O] Luc 16. 25. [P] *Promise*, addewid. [Q] Na adawed. [R] Gal. 6, 7, 8. [S] Tra drygionus. [T] 2 Thes 5. 3. [U] *Score*, cadw cyfrif, rhedeg i ddyled. [V] 2 Petr 3. 9. [W] Luc 13. 5.
[A] *Dives*, (Lladin), gŵr goludog. Luc 16. 19, &c. [B] Diderfyn, tragywyddol. [C] Dyfod. [D] Nad oes dychweliad o hono. [E] Yw'm. [F] Gorthrech, gorthrymder. [G] *Emperor*, ymerawdwr, pennaeth a brenhinoedd dano. [H] Am. [I] O achos, o herwydd. [J] *Travail*, trafferth, poen.

6.

Bum i gynt yn fawr fy rhyfyg,
Yn y byd, yn ŵr arbenig;[K]
Yn rheoli fel y mynnwn,
Ac yn gwneuthur faint 'wyllysiwn.

7.

Bum yng ngolwg llawer un,
Heb ofni Duw, heb barchu dyn,
Mwy nag infidel[L] neu bagan,[M]
A ddilynai 'i ffansi[N] 'i hunan.

8.

Can's mi dybiais, trwy gau grefydd,
Na bawn marw yn dragywydd;
Ac o byddwn marw unwaith,
Na ddoi[O] 'mofyn arnai eilwaith.

9.

Er bod Moesen[P] a'r Prophwydi,
Yn mynegi'n amlwg imi,
Fod fy enaid yn anfarwol,
Ni wnawn bris o'u geiriau grasol.

10.

Er eu bod yn dangos imi,
Y gorfyddai gwneuthur cyfri'
Ger bron Duw, am bob fileindra,[Q]
Nid â'i hynny yn fy nghloppa.[R]

11.

'Nawr yn uffern rwy'n cael dysgu,
Mai gwir oeddent yn ei draethu,
A bod enaid didrangc genyf,
Yn y fflam yn gwneuthur cyfrif.

12.

Tybiais hefyd tra fu'm byw,
Nad oedd un nef, nac un Duw,
Nac un uffern, nac un cythraul,
Na gwell diwedd dyn na 'nifail.

13.

'N awr yn uffern wrth boenydio,
Y mae'r diawl i'm catecisio,[S]
Ac yn dangos yn blaen[T] imi,
Fod Duw, i ddial pob drygioni.

14.

'N awr rwy'n clywed ac yn canfod,
Fod y diawl, ac uffern isod;
A mil miloedd o gythreuliaid,
Wrth farn Duw yn poeni f'enaid.

15.

'Rwyf fi'n gwel'd yn eglur hollol,
Fod pob enaid yn anfarwol,
Gwedi marw'r corph a'i gladdu,
Bid drwg, bid da, fo'r enaid hynny.

16.

'N awr y gwn mai gwir yw'r 'Sgryth-
'N awr y gwn fod Crist yn eirwir; [yr,
'N awr y gwn y treulia'r nefoedd,
Cyn el geiriau Crist yn niffodd.[U]

17.

Eisiau credu hon[V] mewn amser
Nid yw 'nghred yn awr ond ofer;
Eisiau'i chredu yn fy mywyd,
Mi fu'm byw fel 'nifail ynfyd.

18.

Felly byddwch chwithau, 'mrodyr,
Oni chredwch eiriau'r 'Sgrythyr,
Ac amcanu byw yn ddeddfol,[W]
Yn ei hol fel meibion grasol.

19.

Eisiau dilyn geiriau'r 'Sgrythyr,
Eisiau dofi trachwant natur,
Eisiau byw 'ngoleuni'r 'fengyl,
'Rwyf fi'n awr mor ddrwg fy mhiccil.[X]

20.

Eisiau dilyn cynghor Moesen,
Eisiau credu'r 'fengyl lawen,
Eisiau cadw pwyntiau'r[Y] gyfraith,
Y bu 'muchedd front yn ddiffaith.[Z]

21.

Pan y troes i'r 'fengyl heibio,
Fe ddaeth Satan i'm cyf'rwyddo,
Ac i'm tynnu i bob drygioni,
Y fai 'nhrachwant yn ei hoffi.

22.

Nid oes pechod alla'i draethu,
Na's dilynais nes i'm laru,[A]
Nes myn'd bywyd ffiaidd Difes
Mor ddiareb a Manasses.[B]

23.

Gwnaethum dduw o'm golud bydol,
Rho'is fy mryd ar bethau cnawdol,
Ym mhob drwg mi aethum rhagof,[C]
A gollyngais Dduw yn anghof.

[K] Arglwyddaidd, nodedig. [L] *Infidel*, anghredadyn. [M] Un heb broffes o Gristionogaeth. [N] *Fancy*, mympwy, ewyllys. [O] Na ddenai. [P] Moses—Moses a'r Prophwydi, a'r Ysgrifenadau Sanctaidd, y galwai yr Iuddewon yr holl Ysgrythyr oedd ganddynt hwy. [Q] *Villainy*, drygioni, anrasoldeb. [R] Pen. [S] *Catechise*, addysgu trwy holiadau ac attebion. [T] *Plain*, eglur. [U] Mat. 24. 25. [V] Yr Ysgrythyr. [W] Rheolaidd, trefnus. [X] *Pickle*, sefyllfa, cyflwr. [Y] *Points*, pyngciau. [Z] Drygionus. [A] Alaru, diflasu arno. [B] Manasseh, brenhin Judah, yr hwn, cyn ei droedigaeth, a wnaeth llawer o ddrwg yng ngolwg yr Arglwydd, ac a gyfeiliornodd feibion Israel i wneuthur yn waeth na'r cenhedloedd a ddifethasai yr Arglwydd o'u blaen hwynt. 2 Bren. 21. 6, 9. [C] Aethum ym mlaen yn waradwyddus.

24.
Felly, gwedi tost gamsynied,
Llwyr ddibrisiais am fy enaid,
Fel rhyw 'nifail na bai'n coffa[D]
Dim ond am y byd a'r bola.

25.
Mynnais drwsiad[E] gwych am danaf,
Porphor gwych bob dydd o'r meinaf;
'N awr yn uffern 'wy'n noeth-lymmyn,
Am fy nghoegedd[F] heb un edefyn.

26.
Mynais sindon, lawnd, a chambrig,[G]
Yn fy nghrysau, awr ac orig:[H]
'N awr gwae finnau na bai garthen,
Neu hws[I] ceffyl am fy nghefen.

27.
Minnau fynnwn lanw 'mola,
Ar ddanteithfwyd o'r melusa',
Bob diwrnod tra fai'r flwyddyn,
Er bod f'enaid yn dwyn newyn.

28.
Bum mor foethus ac mor ddainti,[J]
Ac na fynnwn unwaith brofi
Dim, ond y fai tra danteithiol,
Bras a melus, drud a manol.[K]

29.
'N awr mi fynnwn[L] pe cawn fwytta,
Soeg y moch i lanw 'mola,
Ac i dorri peth o'r newyn,
Sy'n dolurio pob coluddyn.

30.
Bum yn yfed ac yn whiffio,[M]
Bir a gwin, heb fesur arno;
Ac yn llanw 'mola gan-waith,
Nes ei chwydi fynu eilwaith.

31.
'N awr mi rown y byd yn gyfan,
A'i holl drysor pe cawn ddafan,[N]
O ddw'r oer i oeri 'nhafod,
Sydd mewn fflam yn llosgi'n wastod.[O]

32.
Er bod ar fy mord[P] i friwsion,
All'sai borthi swrn[Q] o dlodion,
Fe gai'r cŵn y cwbl rhyngddyn',
Cyn cai Lazar[R] un briwsionyn.

33.
'N awr mae Lazar yntau'n talu
Pwyth hyd adref,[S] ac yn pallu
Rhoi o'r ffynnon imi ddafan
O'r dw'r oer, er maint wy'n fegian.[T]

34.
Er bod Moesen a'r Prophwydi
Yn rhoi llawer rhybudd imi;
Ni wrandawn ar ddim a dd'wedent,
Ni wnawn un-rhith[U] ag a geisient.

35.
'N awr gan hynny 'rwy'n cael crïo,[V]
Ddydd a nos, heb gael fy ngwrando;
Ond cael taflu yn fy nannedd,[W]
Mor annuwiol y fu 'muchedd.

36.
Pan pregethid yr Efengyl,
Minnau drown at hon fy ngwegil,
Ac a gysgwn ar fy nyrnau,
Pan bai eraill yn cael gwersau.[X]

37.
'N awr am gysgu yn y demel,
Fe'm tormentir[Y] gan y cythraul,
Fel nad wyf yn abal[Z] cysgu,
Na marwino[A] mwy ond hynny.

38.
Ac am flino gwrando'r 'fengyl,
Ac athrawiaeth Crist yn rhugyl,
Y mae'n gorfod arna'i wrando,
'Sgrech y cythraul byth tra gantho.

39.
Eisiau gwrando cynghor Moesen,
Eisiau credu'r 'fengyl lawen,
Eisiau dilyn hon a'i dysgu,
Y mae'n uffern fil yn gryddfu.[B]

40.
Minnau dreuliais ddydd yr Arglwydd,
Mewn glothineb ac anlladrwydd,
Yn gan' waeth, mewn gloddest 'sgymmun,[C]
Nag un dydd o ddyddiau'r flwyddyn.

41.
Mae 'ma filoedd o rai annoeth,
Am halogi'r sanctaidd Sabboth,
Heb gael Sabboth nag esmwythdra,
Ond eu poeni haf a gaua'.

42.
Cym'rais enw Duw yn ofer,
Fil o weithiau wrth fy mhleser,[D]
Nid oedd blas ar chwedel genny',
Nes y tyngwn waed yr Iesu.

43.
O! pa boenfa s'ar fy nhafod,
A'm ddirmygu gwaed y cymmod:
A pha dorment sy'n fy ngryddfu,
Am ammharchu enw'r Iesu.

D Cofio. E Gwisgiad. F Balchder. G *Sindon, lawn, cambric,* mathau o liain teg. H Bob amser. I *Housing,* gorchudd ceffyl. J *Dainty,* min-felus. K Wedi ei drin yn ofalus. L A ewyllysiwn, a hoffwn. M *Quaff,* llyngcu. N Dafn, diferyn. O Yn wastadol, o hyd. P *Board,* bwrdd. Q Bagad, llawer. R Lazarus y cardottyn. Luc 16. 20. S Dial i'r eithaf. T *Beg,* deisyf. U Unrhyw beth. V *Cry,* gwaeddi, llefain. W Danod, edliw. X Addysgiadau. Y *Torment,* poeni. Z *Able,* galluog. A Trymhau, marweiddio. B Gofidio, griddfan. C Annuwiol. D *Pleasure,* hyfrydwch.

44.
Mi offrymais f'enaid gan-waith
Yn y dydd i'r cythraul diffaith:
Am ei roi mor fynych iddo,
F'aeth y diawl a'r enaid gantho.

45.
Mae 'ma lawer mil fel finnau,
Yn y pwll mewn irad[E] boenau,
Am roi'u hun i'r diawl dan regu,
Idd eu dwyn i'r poeth carchardy.

46.
Llawer un a fum i'n hela,[F]
O dra malais i ryfela,
Er mwyn tywallt gwaed y gwirion,[G]
A'i ddifetha heb achosion.

47.
'N awr mae gwaed y rhai'n yn llefain,
Am ddialau arna'r filain,[H]
Ac yn crïo ar y cythraul,
Dalu imi am fy nhrafael.

48.
Bum yn gwest[I] ar fywyd ganwaith,
Heb nac ofn Duw na'r gyfraith,
Yn condemnio[J] llawer gwirion,
Ac yn cadw llofrudd, lladron.

49.
'N awr mae'r mwrddwyr dan eu helw,
A drwg-ddynion fu'm i'n gadw,
Yn y pwll yn llarpio f'enaid,
Mor ddi-ffafar a'r cythreuliaid.

50.
'Lariais ar fy ngwraig fy hunan,
Cym'rais fenthyg gwragedd aflan;
Llu o'r rhai'n sy'n awr i'm pwyo,[K]
Ym mhwll uffern am eu hudo.

51.
Mae'r bastardiaid fu'm i'n ennill,
O'r rhai aflan hyn fel perchill,
Oll yn llefain ac yn crïo
Am i'r cythraul fy nhormento.

52.
Mi orthrymmais blant ymddifaid,
Pan bai farw un o'm deiliaid,
Awn a'r ddau ŷch fawr o'r arad',
Rhag i'r naill o'r ychen frefad.[L]

53.
'N awr am dreisio'r fath wirioniaid,
Fe'm tost ffustir[M] gan gythreuliaid,
Yn gân' gwaeth nag y bydd tanner,[N]
A'r pawl mawr yn ffusto'r lleder.

54.
Bum yn hurio[O] anwir ddynion,
Lawer gwaith i dyngu 'nudon,[P]
Ac yn peri'r rhei'ny dyngu,
Beth o fynnwn, ond eu dysgu.

55.
Y mae rhai'n fel haid o nadredd,
Ddydd a nos yn cnoi fy mherfedd,
Ac yn rhwygo'n dost fy nghalon,
Am eu dysgu 'dyngu 'nudon.

56.
Minnau elwais bobl wirion, [lladron,
Weithiau'n fyrddrwyr,[Q] weithiau'n
Ac enllibais wŷr a gwragedd,
Heb ddim achos ond fy 'nhrawsedd.

57.
Cedwais hur a llawer cyflog,
Ar fy ngwas a'r tlawd anffodiog,[R]
Ac y berais i'r tlawd fedi
Fy holl heiniars heb un beni.[T]

58.
'N awr mae gwaed y rhei'ny'n crïo,
Ar y drwg-ŵr am fy mhwyo,
Am i'm gadw hur y rhei'ni,
Ac andwyo'r cyfryw dlodi.[U]

59.
Rhoddais f'ariant gynt ar occor,[V]
I'r dyn tlawd fel cybydd angor,[W]
Nes i'm lyngcu feddai'r tlodion,
A'u handwyo â'm bargenion.[X]

60.
'N awr mae llawer un o rhei'ny
Yma yn uffern yn fy mhoeni,
Am eu gyrru i ledratta,
Gwedi i f'occor brwnt eu difa.

61.
Rhoddais i'r cyfreithwyr duon
Wobor fawr am dreisio'r tlodion:
Mae'r cyfreithwyr yn fy llethu,
Yma yn uffern am eu llygru.[Y]

62.
Rhoddais gennad i'm holl weision,
Flino pawb o'm cymmydogion:
'N awr mae'r gweision, am eu godde',
Yn blino'n dost fy enaid innau.

63.
Prynais dir dan bris[Z] gan fagad,
Cedwais beth ar bawb o'u taliad;
'N awr mewn carchar 'rwyf am hynny,
Heb fod gennyf rôt[A] i dalu.

[E] Tost, erchyll. [F] Gyrru. [G] Diniwed. [H] *Villain*, dyn diras. [I] *Quest*, rheithiwr, un o ddeuddeg, yn ymholi i fatter cyfreithiol. [J] *Condemn*, euog-farnu. [K] Curo. [L] Brefu. [M] Curo [N] *Tanner*, barcer, triniwr crwyn. [O] *Hire*, cyflogi. [P] Celwydd. [Q] *Murderers*, llofruddion. [R] Aflwyddiannus. [S] Cynnyrch y tir. [T] *Penny*, ceiniog. [U] Iago 5. 4. [V] Llog. [W] Trachwantus. [X] *Bargains*, cyttuniadau am werthu neu brynu. [Y] Gwobrwyo am wneuthur anghyfiawnder. [Z] Am lai na'i werth. [A] *Groat*, pedair ceiniog.

64.
Pe bai ddimmai'n abal prynu,
Rhydd-did, imi o'm carchardy,
A'm dwyn o'r pwll i'r nef oleu,
Nid wy'n abal cael o'r ddimmai.

65.
Cefais rybudd fil o weithiau,
Am roi 'dreisiais eilwaith adre',
Minnau awn i'r tân uffernol,
Cyn rhown ddimmai yn ei gwrthol.

66.
Pan y gwerthwn wlan a llafur,[B]
Rhown gam bwysau,rhown gam fesur;
Yn yr ŷd mi werthwn raban, [C]
Yr un bris a'r gwenith purlan.

67.
Ac, yn erbyn Duw a'i ddeddfau,[D]
Cedwais amryw fath o bwysau;
Pwys rhy fawr, pan fawn yn prynu,
Pwys rhy fach, pan fawn yn gwerthu.

68.
'N awr fe'm curir ar fy nghloppa,
Gan y diawl â'r pwysau mwya';
A phawb eraill, megis minnau,
Y f'o'n arfer anwir [E] bwysau.

69.
Ni adawais pwngc o'r gyfraith,
Heb ei dorri lawer can-waith:
Mi ymdro'is ym mhob ryw bechod,
Nes i'r angau roi im' ddyrnod.

## YR AIL RAN.[A]

1.
Mi fynegais iwch' yn oleu,
Pa wedd y bum i byw hyd angau;
Mi fynegaf i chwi weithian,
Pa wedd y'm poenir dan law Satan.

2.
Y mae'r pwll lle 'rwyf fi'n trigo,
Yn ddwfn iawn, heb waelod iddo,[B]
A'i holl welydd [C] cyn ucheled,
Nad oes gobaith cael ymwared.

3.
Y mae'r pwll dros fyth yn llosgi,
O dan poeth, fel môr yn berwi;
Y mae ana'l Duw ei hunan,
Yn ei drin fel môr o frwmstan.[D]

4.
Gwedi 'nynnu'r tân hyn unwaith,
Byth ni ddiffydd hwn yr eilwaith;
Nid rhaid chwythu dim o hano,[E]
Mae e'n cynneu heb ei gyffro.

5.
Y mae'r tân dros fyth yn llosgi,[F]
Yn dra ffyrnig, ac yn poeni;
Ac er hyn nid yw e'n treulio,
Nac yn difa dim el iddo.

6.
Mae'r un tân yn poeni'r bobol,
Ond mewn dull a modd neillduol;
Rhai yn fwy neu lai o ronyn,
Fel y bytho'u beiau'n gofyn.[G]

7.
Yr haul a lysg y mŵr [H] o'r India,
Yn fwy na'r rhai a drig yn Rwssia:[I]
Uffern boeth a lysg yn boethach,
Bechod mawr na phechod byrrach.

8.
Nid oes yn y pwll yn trigo
Un heb rwym ar draed a dwylo,[J]
Mewn cadwynau trag'wyddoldeb
Am eu pechod a'u ffolineb.

9.
Mae tywyllwch hefyd ynddo,[K]
All pob rhai yn hawdd ei deimlo:
Ar er dechreu'r byd ni welad,[L]
Ynddo oleu'r haul na'r lleuad.

10.
Mae e'n drewi cyn ffyrnicced,
Nad oes dim all ddrewi gased;[M]
Er bod miloedd yn ei 'nurddo,[N]
Ni lanhaw'd erioed mo honno.

11.
Y mae pryfed ynddo'n bwytta
Consiens [O] dyn, heb gael eu gwala,
Dydd a nos yn fawr eu hawydd,
Ac heb farw yn dragywydd.[P]

12.
Y mae gwedi [Q] mil o filoedd
O gythreuliaid, megis lluoedd,
Yn tormento'r rhai damnedig,[R]
Ac heb orphwys awr nac orig.[S]

[B] Yd. [C] Hadau chwynn. [D] Lef. 19. 35. Deut. 25. 13. Ezec. 45. 10. [E] Anghyfiawn.

[A] Nid oes rhaniad yma yn yr argraphiadau hynaf. [B] Dat. 20. 3. [C] *Walls*, muriau. [D] Esay 30. 33. [E] O hono. [F] Marc 9. 44. [G] Mat. 10. 15. [H] *Moor*, dyn du. [I] *Russia*, gwlad oer yng ngogledd Ewrop. [J] Mat. 22. 13. [K] Mat. 25. 30. [L] Ni welwyd. [M] Mor gas. [N] Halogi, diwyno. [O] *Conscience*, cydwybod. [P] Mat. 9. 44. [Q] Dros, mwy na. [R] *Damned*, wedi eu collfarnu. [S] Un amser.

13.
Maent yn dyrnu ac yn pwyo
Rhai damnedig heb ddiffygio,
Ac er maint y f'ont yn ddial,
Byth ni chymmer un ei ana'l.

14.
Y mae'r torment[T] yn drag'wyddol,
Ac ar bawb yn gyffredinol,
Yn tormento pawb ar neilldu,
Ym mhob aelod a fu'n pechu.

15.
Y mae'r llygaid heb gael gweled
Ond cythreuliaid, er eu cased,
Ac eneidiau rhai damnedig,
Yn y pwll yn wylo'n ffyrnig.

16.
Y mae'r genau yntau'n bwytta
Bustyl lindys,[U] bwyd o'r chwerwa';
Ac heb yfed dim ond gwaddod,
O ddigofaint tost y Drindod.[V]

17.
Y mae'r clustiau hwythau'n gwrando,
'Sgrech y diawl a'i blant yn crïo;
A thost ochain rhai damnedig,
Yn 'sgyrnygu dannedd ffyrnig.[W]

18.
Y mae'r tafod yntau'n llosgi,
Ac mewn brwmstan poeth yn berwi;
Heb gael cymmaint ag un dafan,
O ddwr oer y ddofi'r llosgfan.[X]

19.
Y mae'r ffroenau yn arogli
Gwynt y brwmstan[Y] o'r carchardy,
Sydd heb garthu etto er Adda,
Ac yn drewi o'r ffyrnicca'.[Z]

20.
Y mae'r traed a'r dwylo hwythau
Gwedi'u clymmu mewn cadwynau;
Ac heb allael troi na threiglo,
O'r lle'r ydys yn eu brwylio.[A]

21.
Y mae dannedd pawb yn rhingcian,
Yn 'sgyrnygu â'r fath dwrddan,[B]
Ag y bydd echrydus gennwn,[C]
Wrando'u llais, na gwel'd eu ffasiwn.[D]

22.
Y mae pryfed cas anfarwol,
Yn cnoi consiens pob annuwiol,
Ac yn bwytta'n llym esgymmun,[E]
Etto byth heb dorri'u newyn.

23.
Fel y pechodd pob rhyw aelod,
Ag oedd gennyf, 'nod[F] fy nhafod;
Felly poenir fy aelodau,
Bob yr un âg amryw boenau.

24.
Mae pob aelod yn poenydio,
Mae pob mann a dial arno;
Mae pob dial yn dragywydd,
Yn poenydio heb ddim llonydd.

25.
Ni bydd marw byth o'r pryfyn,
Byth ni ddiffydd tân yr odyn;[G]
Ni ddaw angau, er a geisiaf,
Byth i wneuthur diwedd arnaf.

26.
Ni bu'r diluw ond blwydd hynod,[H]
Na thân Sodom ond diwrnod;[I]
Newyn Egypt[J] ond saith mlynedd,
Mae 'mhoen innau byth heb ddiwedd!

27.
Pe cawn rydd-did o'm holl boenau,
Am ben can-mil o flynyddau,
Byddai hynny gynffordd[K] imi;
Ond dros fyth mae'n rhaid im' boeni.[L]

28.
Y gair byth sy'n torri 'nghalon,
Y gair byth sy'n cnoi 'ngholuddion,
Y gair byth sy'n peri imi
Fwytta 'mreichiau, a gwallgofi.

29.
Tost yw goddef hyn o gystudd,
Dan law Satan yn dragywydd;
Y mae etto beth sydd dostach,
Colli'r Iesu a'i gyfeillach.

30.
Colli'r bywyd, colli'r goron,
Colli'r Iesu a'i angylion;
Colli'r nefoedd a'i rhialtwch,[M]
Colli Duw a phob dedwyddwch.

31.
Melldith Duw i'r dydd y'm ganed,
Anhap ddrwg i'r awr y'm llunied,
Uffern boeth i'm mam na bu'sai
Yn dwyn llyffant yn fy nghyfle.[N]

32.
Gwae fi erioed na thor'sai 'ngwddwg,
Ar y ploccyn pren â bilwg,[O]
Cyn roi bron i fab anwadal,
I ddigio Duw, i ddwyn ei ddial.

[T] *Torment*, poen. [U] Pryf difaol. [V] Psalm 75. 8. [W] Luc 13. 28. [X] Luc 16. 24, 25. [Y] Dat 21. 8. [Z] Echryslonaf. [A] *Broil*, llosgi, pobi. [B] Trwst, swn. [C] Gennym. [D] *Fashion*, dull, agwedd. [E] Ofnadwy, dychrynllyd. [F] Hyd yn nod. [G] Marc 9. 46. [H] Gen. 7. 11, a 8. 13, 14. [I] Gen. 19. 23—28. [J] Yr Aipht. Gen. 41. 54. [K] *Comfort*, cysur. [L] 2 Thes. 1. 9. [M] *Royalty*, gogoniant brenhinol. [N] Yn fy lle. [O] *Bill-hook*, offeryn cam awchus.

33.
Nid oes cythraul, na dyn 'sgymmun,[P]
Yma'n uffern a'i holl derfyn,
Na bont ar eu cylch, yn gynghan,[Q]
Yn fy mhwyo fawr a bychan.

34.
Nid oes enaid dyn er Adda,
Yn mhwll uffern mewn mwy poenfa;
Mewn mwy trallod, mewn mwy eisiau,
Nag y mae fy enaid innau.

35.
Dyma 'nghystudd, dyma 'mhoenfa,
Dyma 'ngwewyr, dyma 'ngwasgfa;
Dyma'r cyflwr yr wyf ynddo,
Bob yr awr yn tost boenydio.

36.
O, gan hynny, fy mhum' brodyr,
A phawb eraill sydd mewn synwyr,
Cym'rwch rybudd cyn del angau,
Rhag ich' ddyfod lle 'rwyf finnau.

37.
Oni byddwch edifeiriol,
Ffyddlon, ufudd, a Christ'nogol;
Gwn na ddengys Duw'r dialau,
Iwch' fwy ffafar[R] nag i minnau.[S]

## CXXXVII.—ATTEB I GWESTIWN[A] YNGHYLCH GWEDDIO DROS Y MARW LLE Y DANGOSIR ANGHYFREITHLONDED GWEDDIO DROS Y CYFRYW.

1.
Fy nghar a'm gwir anwylyd,
Gofyn'soch gwestiwn hyfryd:
Mae'n weddus im', ym mhlaid y ffydd,
Roi atteb prudd[C] o'i blegid.[D]

2.
Hyn yma yw'ch gofyniad,
A'i gweddus i offeiriad
Weddïo dros y marw'n brudd,
Yn ol y dydd departiad?[E]

3.
'Rhwy'n atteb i chwi'n groyw,
Na ddiodde'r 'Sgrythyr alw,
Na gweddïo, na dydd, na nos,
Yn ofer dros y marw.

4.
Mae Duw yn barnu'r enaid,
I'r nef neu uffern dambaid,[F]
Yr awr yr el o'r corph i ma's,[G]
Yn ol ei gas[H] a'i weithred.

5.
Mae enaid y dyn ffyddlon
Yn myn'd o'i gorph yn union,
I'r nefoedd,[I] at angylion gwâr,[J]
Fel enaid Lazar wirion.[K]

6.
Mae enaid yr annuwiol,
Yn myn'd i'r pwll uffernol,
Pan el o'r corph i'r tân a'r rhes,[L]
Fel enaid Difes[M] fydol.

7.
Mae'r duwiol mewn dedwyddwch,[N]
Gogoniant a rhialtwch;[O]
Y fath nid rhaid iwch' geisio mwy,
Gadawn ni hwy mewn heddwch.

8.
Nid rhaid gweddïo drostynt,
Gan gystal yw eu helynt;[P]
Maent hwy gyda'r Oen bob awr,
A swpper fawr sydd ganddynt.[Q]

9.
Mae'r enaid anwir yntau,
Yn griddfan yn y poenau,[R]
Ni ddaw hwn o'i boen a'i blâg,[S]
Er gweddïo ac offrymau.

10.
Yn ol i undyn farw,
A chael y farn yn groyw,
Ofer yw i'r wlad a'r plwy'
Weddïo mwy dros hwnnw.

[P] *Excommunicated*, wedi ei ddiofrydu o felldith. [Q] Cysson, cyttun. [R] *Favour*, caredigrwydd. [S] Luc 13. 3.

[A] *Question*, holiad, gofyniad. [B] Arfera y Pabyddion weddïo ar Dduw a'r Saint dros y meirw, oddi ar eu tyb gyfeiliornus ynghylch y purdan; o'r hwn y maent yn dychmygu y gall gweddiau y rhai byw rwyddhau ffordd eneidiau y meirwon. Dengys y Ficer ffolineb ac afresymmoldeb y cyfeiliornad hwn hefyd yn ei Gân am y Purdan; a gwrthwynebir yr athrawiaeth hon, ac amryw arferion Pabaidd, yn yr ail ar hugain o Erthyglau Eglwys Loegr. [C] Dwys. [D] Yn ei gylch. [E] *Departure*, ymadawiad, marwolaeth. [F] Tanllyd. [G] Heb. 9. 27. [H] *Case*, cyflwr. [I] Luc 23. 24. Phil. 1. 23. Act. 7. 59. [J] Mwyn, llariaidd. [K] Luc 16. 22. [L] Marwor tanllyd. [M] *Dives*, (Lladin) dyn cyfoethog. [N] Psalm 16. 11. [O] *Royalty*, mawredd, anrhydedd brenhinol. [P] Sefyllfa. [Q] Dat. 7. 23—27. [R] Luc 16. 23—27. [S] *Plague*, haint, pla.

11.
Pe ceisiau Job neu Ddaniel,[T]
Neu Abram, Moesen, Samuel,[U]
Laesu'r[V] poenau yn y fflam,
Ni chaent ddim am eu trafael.[W]

12.
Pe delai 'ffeiriaid holl-fyd,
I grio[X] drosto'n daerllyd,
A'u haberthau o bob rhyw,
Ni altrai[Y] Duw 'mo'i ferdyd.[Z]

13.
Pe delai'r byd yn gyfan,
A gwaeddi am laesu'r boenfan;
Ni chaen', gwedi marw'r gwr,
O'r droppyn[A] dw'r i'w safan.[B]

14.
Y farn a saif yn ddilys,
Lle cwympo'r pren yr erys;[C]
Ni newid Duw o'r farn y roes;
Erioed ni throes o'i 'wyllys.[D]

15.
Mae Duw yn ddianwadal,
Y farn a roes fe'i cynnal;[E]
Ni all y byd, â'u hymbil taer,
Na'r nef, na'r ddae'r ei hattal,

16.
Yr amser i weddïo,
Sydd cyn i ddyn ddepartio;[F]
Gweddi gwedi marw neb,
Sydd weddi heb brefailio.[G]

17.
Gan hynny 'rwy'n cynghori,
I bawb a garo weddi,
I geisio hon tra yntho wres,[H]
Os cais ef les oddi wrthi.

18.
Cais wisg, cais oil,[I] cais oleu,
Cais ras cyn delo'r angau;[J]
Ni chair, gwedi pasio'r[K] dydd,
O'r dw'r os bydd e'n eisiau.

19.
Gan hynny, cyn departo,
Ni ddylem bawb weddïo;
Dyna'r pryd, heb ddim o'r ffail,[L]
Mae ini gael ein gwrando.

20.
Cyn marw, y mae ini
Ennill nef neu'i cholli;[M]
Gwedi marw, ni chaiff ffol
Ond barn yn ol ei frynti.[N]

21.
Cyn marw mae repento,[O]
Tra'i'n ddydd y mae ymg'weirio;[P]
Pan el hi'n nos, medd Crist ei hun,
Ni all un dyn mo'r gweithio.[Q]

22.
Mae Crist yn erchi'r treisiwr[R]
Gyttuno â'i wrth'nebwr,[S]
Tra ar y ffordd, cyn delo 'mlaen,
Rhag myn'd o flaen y barnwr.

23.
Rhag rhwymo'i draed a'i ddwylo,
A'i daflu i gael ei frwylio:[T]
O eisiau gwneuthur iawn mewn pryd,
Ni's tynn y byd oddi yno.

24.
Fe wyddai Dafydd frenhin,[U]
Pan ddarfu am ei blentyn,
Mai ofer oedd gweddïo mwy,
Dros hwnnw, trwy hir ganlyn.[V]

25.
I ddangos hyn, mor ofer
I unrhyw ddyn i arfer
Gweddi gwedi marw'r ffrynd,[W]
Yn ol ei fyn'd i 'smwythder.

26.
Am hyn nid oes gweddïo,
Dros ffrynd yn ol departo,
Os yw'n credu'i fyn'd yn noeth,
I uffern boeth i darrio.[X]

27.
Nid oes i neb ond deu-le,
I fyned gwedi angau,
Nef ac uffern, medd gair Duw,
Tân pur[Y] nid yw ond chwedlau.[Z]

28.
Nid rhaid i neb weddïo,
Dros un â i'r nef i drigo;
Os yn uffern y gwna'i nyth,
Ni ddaw ef byth oddi-yno.[A]

29.
Nid oedd ond gweithred ofer,
A wnaeth i'r 'ffeiriaid arfer,
Gweddi dros y marw mud,
I dwyllo'r byd di-bryder.[B]

30.
Nid ydyw'r 'ffeiriaid goreu,
Yn godde'r fath weddïau:
Nis gwna ond rhyw 'ffeiriedyn ffol,
Sy'n serchu yn ol y ddimmai.[C]

[T] Ezec. 14. 14. [U] Jer. 15. 1. [V] Lleihau. [W] *Travail.* trafferth. [X] *Cry*, gwaeddi, llefain. [Y] *Alter*, cyfnewid. [Z] *Verdict*, dedfryd. [A] *Drop*, dafn, diferyn. [B] Luc 16. 24, 25. [C] Preg. 11. 3. [D] Iago 1. 17. [E] Mal. 3. 5, 6. [F] *Depart*, ymadael, marw. [G] *Prevail*, llwyddo, tyccio. [H] Gwres, bywyd. [I] *Oil*, olew. [J] Esay 55. 6. [K] *Pass*, myned heibio. [L] *Fail*, meth. [M] 1 Cor. 9. 24. [N] Luc 13. 24—28. [O] Edifarhau. [P] Ymbarottoi. [Q] Ioan 9. 4. Preg. 9. 10. [R] Gormeswr, crib-ddeiliwr. [S] Mat. 5. 25. [T] *Broil*, pobi, go-losgi. [U] 2 Sam. 12. 15—23. [V] Erfyn, deisyf. [W] *Friend*, cyfaill. [X] *Tarry*, aros [Y] Purdan. [Z] Dychymyg disail, celwydd. [A] Luc 16. 26. Mat. 25. 46. [B] Diofal, anystyriol. [C] Arferai dynion dalu llawer i'r Offeiriaid Pabaidd, am weddio dros eu perthynasau meirwon

31.

Mae dyled ar bob 'ffeiriad,
Roi diolch am 'madawiad
Pob dyn duwiol yn ddiddoi,[D]
Mewn gobaith o'i gyfodiad.

32.

Ond am weddïo trostyn',
Yn ol eu cladd[E] a'u terfyn,
Peth di-les a gwar'ddedig yw,
Nis gwna ond rhyw ofer-ddyn.

33.

Wel dyma i chwi atteb,
O'ch cwestiwn mewn ffyddlondeb;
Duw ro[F] cynnydd ar eich ffydd,
A gras yn brudd i'ch hwyneb.

## CXXXVIII.—CYNGHOR MR. PRICHARD I'W FAB.[A]

1.

SAMI bach, er cariad Duw,
Cofia byth, tra fyddech byw,
Foli Grist ar ben dy liniau,
Tr'ech[B] o'm golwg oddi gartre'.

2.

Galw'n brudd, o ddyfnder calon,
Ar dy Dad a'th Brynwr tirion,
Am d'amddiffyn nos a bore,
Rhag pob drwg tr'ech oddi gartre'.

3.

Plyg dy ddeu-lin, cod dy ddwylo,[C]
Dal yn graff dy lygaid arno,
Cais ei rym, a'i ras a'i oreu,
Ym mhob dim tr'ech oddi gartre'.

4.

Felly ceidw Duw di'n wastad,[D]
Rhag pob niwed a drwg anffod;[E]
Ac ni edy ddim yn eisiau,
Ar Sam bach tr'o oddi gartre'.

5.

Cria[F] ar Dduw am help[G] i ddysgu
'Nabod Crist a'i wir was'naethu,
Tre'ch yn blentyn yn dy foethau;[H]
Dyma'th swydd tr'ech oddi gartre'.

6.

Arfer ofni Duw a'i ganlyn,
Yn dy ie'ngctid, tr'ech yn blentyn;
Felly byddi siwr,[I] mewn graddau,
Foli Duw yn hen-wr gartre'.

7.

Dos yn llawen at dy lyfyr,
Dysg yn glicc[J] ac na fydd segur;
Nid wy'n gw'ardd er hyn it' weithiau,
Chwareu peth tr'ech oddi gartre'.

8.

Cyn b'ech segur, taro'r delyn,
Càn y Salmau[K] sy'n ei chanlyn;
Fe fydd hynny hyfryd weithiau,
I Sam bach tr'o[L] oddi gartre'.

9.

Cân fel cricced[M] ar bob cam,
Gochel wylo am dy fam:
Duw fydd fam a thad o'r goreu,
I Sam bach tr'o oddi gartre'.

10.

Duw ro'i[N] ras a'i fendith iti,
Duw'th gyf'rwyddo i'w addoli:
Duw fo'n Geidwad nos a bore,
Ar Sam bach tr'o oddi gartre'.

## CXXXIX.—CYNGHOR ARALL MR. PRICHARD I'W FAB.

1.

COD y bore ar y wawr-ddydd
Am y cyntaf a'r uchedydd;
Hyn a'th helpa[A] i gael hir iechyd,
Dysg, a dawn, a chyfoeth hefyd.

2.

Gwisg yn esgyd[B] dy holl ddillad,
Dod y rhai'n yn gryno am danad,
N'ad fod bwttwn heb ei gaued,[C]
Cyn y caffo neb dy weled.

3.

Golch dy wyneb, crib dy ben,
A'th gwff[D] yn lân, a'th fond[E] yn wen,
A'th drwsiad oll yn dra threfnus;
O flaen Duw mae hynny'n weddus.

4.

Gwedi ymdrwsio, dos i'th weddi,
Yn ddiaros, gochel oedi;
Cwymp o flaen Duw ar dy liniau,
Cyn y gwlychech di dy enau.

[D] Yn ddiamheuaeth, heb gloffi rhwng dau feddwl. [E] Claddedigaeth. [F] A roddo.

[A] Gwelir i'r Awdwr gyfansoddi y Gân hon i'w fab, Mr. Samuel Prichard, pan oedd wedi myned yn ieuangc i ryw ysgol; ond er yr holl hyfforddiadau a chynghorion a gafodd, ni ymddengys wrth ei hanes, iddo wneuthur defnydd dyladwy o honynt. [B] Tra fyddech. [C] Psalm 28. 2. [D] Yn wastadol. [E] Aflwydd, damwain anghysurus. [F] *Cry*, llefain, galw. [G] *Help*, cymhorth. [H] Hyfrydwch. [I] *Sure*, sicr. [J] Cyflym. [K] "Fy psalme."—S. Hughes. [L] Tra fyddo. [M] *Cricket*, pryfyn a gana gerllaw'r tân. [N] A roddo.

[A] *Help*, cynnorthwyo. [B] Bywiog, ebrwydd. [C] Heb ei gau. [D] *Cuff*, blaen llawes. [E] *Band*, torch o liain gwyn, wisgid am y gwddf.

5.

Pan y delech o flaen Duw,
Meddwl, Sam, mai Brenhin yw,
O flaen pwy mae'r holl angylion
Yn ymostwng mewn mawr ofon.[F]

6.

Dere dithau ar dy ddeulin,
Sami bach o flaen dy Frenhin,
Ac na chydgam[G] wrtho yngan,[H]
Heb anrhydedd, parch, ac ofan.

7.

Ar dy liniau[I] cod d'olygon,
At dy nefol Dad yn eon:
Ac nac ofna ofyn iddo
Bob peth ag sydd raid it' wrtho.

8.

Er bod Duw yn frenhin grymmus,
Holl-alluog, anrhydeddus,
Etto er hyn mae Crist yn d'wedyd,
Fod Duw mawr yn Dad it' hefyd.[J]

9.

Galw dithau ar dy Dad,
Am roi iti ddawn a rhad;
Ac ni phall ef ond ei geisio,
Ddim ag y fo rhaid it' wrtho.[K]

10.

Os bydd arnat ddim ar wall,
Cais yn daer, ac na fynn ball;
Hoff gan Dduw y dyn a geisio,
Yn daer bob awr gymhorth gantho.[L]

11.

Cais ei gymhorth, ac fe ddyry,
Galw arno, ac fe'th wrendy;[M]
Rho di ynddo dy ymddiried,
Ac fe'th geidw rhag pob 'niwed.[N]

12.

Cofia Dduw, fe'th gofia dithau,
Ac ni edy arnat eisiau;[O]
Ei was'naethwyr fe'u gwas'naetha,
A'i ddirmygwyr fe'u dirmyga.[P]

13.

Os gwas'naethi Dduw yn wastad,
Fe gymmer gymmaint carc[Q] am danad,
A phyt fai[R] ef heb un plentyn,
Ond tydi i garcu drostyn'.

14.

Meddwl dithau Sami bach,
Yn gefnog,[S] pu'n ai claf ai iach,
Am was'naethu Duw bob amser,
Dydd a nos, wrth gwrs[T] ac arfer.[U]

15.

Os arferu'n awr, yn blentyn,
Was'naethu Duw yn brudd[V] a'i gan-
Yn ŵr hen ni elli beidio [lyn,
Ei was'naethu byth tra gantho.[W]

16.

Duw r'o iti rym a gras,
I fod iddo byth yn was,
Nes y caffech yn y diwedd
Yn y nefoedd fod yn 'tifedd.

## CXL.—GWEDDI SAMUEL PRICHARD.

1.

Arglwydd, Rhoddwr pob daioni,[A]
Brenhin Nef, a Thâd goleuni,
Gwel a gwrando weddi egwan
Plentyn bach o ddeng mlwydd oedran.

2.

'Rwyf fi'n dyfod ar fy nau-lin
O'th flaen di, fy nghrasol Frenhin,
I fegian[B] arch[C] ar dy ddwylo,
Er mwyn Crist na phall im' hono.

3.

Ti orch'mynaist imi ofyn,
Ti addewaist roi ond canlyn,[D]
Canlyn 'rwyf, na phalla imi,
O'r un arch ag wyf fi'n erchi.

4.

Solomon gynt, y brenhin hyfryd,
Geisiai un arch, doethineb, gennyd;[E]
Ac ti roddaist ei arch iddo,
A llawer mwy nag oedd e'n geisio.

5.

Jacob yntau geisiodd gennyd,
Fwyd a dillad nes dychwelid;[F]
Ac ti roddaist hynny iddo,
A llawer mwy nag oedd e'n geisio.[G]

6.

Minnau sydd yn dyfod attad,
Ar fy nau-lin, anwyl Geidwad,
'Geisio gennyd arch trwy weddi;
Er mwyn Crist na phall hi imi.

[F] Ofn. [G] Rhyfygu [H] Llefaru, dywedyd. [I] Psalm 95. 6. [J] Mat. 6. 9. [K] Psalm 34. 10. [L] Iago 5. 16. [M] Mat. 7. 8. [N] Psalm 18. 30. [O] Diar. 8. 17. [P] 1 Sam. 2. 30. [Q] *Care*, gofal. [R] A phe byddai. [S] Cryf, calonog. [T] *Course*, trefn. [U] "Defod ac arfer orchymynedig gan Dduw." —S. Hughes. [V] Dwys, ystyriol. [W] Diar. 22. 5.

[A] Iago 1. 17. [B] *Beg*, deisyf [C] Cais, dymuniad. [D] Ceisio yn daer. Mat. 7. 7, 8. [E] 1 Bren. 3. 9. [F] Gen. 28. 6. [G] Gen. 32. 10.

7.

Nid wy'n ceisio golud bydol,
Uchel fraint, na phleser[H] cnawdol;
Ond yn unig gras a gallu,
Byth fel Cristion i'th was'naethu.

8.

Dyro ras a grym i minnau,
'Nawr yn blentyn gwympo i ddechreu
Dy was'naethu mewn gwir grefydd,
A'i arferu yn dragywydd.

9.

N'âd im' dreulio dyddiau'm ie'ngctid,
Mewn oferedd, rhwyf[I] a rhydd-did;
Ond pâr imi yn fy ngryfdwr,
Dy addoli, fy Nghreawdwr.

10.

Agor drysor dy ddaioni,
Dyro ras a deall imi,
Yn ddyn bach i'th wir gydnabod,
Megis Daniel gynt a'i gyfo'd.[J]

11.

Jeremi y Prophwyd yntau,
Yn fab bach a'th wir addolai;[K]
Dyro ras fel Jerem' imi
Yn fab bach i'th wir addoli.

12.

'Rwy'n fy offrwm[L] i'th was'naethu,[M]
Yn fy ie'ngctid, yn ddi-hiraethu:
Arglwydd grasol derbyn finnau,
I'th was'naethu yn ddiamau.

13.

Ti dderbyniaist Samuel gyntaf
I'th was'naethu ar y ia'ngaf,
Pan yr oedd ef yn ei siacced,[N]
Yn fab bach yn dechreu cerdded.

14.

Derbyn finnau, Arglwydd grasol,
I'th was'naethu mor naturiol,
Ac eglura dy hun imi,
Fel y gallwy'n fach d'addoli.

15.

O, cyflawna fi'n ddigonol,
A phob dawn sy'n anghenrheidiol,
Imi gaffael bod yn enwog,
Yn was iti'r Holl-alluog.[O]

16.

Agor lygaid fy ngwybodaeth,
Rho im' ras a deall helaeth,
Fel ystyriwyf, yn dra pherffaith,
Bethau dirgel yn dy gyfraith.[P]

17.

'Nynn[Q] fy nghalon a gwreichionen
O'th wir ras, tra fyddwy'n fachgen,
Fel y llosgo hi byth yn wresog,
Yn dwyn zel[R] i'r Holl-alluog.

18.

Cwrdd â'm calon â marworyn,[S]
Oddiar d'allor tra fwy'n blentyn,
Fel y gallwyf draethu i'r goleu
Dy fawr glod, tr'o chwyth i'm genau.

19.

Rho im' bŵer[T] i ddeallu
Dy wir air, a'i iawn ddosparthu,
Fel y gallwyf iawn ystyried
Beth sydd dda ar les fy enaid.

20.

Gwna fi byth yn batrwn[U] duwiol,
Yn f'ymddygiad i'th holl bobol,
Gan fyw'n sanctaidd yn fy muchedd,
Ym mhob pwynt[V] o'm dechreu i'm
  diwedd.

21.

Dyma f'arch, a thyma nghanlyn,[W]
Dyma'r rhoddiad wy'n ei ofyn:
Er mwyn Crist na phall di imi,
Ras yn blentyn i'th addoli.

22.

N'âd im' dreulio dim o'm hamser,
O hyn allan byth yn ofer;
Ond pâr imi 'i dreulio'n wastad
'Nghylch y peth y berthyn attad.

23.

Tywallt fendith ar fy nhrafael,[X]
Pâr im' ddysgu yn ddiogel;
Rho im' gymhorth i ddeallu,
Ac i gofio'r peth wy'n ddysgu.

24.

Tanna droswyf d'aden rasol,[Y]
Cudd fi deni[Z] yn wastadol;
N'âd un gelyn wneuthur niwed,
Mewn un modd i'm corph na'm henaid.

[H] *Pleasure*, hyfrydwch. [I] Gwylltineb, aflywodraeth. [J] Cyfoed, rhai o'r un oedran âg ef. Dan. pen. 1. [K] Jer. 1. 5—7. [L] *Offer*, cynnyg, cyflwyno. [M] Rhuf. 12. 1, 2. [N] *Jacket*, math o wisg. 1 Sam. 2. 18, 19, a 3. 1. [O] Gwelir, wrth hyn, fod ei dad yn ei fwriadu i'r weinidogaeth, er yn ieuangc. [P] Psalm 119. 18. [Q] Ennyna, cynneua. [R] *Zeal*, gwresogrwydd yspryd. [S] Esay 6. 6, 7. [T] *Power*, gallu. [U] *Pattern*, cynllun. [V] *Point*, pwngc, peth. [W] Deisyfiad. [X] *Travel*, taith. [Y] Psalm 17. 8.—Gosodwyd y pennill hwn a'r nesaf atto i mewn o'r blaen, yn y "Weddi Foreuol," a gadewir hwynt allan yma yn yr argraphiad diwygiedig Thomas Durston. [Z] Dani.

25.

Cadw fi rhag cwrp[A] a thramgwydd,
C'wilydd, colled, anhap, aflwydd,
Nychdod, niwed, a'r fath hynny,
Os bydd d'wyllys yn cenhadu.

26.

Bid dy lygaid i'm diwallu,
Bid d'angylion i'm castellu;[B]
Bid dy Yspryd i'm cyf'rwyddo,
Bid dy ras i'm cynnorthwyo.

27.

Clod i ti, a gras i minnau,
Mawl i'm Brenhin nos a boreu;
Gwir ogoniant, yn dragywydd,
A fo i'm Harglwydd a'm Hachubydd.

## CXLI.—CYNGHOR ARALL MR. PRICHARD (MEDD RHAI) I'W FAB.

1.

Na phampra'r[A] corph i ladd yr enaid,
Na ddigia Duw i blesio[B] diawlaid,
Na werth y nef i brynu daear,
Na phecha mwy rhag bod yn 'difar.

2.

Pe cait beunydd fwytta manna,
Ar felus-fwyd llanw'th fola;
Beth dal iti yn ol hynny,
A myn'd i uffern i newynu.[C]

3.

Pe cait yfed gwin yn ddiod,
Gwisgo porphor[D] ffein[E] yn wastod,[F]
Rhoi dy droed ar warr brenhinoedd,
Beth wyt nes o golli'r nefoedd?

4.

Pe bait berchen aur yr India,
Da'r[G] holl fyd, a'r tiroedd tecca',
Beth y dal it' hyn o wagedd,
A cholli d'enaid yn y diwedd.[H]

5.

Pe cait orwedd gyda Fenus,[I]
Plesio'th gorph o'r lana' gerddws,
Beth yw d'ennill am dy drafael,[J]
A myn'd d'enaid gan y cythraul?

6.

Pe ceit bawb i ffusto'th gefen,[K]
Plant y byd i'th sirio'n[L] llawen;
Beth y dal i'r rhain dy flattro,[M]
A Duw wrthyt wedi digio?

7.

Gwell gwas'naethu Duw na'r byd,
Gwell ffrwyno'r corph na'th ddamnio i gyd,[N]
Gwell trafael byrr na phoen trag'wyddol,
Gwell bara a dwr na gwledd uffernol.

8.

Gwas'naetha Grist, rhyfela â'r cythraul,
Ti gei goron am dy drafael;[O]
Cospa'r cnawd i gadw d'enaid,
Ti gei ran o'r wledd fendigaid.

## CXLII.—ACHWYN MR. PRICHARD YNGHYLCH TREF LLANYMDDYFRI; A'I RYBUDD A'I GYNGHOR EF IDDI.[A]

1.

Mene Tecel,[B] Tre' Llan'ddyfri,
Pwysodd Duw di yn dy frynti;
Ni cha'dd ynot ond y sorrod;
Gochel weithian rhag ei ddyrnod.[C]

2.

Gwialen dost sydd barod iti,
Er ys dyddiau am dy frynti;[D]
A'th anwiredd sy'n cynyddu;
Gochel weithian gael dy faeddu.

[A] *Curb*, rhwystr, attalfa. [B] Amgylchu, amddiffyn.

[A] *Pamper*, porthi yn foethus. [B] *Please*, boddio. [C] Yn argraphiad T. Durston,—

"Beth wyt nes, o dai'n ol hynny,—
I bwll uffern i newynu?"

[D] Yn yr oesoedd gynt, gwisgid mentyll o borphor, neu liw cochlas, gan Ymerawdwyr Rhufain, ac eraill, fel arwyddion mawredd ac awdurdod. Gwel Ioan 19. 2, a Luc 16. 19. [E] *Fine*, teg, main. [F] Yn wastadol, bob amser. [G] Cyfoeth. [H] Mat. 16 26. [I] *Venus*, a gyfrifid gan y paganiaid yn dduwies glendid a serch, ac a ddefnyddir yma am fenyw deg odineth. [J] *Travail*, trafferth. [K] I'th ganmol. [L] *Cheer*, cysuro. [M] *Flatter*, gwenieithio. [N] Mat. 5. 29, 30. [O] 2 Tim. 4. 7, 8.

[A] Yn Ysgrif T. W. gelwir y Gân hon, "Warning o rybudd i dre [i'w dref] edifary." Er holl gymmwysderau yr Awdwr i'r weinidogaeth, a'i ddiwydrwydd ynddi, dywedir nad oedd ond ychydig lwyddiant yn dilyn ei lafur yn ei dref enedigol. [B] *Mene Tecel*, (Rhifwyd a Phwyswyd) oedd ran o'r ysgrifen ar galchiad y pared a ymddangosodd i Belsassar, fel rhybudd o'i angau buan a brawychus. Yn lle hyn, yn ysgrif T. W. dywedir, "O repenta Llanymddyfri." [C] "Rhag y Drindod." [D] "Am dy goegni."—S. Hughes.

3.
Hir yr erys Duw heb daro,
Llwyr y dial pan y delo:
Am yr echwyn ar hir scori,[E]
Och! fe dal ar un-waith iti.

4.
Mae'n rhoi amser iti wella,
Mae'n rhoi rhybudd o'r helaetha';
Cymmer rybudd tra fo'r amser,
Onidê fe bryn dy grwpper.[F]

5.
Pa hwyaf mae Duw'n aros wrthyd,
Am 'difeirwch a gwell bywyd,
Waeth-waeth, waeth-waeth yw dy [fuchedd;
Ond gwae di pan ddel y diwedd.

6.
Lle b'o Duw yn hir yn oedi,
Heb roi dial am ddrygioni,
Trymmaf oll y fydd ei ddyrnod,
Pan y del[G] i ddial pechod.

7.
Gochel dithau ddial Duw,
Fe ddaw ar frys, er llaesed yw;
A'i draed o wlan, a'i ddwrn o blwm,
Lle delo'n llaes[H] fe dery'n drwm.

8.
Tebyg ydwyt i Gomorra,
Sodom boeth, a thref Samaria,[I]
Rhai na fynnent wella hyd farw,
Nes eu troi yn llwch a lludw.

9.
Tebyg ydwyt ti i Pharao,
Oedd a'i galon gwedi'i sero,[K]
'R hwn na fynnai wella'i fuchedd,
Nes ei blago[L] yn y diwedd.

10.
Cefaist rybudd lawer pryd,
Nid yw cynghor 'moethyn[M] id',
Nid oes lun[N] it' wneuthur esgus;
O! gwae di, y dref anhappus.

11.
Bore codais gyda'r ceiliog,
Hir ddilynais yn dy annog
Droi at Dduw oddiwrth dy frynti,
Ond nid oedd ond ofer imi.

12.
Cenais iti'r udgorn aethlyd,
O farn Duw a'i lid anhyfryd,
I'th ddihuno o drwm gwsg pechod,
Hwrnu[O] er hyn'r wyt ti yn wastod.[P]

13.
Minnau'th lithiais[Q] â di-sigyl
Addewidion yr Efengyl,
Yn fwyn i'th wa'wdd i edifeirwch;
Ond ni chefais ond y tristwch.

14.
Mi'th fygythais dithau â'r gyfraith,
A dialau Duw ar un-waith,
'Geisio ffrwyno d'en rhag pechu;
Ffrom a ffol wyt ti er hynny.

15.
Cenais bibau, ond ni ddawnsiaist,
Tost gwynfannais, nid alaraist;[R]
Ceisiais trwy deg, a thrwy hagar,
Ni chawn gennyd ond y gwatwar.

16.
Beth a allaf wneuthur weithian,
Ond ei thynnu[S] i ochr ceulan,
I wylo'r deigrau gwaed pe gallwn,
Wel'd dy arwain tua'r dwngiwn?[T]

17.
Pwy na wylai weled Satan,
Yn dy dynnu wrth edef sidan,
I bwll uffern yn drag'wyddol,
A'r bach, a'r bait[U] o bleser cnawdol?

18.
Esau werthai ei 'difeddiaeth,
Am y phiolaid gawl[W] ysywaith;
Tithau werthaist deyrnas nefoedd,
Am gawl brag,[X] do, do o'm hanfodd.

19.
Dyma'r peth sy'n torri 'nghalon,
Wrth dy weled di'n awr mor ffinion,[Y]
Orfod prwfio[Z] hyn yn d'erbyn,
Ddydd y farn, heb gelu gronyn.

20.
Tost yw gorfod ar y tad,
Ddydd y farn, heb ddim o'r gwâd,[A]
Dystiolaethu, o led 'safan,[B]
Yn erbyn brynti'i blant ei hunan.

[E] *Score*, cadw cyfrif, gosod dyled i lawr. [F] *Crupper*, parth ol. Mewn copi arall, medd S. Hughes, y mae y llinell fel y mae gan T. Durston,—

"Onide gwae di ar fyrder."

[G] "Y trawo."—Ysgrif T. W. [H] Araf. [I] Yn Ysgrif T. W.,

"Tebyg ydwyt i Samaria,
Sodom boeth, a thref Gomorra."

[J] Nid ydyw y pennill hwn yn yr hen Ysgrifen. [K] *Sear*, llosgi â haiarn poeth. [L] *Plague*, taro a phla, cospi. [M] Amheuthyn, peth anarferol. [N] Modd. [O] Chwyrnu, cysgu yn drwm. [P] O hyd. [Q] Denu, tynu trwy deg. [R] Mat. 11. 17. [S] Cilio, ymneillduo. [T] *Dungeon*, daeardy, carchar tywyll dan y ddaear. [U] *Bait*, abwyd. "Wrth fach a bait."—Ysgrif T. W. [V] "Werthodd y tyfeddiaeth."—Ysgrif T. W. [W] Gen. 25. 34. [X] Cwrw. Gellid meddwl, wrth hyn, mai meddwdod oedd prif bechod y dref yn amser y Ficer. [Y] Ffiaidd. [Z] *Prove*, tystio, profi. [A] Celu, gwadu. [B] Yn gyhoeddus, yn ddi-arbed.

21.
Hyn a fydd, a hyn a ddaw,
Oni welli maes o law;
Er mwyn Crist gan hynny gwella,
Rhag i ddial Duw dy ddala.

22.
Gwisga len a sach am danad,[C]
Wyla nes bo'th wely'n nofiad ![D]
Ac na fwytta fwyd na diod,
Nes cael pardwn[E] am dy bechod.[F]

23.
Cur dy ddwy-fron tynn dy wallt,[G]
Wyla'r deigrau dwr yn hallt;
Crïa'n[H] ddyfal iawn Pecavi,[I]
Arglwydd maddeu[J] 'meiau imi.

24.
Bwrw ymaith dy ddiffeithdra,[K]
Twyll, a ffalstedd, a phutteindra,
Gad dy feddwdod, cladd dy frynti,
Mae Duw'n gwel'd dy holl ddrygioni.[L]

25.
Mae dy farn wrth edef wen,
Yn crogi beunydd uwch dy ben ·
Mae dy blant â phob ei reffyn,
Yn ei thynnu ar dy gobyn.[M]

26.
Gochel bellach dal dy law,
Dial Duw fel bolt[N] a ddaw:
Rhoi it' rybudd prudd sydd raid,
Oni chym'ri rybudd, paid.[O]

## CXLIII.—ACHWYN EGLWYSWR.

1.
Duw, gwel[A] drymmed yw fy nghalon,
Weled faint peng'ledrwydd dynion,
Ceisio eu harwain tua'r nefoedd,
Hwyntau[B] ant i'r tân heb ddiffodd.

2.
Golchi'r Moyrys[C] du trwy sebon,
Troi'r Iorddonen i ben Hermon,
Yw cynghori'r dyn pen-galed
Ofni Duw, a charcu'i[D] enaid.

3.
Cais trwy deg, a chais trwy hagar,
Ofer canu i'r neidyr fyddar :[E]
'Trinia fynnech ar bren pwdwr,
Byth ni ry 'ti ffrwyth na swccwr.[F]

4.
Dysg, a dangos, gwa'wdd, ymhwedd,[G]
Mab y fall ni wella o'i fuchedd :
Lladd â'r gyfraith, gwa'wdd â'r 'fengyl,
Ni thry attad ond ei wegil.

5.
Gollwng arno'r holl Brophwydi,
A'r 'Postolion i'w gynghori ;
Nid gwaeth ffusto[H] pen wrth bentan,
Ni wna ond y fynno ei hunan.

6.
Gwae fy nghalon drom gan hynny,
Na buasai Duw'n gwyllysu,[I]
Fy rhoi'n fugail ar dda gwylltion,
Cyn rhoi i'm siars[J] y cyfryw ddynion.

7.
Y corr[K] a dynn y gwenwyn lindys.
O'r blodeuyn goreu ei relys ;[L]
A'r dyn drwg a dyn ryw accan,[M]
O bur eiriau Duw ei hunan.

8.
Waith i Grist ein Prynwr tirion,
Golli drosom waed ei galon,
A'i roi'n bridwerth[N] dros ein pechod,
Fe fynn llawer bechu'n wastod.[O]

9.
Waith bod Noe a Lot yn feddw,
Waith bod Jonas hen yn chwerw,
Fe fyn llawer droedio eu llwybrau,[P]
Heb ddilyn un o'u holl rinweddau.

10.
Pob gwas gwych yn awr a feder,
Dyngu a rhegu gyda Phedor:
Pa'm na wela'i rai yn medru
Gyda Phedor edifaru ?[Q]

C Jonah 3. 8. D Psalm 6. 6. E *Pardon*, maddenant. F Joel 2. 12–14. G Esra 9. 3. Luc 18. 13. H *Cry*, llefain. I *Peccavi*, (Ladin.) pechais. Luc 15. 18. J "Maddeu'r cwbwl."—Ysgrif T. W. K Drygioni. L Jer. 16. 17. "Rhag llwyr ddial dy ddrygioni."—Ysgrif T. W., ac ar ol y pennill hwn, yn yr hen Ysgrif, rhoddir yr un canlynol :—

"Ofna Dduw, a gwrando y air
Na thwng gig na gwaed Mab Mair—
Dore'r Demel, cadw'r Sabboth,
Rag y lld dy losgi'n chwilboeth."

M Coppa, pen. N *Bolt*, saeth. O Ezec. 33. 7—9. Y mae y pennill hwn, agos air yng ngair, yn y Gân ynghylch y Chwarren.

A "Clyw," [teimla,]—Ysgrif T. W. B Hwythau. C *Moors*, trigolion Africa, dynion duon. D *Care*, gofalu am. E Psalm 58. 4, 5. Dywedir bod perorlaeth yn cael effaith rhyfedd ar rhai mathau o nadroedd, ac arferir eu swyno hyd heddyw mewn rhai gwledydd. F *Succour*, cysur, cynhalliaeth. G Ymbil, erfyn yn daer. H "Offer ffysto."—T. W. I Ewyllysio. J *Charge*, gofal. K Corryn, prif copyn. L *Relish*, blas. M Gogan, testun gwawd. "A dynn ryw amcan."—T. Durston. N "Ransom."—Ysgrif T. W. O Yn barhaus. Judas 4. Rhuf. 6. 1, 2. P "Droedio ei beiau."—S. Hughes. Q Mat. 26. 74, 75.

11.

Swrn[R] sy'n dilyn Dafydd Brophwyd,
Mewn godineb, lle gw'radwyddwyd:
Ond ni wela'i i neb yn dilyn
Edifeirwch Dafydd frenhin.

12.

Un a dd'wed, mi adawaf,[S]
Fy meiau'i gyd y flwyddyn nesaf,
Beth, medd Crist, os aiff dy enaid,
Heno nesaf gan gythreuliaid?[T]

13.

Llall[U] y ddywed, helwn heddy',
Ni wellawn ein beiau foru;
Heno lladd y gwr yn feddw,
Duw, b'le'r aeth[V] 'difeirwch hwnnw?

14.

Yn ol hwn y d'wed y trydydd,
Pe bai fy mai yn fwy na'r mynydd,
Mae Duw mawr yn fwy'i drugaredd;
Mi gaf bardwn ar fy niwedd.

15.

Felly, waith bod Duw yn rasol,
Ac yn dirion i'r 'difeiriol,
Llawer dyn sy'n pechu'n 'sgeler,
Heb ystyried ei gyfiawnder.[W]

16.

Er bod Duw yn llawn trugaredd,
Yn hwyr ei lid, yn dda ei amynedd;[X]
Etto er hyn mae Crist yn d'wedyd,
Fod Duw mawr yn gyfiawn hefyd.

17.

Duw sydd rasol, Duw sydd gyfion,
Duw sydd fwyn, a Duw sydd ddigllon,
Duw sydd ddof, a Duw sydd danllyd,[Y]
Duw sydd hael, a chynnil hefyd

18.

Mae e'n maddeu'r mil talentau,[Z]
Etto'n pallu'r hatling weithiau:
Mae'n rhoi'r nef yn rhwydd i ryw-un,
Etto i'r llall yn pallu'r droppyn.[A]

19.

I'r rhai ffyddlon edifeiriol,
Mae Duw'n ffyddlon ac yn rasol,[B]
Ond i'r cyndyn,[C] cas, gwrthnysig,
Mae Duw'n greulon ac yn ffyrnig.[D]

20.

O herwydd hyn 'rwy'n cynghori
Na ddilyner hir ddrygioni,
Ond i bawb, tra fyddont byw,
Dreulio eu hoes mewn ofn Duw.[E]

## CXLIV.—RHAID GLYNU WRTH CRIST, HEB ADAEL I DDIM EIN TROI ODDI WRTHO.

1 Os tâd, os mam,
Os mab, os merch,
Os tai, os tir,
Os gwraig trwy serch,
Y gais dy droi,
Yn draws neu'n drist,
Oddiwrth dy gred
A'th serch at Crist.

2 Gâd dad i droi,
Gâd fam, i wylo,
Gâd wraig i 'sgoi,[A]
Gâd blant i grïo,[B]
Gâd dai, gâd dir,
Gâd faeth, gâd fywyd,
Cyn gado Crist,
Gâd faint sydd gennyd.

3 Bydd Crist yn Dad,[C]
Yn Fam, yn Frawd,
Yn graig, yn gaer,[D]
Yn ffrynd,[E] yn ffawd,[F]
Yn gyfoeth mawr,
Yn lles, yn llwyddiant,
Yn bob peth cu[G]
I bawb a'i carant.[H]

4 Heb Crist, heb gred,
Heb faeth, heb fywyd,
Heb dull, heb ddawn,
Heb nerth, heb iechyd,
Heb hop,[I] heb help,
Heb ras, heb rym,
Heb ddysg, heb dda,
Heb Dduw, heb ddim.

[R] Bagad, llawer. [S] "Repenta," yn yr Ysgrifen, a'r hen argraphiadau. [T] Luc 12. 20. [U] "Arall." Ysgrif T. W. [V] "Ble mae," yn yr hen Ysgrifen. [W] "Heb wneuthur pris o'u gyfiawnder," yr hen Ysgrif, a'r argraphiadau henaf. [X] Exod. 34, 6, 7. Nahum 1. 3. [Y] Heb. 12. 29. [Z] Mat. 18. 27. [A] *Drop*, diferyn. [B] Esay 55. 7. Ioan 3. 36. [C] "Stwbwrn" [*Stubborn*—cyndyn.]—S. Hughes, a'r hen Ysgrifen. [D] Psalm 18. 25, 26. [E] Yn Ysgrif T. W. rhoddir y Cynghorion Duwiol, (Cân XXI.) fel ychwanegiad at y Gân hon.

[A] Ysgoi, cilio, troi o'r neilldu. [B] *Cry*, llefain. [C] 2 Cor. 6. 18. [D] Psalm 18. 2. [E] *Friend*, cyfaill. [F] Dedwyddwch. [G] Anwyl. [H] Eph. 1. 3. [I] *Hope*, gobaith. [J] *Help*, cymhorth.

## CXLV.—GWELL DUW NA DIM.

1.

Gwell Duw na'r nef, na dim sydd ynddi,
Gwell na'r ddae'r na'r maint sydd [arni,
Gwell na'r byd, na'i olud in',
Gwell, a dau-well Duw na dim.[A]

2.

Gwell na thad, na mam,[B] na mammaeth,
Gwell na chyfoeth, na 'thifeddiaeth,[C]
Gwell na Mari, gwell na Martha,[D]
Gwell na dim, yw Duw gorucha'.

3.

Os Duw ddewisiaist yn dy ran,[E]
Cei Grist i'th gynnal ym mhob man,
Cei'r saint i'th gylch,[F] cei'r byd i'th beri,[G]
Cei'r nef i'th ran, cei'r fall[H] i'th ofni.[I]

4.

Ti ddewisiaist y rhan bennaf,
Pan ddewisiaist Dduw goruchaf;
Rhan na ddygir byth odd' arnad,[J]
Tra parhao'r haul a'r lleuad.

5.

Pan duo'r haul, pan wrido'r lleuad,
Pan syrthio'r ser,[K] pan ofno bagad,[L]
Pan llosgo'n boeth y byd[M] a'i bŵer,[N]
Bydd dy ran di yn ddibryder.[O]

6.

Cwyn[P] dy galon, na fydd wan,
Cadw d'afael ar dy ran;[Q]
Ti ddewisiaist y rhan oreu,
Gochel newid hyd at angau.

## CXLVI.—CRIST YW PREN Y BYWYD.[A]

1.

Dewch bob rhai at Bren y Bywyd,[B]
Dewch at Grist ein Prynwr hyfryd,
Mwynhewch y ffrwyth, a chredwch yntho,
Chwi gewch ras a bywyd gantho.[C]

2.

Dyma'r pren a dynn y dingcod,
A'r newyn du, a'r poen a'r pechod;
A'r melldith Dduw, a'r loes wenwynig,
A ddaeth o fwytta'r pren gwa'rddedig.

3.

Os bwyttowch o'r pren yn rhad,
O'r nef y daeth oddiwrth y Tad:[D]
I'n gyrru'n iach i gadw'n bywyd,
I dorri'n chwant, i roi in' iechyd.

4.

Mae'i ffrwyth e'n ber, mae'i ddail yn iachus,[E]
Mae'i flas yn well na'r manna melus;
Ni all newyn byth nac angau,
Flino'r dyn a fwytty ei ffrwythau.[F]

5.

Crist yw'r pren, O dewch bawb atto,
Y ffrwyth yw'r bywyd y sydd ynddo;
Y dail yw'r gair a'i gynghor iachus,
Sy'n bywhau yr enaid clwyfus.

6.

Dewch bob rhai sy'n flin eu cyflwr,[G]
Dewch at Grist, ein gwir Iachawdwr,
Dewch i dderbyn gras ac iechyd,[fyd.[I]
Cymhorth, cynffordd[H] bawb o'r holl

7.

De'wn at y pren, bwyttawn ei ffrwythau,
Crynhown ei ddail, rhown wrth ein clwyfau,
Fe'n gwir iacha, fe dyrr ein newyn,
Fe bair i'n fyw dros fyth heb dorfyn.

## CXLVII.—CRIST A ARWYDDOCCAWYD WRTH OEN Y PASG.

1.

Crist yw Oen y Pasg, a'n haborth,[A]
Crist yw'n Hoen a'n offrwm prydferth,
Oen Duw, Oen da, Oen gwynn i gyd
Sy'n tynnu ffwrdd bechodau'r byd.[B]

2.

Crist yw'r Oen a laddwyd drosom,
Crist a archollwyd am a wnaethom;[C]
A'i waed gwerthfawr pan groeshoel-
Am ein beiau a dywalltwyd.[D] [iwyd.

[A] Jer. 9. 23, 24. [B] Psalm 27. 10. [C] Diar. 8. 19. Psalm 63. 3. [D] Mair a Martha oeddynt chwiorydd Lazarus, (Ioan 11. 1,) ac a enwir yma i arwyddo y perthynasau mwyaf agos ac anwyl. [E] Psalm 73. 25, 26. [F] Psalm 91. 11. [G] I'th gynal. [H] Y diafol. [I] Rhuf. 8. 31. [J] Luc 10. 42. [K] Mat. 24. 29. [L] Llawer. [M] 2 Petr 3. 10. [N] *Power*, galln. [O] Yn ddiogel. Luc 21. 28. [P] Cyfod. [Q] Dat. 2. 10.

[A] Yn argraphiad S. Hughes, rhoddir y tair cân canlynol o flaen yr Ail Ran o'r Gân a elwir "Crist sydd oll yn oll," ond nid yn yr un drefn ag y maent yma. [B] Dat. 2. 7. [C] Ioan 3. 26. [D] Ioan 6. 33. [E] Dat. 22. 2. [F] Ioan 6. 35, 49, 50. [G] Mat. 11. 28. [H] *Comfort*, cysur. [I] Luc 2. 10.

[A] 1 Cor. 5. 7. [B] Ioan 1. 29. [C] Esay 53. 5. [D] Mat. 26. 28.

3.

Blin, a thost, a thrwm, ac irad,[E]
Poeni'r oen am feiau'r ddafad;
Lladd Mab Duw, ar flaeniau'r hoelion,
Am bechodau meibion dynion.

4.

Adda'n bwytta'r 'falau pechod,
Dannedd Crist yn godde'r dingcod;
Dyn yn pechu, Crist yn marw;
B'le bu cariad o'r fath hwnnw?[F]

5.

Och! pa galon na thosturia,
Chwippio[G] Crist am bechod Adda;
Lladd y Bugail am fai'r ddefaid;
Crogi'r Prins[H] i gadw'r deiliaid?

6.

Gwerthu'r Meistr i brynu'r gweision,
Lladd y Mab i gadw ei 'lynion;
Mwrddro'r[I] Meddyg, brathu'i ystlys,
'Gael ei waed i helpu'r clwyfus.

## CXLVIII.—CRIST A ARWYDDOCCAWYD WRTH Y SARPH BRES.

1.

Y SAWL a frathwyd gan y ddraig,
Dewch at Grist Iesu, hâd y wraig,
Fe drin y brath, fe dynn y colyn,
Fe rwym y ddraig, fe 'siga'i chobyn.[A]

2.

'Ry'm ni bob rhai gwedi'n brathu,[B]
Mae col[C] pechod gwedi'n gryddfu;[D]
Ni all neb ond Crist ein helio,[E]
Fe yw'r sarff bres, craffwn arno.

3.

Craffwn ar Grist a groeshoeliwyd,[F]
Fel y craffai'r rhai a frathwyd
Ar y sarph bres yn y diffaith,[G]
Fe â'r loes a'r gwenwyn ymaith.

4.

Os edrychwn arno yn brudd,
A chalon donn,[H] a llygad ffydd,
Er i'r sarph â'i chol ein clwyfo,
Fe'n iacha ond edrych arno.[I]

5.

Oni ddewn at Grist ar fyrder,
I gael help rhag frath y wiber,
Nid oes meddyg yn yr holl-fyd,
Ond Mab Duw all gadw ein bywyd.

6.

[J] Dewn gan hynny yn gyfan atto[K]
Ceisiwn help a chymhorth gantho;
Os dangoswn ein harchollion,
Fe'n iacha â gwaed ei galon.

## CXLIX.—HYMN AR DDYDD NADOLIG.[A]

1.

POB Cristion ag sy'n clywed,
A'm llais yn medru ystyried,
Cenwch foliant gyda mi,
I'r Un Duw Tri gogoned.

2.

Derchefwch eich calonnau,
Cyd-genwch Salms a Hymnau,
Er clod a mawl i'n Prynwr cu,
Y anned heddy'r boreu.[B]

3.

Er[C] dyma'r dydd y dylen,
Ymroi i fod yn llawen,
I glodfori, bob rhyw awr,
Ein ceidwad mawr a'n cefen.[D]

4.

O's[E] dyma'r dydd y ganed,
Crist, Ceidwad, cynffordd[F] holl-gred,[G]
Unig helpwr yr holl fyd
A gwyn ein byd ei weled.

5.

Dyma'r dydd y cafas,[H]
Holl gred eu gwyn[I] a'u hurddas,
Dyma'r dydd y torrwyd pen
Y sarph a'r filen[J] atcas.

6.

Dyma'r dydd y cawsom
Y gwyn'fyd gynt y goll'som,
Trwy wall Adda, ein tad cu,
Pan ddaeth Crist Iesu attom.

[E] Galarus. [F] Ioan 15. 13. [G] *Whip*, fflangellu. [H] *Prince*, tywysog. [I] *Murder*, llofruddio.

[A] Coppa, pen. Gen. 3. 15. [B] Rhuf. 3. 23. [C] Colyn. [D] Poeni, dolurio. [E] *Heal*, iachau. Act. 4. 12. [F] Ioan 3. 14, 15. [G] Num. 21. 8. [H] Twnn, drylliog. [I] Luc 4. 18. Ioan 6. 40. [J] Nid yw y pennill hwn yn yr argraphiadau henaf o'r Gân. [K] Oll, i gyd.

[A] Yma, yn Llyfr Stephen Hughes, y dechreua y Bedwarydd Ran o waith y Ficer, a argraphwyd gyntaf yn y flwyddyn 1672. [B] Sylwa S. Hughes, nad oes un sail ysgrythyrol i benderfynu ar ba ddydd yn neillduol y ganed Crist, er bod sicrwydd digonol o'i enedigaeth. [C] Canys, oblegid. [D] Cynnorthwywr, amddiffynwr. [E] O achos. [F] *Comfort*, cysur. [G] Yr holl wledydd Cristionogol. [H] Y cafodd. [I] Hyfrydwch, gwynfyd. [J] *Villain*, drygwr,—y diafol.

7.
Dyma'r dydd [K] y dorrodd
Y fagl gynt a'n rhwydodd;
Dyma'r dydd y barodd och
I'r wiber goch a'n hudodd.

8.
Os dyma'r dydd y ganed
Mab Duw, yr had bendigaid,
Addawsid gynt o hil y wraig,
I sathru'r ddraig oedd embaid.[L]

9.
O moeswch in' gan hynny,
Sancteiddio'r dwthwn [M] heddy',
Er cof am Brynwr yr holl fyd,
A ddaeth mor drud i'n helpu.[N]

10.
A nedwch [O] in' anghofio
Yn ddyfal ei fendithio,
Am y cymhorth mawr i gyd,
Y ga'dd y byd oddiwrtho.

11.
Ond moeswch in' glodfori
Ei enw, a'i foliannu,
Ddydd a nos, tr'o [P] ynnom chwyth,
A'r eithaf byth o'n gallu.

12.
A heddyw yn enwedig,
Yn gyfan ddydd Nadolig,[Q]
Cenwch nes dadseinio'r nef,
Gan lais eich llef caredig.

13.
O'r caniad cynta' i'r ceiliog,
Ymrowch i godi yn gefnog,[R]
I glodfori, hyd y wawr,
Eich Prynwr mawr trugarog.

14.
A phan y torro'r wawr-ddydd,
Cyd-genwch â'r uchedydd,
Foliant am eich tynnu i ma's,
O'r tywyllwch[S] cas tragywydd.

15.
A chanol dydd heb orphen,
Fel ceiliog y fwyalchen,
Cenwch Salmau iddo'n glos,[T]
Nes dyeco'r nos y seron.

16.
A chwedi'n, o'r dechreu-nos,
Yn ddyfal fel yr eos,
Cenwch, cenwch, na orphwyswch,
Nes gorpheno'r hir-nos.

17.
Ac felly nos a borau,
A chanol dydd yn ddiau,
Treuliwch y Nadolig ddydd
Mewn diolch prudd [U] a Salmau.

18.
Can's dyma'r dydd y'n prynwyd,
A'r dydd y'n reconseiliwyd,[V]
Yn ffryns [W] i Dduw ein Barnwr prudd,
A dyma'r dydd y'n helpwyd.

19.
Dyma'r dydd a'n cododd,
O uffern hyd y nefoedd,
A'r dydd a'n gwnaeth yn blant i Dduw,[X]
On'd hyfryd yw'r gweithredoedd!

20.
Dyma'r dydd sy'n rhwygo
Ein sach,[Y] a'r dydd sy'n datro,[Z]
Ein tristwch i lawenydd trwch,[A]
O gorfoleddwch ynddo.

21.
O's dyma'r dydd y ganed
Oen Duw, yr Had bendiged,
I dynnu ffwrdd bechodau'r byd,
Oedd goch i gyd fel sgarled.[B]

22.
Dyma'r dydd gan hynny,
Y mae in' orfoleddu,
A myn'd i lysoedd Duw yn lân,
Dan [C] ddiolch a than ganu.

23.
Dyma'r dydd sydd ini,
Yn ddyfal i'w addoli,
A'i fendithio, bob rhyw awr,
Am dan ei fawr ddaioni.

24.
A chofio'r modd y'n prynodd
Trwy'r gwerthfawr waed a gollodd,
O dan ei fron ar grogbren croes,
A'r chwerw loes a gafodd.

25.
Fel pelican [D] cariadus,
Tuag at ei adar clwyfus,
Fe rodd waed ei galon bur,
I helpu ei frodyr 'nafus.[E]

26.
F' adawodd yr angylion,
I ddwad [F] at Iuddewon,
I brynu enaid dyn yn rhad,[G]
A gwerthfawr wa'd ei galon.

[K] Crist, yr hwn a aned ar y dydd, a olygir. [L] Enbyd, niweidiol. [M] Diwrnod. [N] *Help*, cynnorthwyo. [O] Na adewch. [P] Tra fyddo. [Q] *Natalis*, (Lladin) dydd genedigaeth. [R] Calonnog. [S] 1 Petr 2. 9. [T] *Close*, dyfal. [U] Dwys, ystyriol. [V] *Reconcile*, heddychu, cymmodi. [W] *Friends*, cyfeillion. [X] Sef cynnifer ag a gredant yng Nghrist. Ioan 1. 12. [Y] Gwisg o sachliain, arwydd galar. [Z] Troi, cyfnewid. [A] Mawr. [B] *Scarlet*, lliw coch tanbaid, ysgarlad. Esay 1. 18. [C] Gan. [D] Sylwyd o'r blaen ar y chwedlau a adroddid gynt am yr aderyn hwn. [E] Anafus, archolledig. [F] Dyfod. [G] Yn rhydd.

27.
O'r gadair ym mharadwys,
I'r ddae'ren fe ddisgynnwys,
I gym'ryd cnawd o Fair wen dlos,[H]
I farw dros ei eglwys.[I]

28.
Fe gym'rodd arno'n tlodi,
A'n gwaeledd a'n gofidi,
A'r holl ddial arno'i hun,
A haeddai dyn am frynti.

29.
Fe wanwyd am ein beiau,
F' archollwyd am gamweddau;
Ond trwy'i gleisiau fe iachaws
Holl liaws ein pechodau.[J]

30.
Fe gollodd waed ei galon,
Ar grogbren hefyd droson,[K]
Ac fe'n gwnaeth yn blant i Dduw,
Pan' oeddem yn elynion.

31.
Fe'n golchodd o'n pechodau,
Fe brynodd ein heneidiau,
Ac fe'n dug i deyrnas nef,
Er maint yw llef ein beiau.[L]

32.
O moeswch in', gan hynny,
Yn gefnog ei glodfori,
Ddydd a nos, chwi welwch pa'm
Mor rasol am ein prynu.

33.
A moeswch ini gadw
Y gwyliau sy' ar ei enw;
Mewn duwiolder, rhinwedd, rhad,
C'redigrwydd, cariad croyw.

34.
A moeswch ini dreulio
Yn sanctaidd heb ei 'nurddo,[M]
Mewn oferedd yn y byd,
Ond pawb i gyd-sancteiddio.

35.
Trown heibio afreolaeth,
A meddwdod a phibyddiaeth,[N]
Ac awn ynghyd i deml Duw,
Can's hynny yw Crist'nogaeth.

36.
Nid gweddaidd i Grist'nogion,
Ymdroi mewn beiau bryntion,
Ar wyliau Crist, ein Prynwr prudd,
Y modd y bydd Iuddewon.[O]

37.
Ond treulio' rhia'n yn sanctaidd,
Yn sobor, ac yn weddaidd,
Megis plant i'n nefol Dad,
Mewn gras a chariad perffaidd.[P]

38.
Ac arfer bob diwrnod
Yn ddyfal iawn i ddyfod
I deml Dduw a'i sanctaidd dŷ,
Bob rhai dan ganu mawr-glod.

39.
Nid edrych ar ein dwylo,
Am roi un aberth iddo,
Ond clod a mawl tu fewn ei lys;
Can's hyn sydd felus gantho.[Q]

40.
O dewch i'w byrth gan hynny,
Dan ddiolch a than ganu,[R]
Fach a mawr, ar foreu a hwyr,
Yn brudd i'w lwyr foliannu.

41.
O dewch i'w deml sanctaidd,
Yn drefnus ac yn weddaidd;
I glodfori enw Duw,
Can's hyfryd yw a gweddaidd.[S]

42.
Tra gweddaidd a pherth'nasol,
I bob rhyw Gristion duwiol,
Foli ein Prynwr ddydd a nos,
Am farw dros ei bobol.

43.
Dyma gyd y taliad,
Y diolch, a'r aberthiad,
Y mae'n ddisgwyl ar law'r gwŷr,
Am dan ei gur[T] a'i gariad.

44.
Gan hynny curwch ddwylo,
A rhoddwch foliant iddo,
Yn ei demel fawr a'i lys,
Can's hyn sydd felus gantho.

45.
A nedwch i ni'n un-lle
Ei gablu â'n geneuau,
Rhag ein myn'd yn waeth ein cas[U]
Na Suddas[V] a'i bradychai.

46.
I'r Tad, i'r Mab, i'r Ysbryd,
I'r Drindod, Undod hyfryd,
Y bo clod a moliant mawr,
Bob dydd, bob awr, bob ennyd.

[H] Tlos, teg, prydferth. [I] Eph. 5. 26. [J] Esay 53. 6. 1 Petr 2. 34. [K] Trosom. [L] Dywedir y pethau hyn gyda golwg ar y ffyddloniaid. [M] Halogi. [N] Cantoriaeth annuwiol. "A phibiaeth."—S. Hughes. [O] Nid yw yr Iuddewon yn credu fod y gwir Fessia wedi ymddangos yn y cnawd, ond un arall y maent hwy yn ei ddisgwyl. [P] *Perfect*, hollol, trwyadl. [Q] Psalm 51. 17. Micah 6. 6—8. [R] Psalm 100. 4. [S] Psalm 147. 1. [T] Poen, dioddefaint. [U] *Case*, cyflwr. [V] Judas Iscariot.

## CL.—CYNGHOR I GEISIO YR ARGLWYDD IESU GRIST.

1.
O CAIS gŵr, na gwraig, na phlentyn,
Gael y bywyd mawr di-derfyn,
Ceisient Grist sy a'r bywyd yntho,
Ac hwy gant y bywyd gantho.[A]

2.
Rhaid yw ceisio Crist yn gynta',
Lle mae'r bywyd yn llettya;
Gwael yw'r gwaith, a thraws a thrist,
Geisio'r bywyd nes cael Crist.[B]

3.
Cais di Grist yn Geidwad iti,
Ac yn Arglwydd i'th reoli;
Ti gei'r bywyd didrangc[C] ynddo,
Ac ni cholli fyth mo hono.[D]

4.
Oni cheisi Grist yn Geidwad,
Ac yn Llywydd parchus arnad,
Nid yw bossib' it' ddychymmyg
B' wedd[E] y byddi ddyn cadwedig.

5.
Pawb a chwennych gael, wrth farw,
Grist fel Ceidwad pur i'w cadw;[F]
Wrth fyw, ni fynn ond rhai o'r rhei'ny,
Grist fel Arglwydd i'w reoli.[G]

6.
N'âd dy dwyllo Gristion anllad,
Ni bydd Crist i neb yn Geidwad,
Ond i'r dyn a gym'ro o ddifri',
Grist yn Arglwydd i'w reoli.

7.
'R hwn na fynno ei reoli,
Gan Air Duw, a'i Yspryd gwisgi,
Nac edryched y dyn hwnnw
Gael gan un Mab Duw ei gadw.[H]

8.
Cais gan hynny Grist yn Geidwad,
Ac yn Ben-rheolwr arnad?
Ni all undyn, gwnaed a fynno,
Byth fod yn gadwedig hebddo.

9.
Pe ceit ti'r byd a'i bethau euraid,[I]
Heb gael Crist i gadw d'enaid,
Beth y dal y drwg fydd trist,
Os colli d'enaid eisiau Crist?[J]

10.
Pe ceit Grist, heb ddim ond hynny,
Ti gei ddigon i'th ddiwallu;
Mae yn gryno yng Nghrist ei hun,
Oll sydd raid i gadw dyn.[K]

11.
Och! na welit mor anghenrhaid
Yw Mab Duw i gadw d'enaid;
Ac na elli weithio, 'sywaeth,[L]
Hebddo ddarn o'th iechawdwriaeth;[M]

12.
Ond bod yn rhaid ac yn gorfod,
Arnad geisio'r Iesu drosod,
Weithio'r cwbwl, dechreu a diwedd,
Cyn y gallech gael trugaredd.

13.
Can's ni ddichon dyn nac angel,
Gwyllt na dof, nac un anifail,
Wellhau dim o'th gyflwr truan,[N]
Nes y gwello[O] Crist ei hunan.

14.
Rhaid it' Grist yn Dduw, yn ddyn,
A'i ddwy natur dan yr un,
Weithio pob darn o'th brid bryniad,
Cyn boddloner Duw'r uchel-dad.

15.
Rhaid i Grist, dy Frawd, a'th Frenhin,
Weithio pob darn a phob tippyn,
O'r gwaith mawr o'th iechawdwriaeth,
Ni all eraill helpu, 'sowaeth.

16.
O cais enaid dyn feddiannu
Crist a'i ddoniau i'w ddiddanu,[P]
Rhaid i'r enaid bach ymg'weirio,[Q]
Dderbyn Crist cyn delo atto.

17.
Gwna dy enaid bach yn barod,
I gael Crist i drigo ynod,
Gwedi'n planna dy hun ynddo,
A thynn ras a grym oddiwrtho.

18.
Rhaid it' wneuthur, anwyl Gristion,
Rŵm[R] i Grist cyn del i'th galon,
A chymhennu ei le'n barod,
Cyn y delo dan dy fargod.

19.
Ni all Crist a'i Yspryd Sanctaidd,
Aros byth mewn lle angh'ruaidd;
O cais undyn ei gyfeillach,
Gwnaed ei galon iddo'n lanach.

20.
Ni ddaw Crist i'r galon aflan,
Nes troi pechod oflyd[S] allan;
Ni thrig Crist lle bo aflendid,
Sanctaidd yw a glân ei Yspryd.

[A] 1 Ioan 5. 11, 12. [B] Ioan 14. 6. [C] Di derfyn, tragywyddol. [D] Ioan 10. 28. [E] Pa wedd, pa fodd. [F] Num. 23. 10. [G] Heb. 5. 9. [H] Luc 19. 27. [I] Gwedi eu gwneuthur o aur gwerthfawr. [J] Mat. 16. 26. [K] Col. 1. 19. [L] Fel y mae gwaethaf. [M] Ioan 15. 5. [N] Truenus. [O] "Nes gwellatto."—S. Hughes. [P] Sylwa S. Hughes, Er bod Crist yn dyfod i lanhau y pechadur, pan y mae yn aflan; etto nid yw efe yn dyfod i diddanu y pechadur, nes yn gyntaf ei sancteiddio ef. Ioan 14. 15—23. [Q] Ymbarottoi. [R] *Room*, ystafell, lle. [S] Llygredig.

21.
Ni chyttuna Duw a Dagon,[T]
Crist a Belial[U] mewn un galon,
Mwy na'r dw'r a'r tân, pan ddoder
I gyd-aros mewn un llester.

22.
Ni all calon lawn o falchder,
Dderbyn Crist nes y'r arloeser,
Mwy na baril[V] lawn o blwcca[W]
Dderbyn llaeth nes ventro'r[X] llacca.

23.
Rhaid ymado'n lân a phechod,
A'i gashau, a'i lwyr ymwrthod,
Cyn y gallo enaid undyn
Gael cyfeillach Crist na'i dderbyn.

24.
Rhaid i'r enaid bach ymarllwys,
O bob pechod y mae'n gynnwys,
Fel y gallo Crist a'i ddoniau,
Lenwi'r enaid gwag â'i raddau.

25.
Ni all undyn dderbyn Crist,
I'r galon aflan, druan, drist,[Y]
Nes cymhenner hon yn gyntaf,
I groesawi'r Brenhin mwyaf.

26.
Ni all undyn wrth gwrs[Z] natur,
Chwennych Crist, er maint ei ddolur,
Nes del Duw a'i ras i'w gyffro,
A dwyn y dyn o'i anfodd atto.[A]

27.
Duw o'i ras a'i naws ei hun,
Sy'n cynnyg Crist i gadw dyn,
Nid dim ond mwynder Duw yn unig,
Sy'n cynnyg Crist i'r dyn colledig.

28.
Nid oes dim mewn dyn all gyffro
Duw, i ddangos ffafar[B] iddo,
Duw o'i natur dda ei hun,
Sy'n rhoddi Crist i gadw dyn.

29.
Mae Duw'n cynnyg dw'r y bywyd,
Gras a dawn, a didrangc iechyd, [no,
Yn rhad, yn rhwydd, i'r dyn a'i myn-
Os daw at Grist a syched arno.[C]

30.
Mae Duw'n galw pawb yn rhîn,
I fwytta Manna, i yfed gwin, [arian,[D]
Yn rhad, yn rhwydd, heb aur, heb
Os at Grist y de'wn dan drottian.[E]

31.
Nid yw Duw yn gwa'rdd i undyn
Dderbyn Crist, a'i gadw, a'i ganlyn;
Y mae'n gwa'rdd i neb ei wrthod,
Er ffieiddied y fo'i bechod.[F]

32.
Er bod Duw yn cynnyg Crist,
I bob pechadur truan, trist,
Ni ddaw un er hynny atto,
Nes del Duw â bach i'w lusgo.[G]

33.
Ni ddaw undyn gwnaed a fynno,
At fab Duw, er maint ymg'weirio,
Nes y tynno Tad trugaredd,
Ef at Grist i gael ymgeledd.[H]

34.
Ni ddoi'r ddafad aeth ar ddidro,[I]
Byth i'r gorlan nes ei chario;
Na phechadur at ei Geidwad,
Nes ei gario fel y ddafad.[J]

35.
Ni ddaw lleidr at yr Ustus,
Byth o'i fodd, ond yn wrth'nebus:
Na phechadur, serch[K] ei flingo,
At ei Brynwr nes ei lusgo.

36.
Y mae natur yn gwrth'nebu,[L]
Mae cydwybod yn ei nadu,[M]
Mae ei bechodau'n dywedyd wrtho,
Ei condemnir os daw atto.

37.
Rhaid i Dduw'r Tâd agor llygaid
Dyn i wel'd gofidi ei enaid,
A'i drueni, a'i wael gyflwr,
Cyn 'mofynno am Iachawdwr.[N]

38.
Ni ddaw'r iach i 'mofyn meddyg,
Nes y gwelo ei glwyfo yn ffyrnig;[O]
Ni ddaw dyn i 'mofyn Ceidwad,
Nes y gwelo ei gyflwr irad.[P]

[T] Enw un o eilun-dduwiau y Philistiaid, yr hwn a syrthiodd i lawr ger bron arch Duw Israel, a theml yr hwn a ddinystriwyd gan Samson. 1 Sam. 5. 4. Barn. 16. 23—30. Tybir ei fod wedi ei wneuthur ar lun menyw, a'i hanner isaf fel pysgodyn. [U] Un o enwau y diafol. 2 Cor. 6. 15. [V] *Barrel*, llestr coed i ddal gwlybwr. [W] Llaid. [X] *Vent*, gollwng allan. [Y] Esay 57. 15. Psalm 24. 9, 10. [Z] *Course*, trefn. [A] Er egluro rhai dywediadau a ymddangosant yn anghysson a'u gilydd yn y Gân hon, gwna S. Hughes amryw nodiadau, sylwedd y rhai a roddir yma. Gyda golwg ar y pennill hwn, dyweda.—Er fod dyn trwy natur yn anewyllysgar i ddyfod at Grist; etto ar ol tywallt Ysbryd Duw arno, a gweithio gras ynddo, y mae efe yn dyfod atto yn ewyllysgar ac o'i wirfodd. Eph. 2. 1. 2 Cor. 3. 5. Diar. 1. 23. Ioan 6. 44. Can. 1. 4. Psalm 110. 3. Phil. 2. 13. [B] *Favour*. caredigrwydd, ewyllys da. [C] Dat. 21. 6. [D] Esay 55. 1, 2. [E] *Trot*, myned ar frys. [F] Esay 1. 18. [G] Pan ddywedir fod Duw yn llusgo dyn at ei Fab, yr ystyr yw, ei fod trwy ei Ysbryd a'i ras yn gwneuthur dyn, sydd o hono ei hun yn anewyllysgar, i fod yn ewyllysgar i dderbyn Crist. Can. 1. 4. [H] Ioan 6. 44. [I] Ar grwydr. [J] Luc 15. 5. [K] Er. [L] Gal. 5. 17. [M] Rhwystro. [N] Act. 26. 18. [O] Marc 2. 17. [P] Tost, truenus.

39.

Rhaid in' weled ein trueni,
A'n tost gyflwr, a'n gofidi,
A'r ddamnedig [Q] stad [R] y'n ganed,
Cyn gwel'd eisiau Crist er rheited.[S]

40.

Rhaid i'r Tad, â'i Air a'i Yspryd,
Oleuo dyn i wel'd ei ofid,
Cyn y ceisio dyn di-wybod
Help gan Grist i faddeu'i bechod.

41.

Rhaid i'r Tad, â bach o gariad,
Dynnu dyn fel tynnu dafad,[T]
Cyn y delo un pechadur
At Fab Duw, i geisio cysur.

42.

Rhaid i Dduw droi'r galon garreg,
Yn galon gig [U] mor sofft [V] a bloneg;
Nes d'oleuo i wel'd dy gyflwr,
Ni 'mofynni am Iachawdwr.

43.

Rhaid i Dduw'r Tân ddangos iti,
Olud ei ras, a'i dosturi,
Yn rhoi'i Fab drosot i'w groeshoelio,
Cyn y mentrech [W] ddwad [X] atto.

44.

Rhaid i'r Tad fynegu iti,
Mor anfeidrol e'i ddaioni,
Ac mor barod yw i faddeu,
I'r 'difeiriol ei holl feiau :

45.

A'i fod e'n gwahodd ac yn ceisio
Pob pechadur i ddwad atto,[Y]
I gael cyfran o'i drugaredd,
Ond ymwrthod â'i ddrwg fuchedd.

46.

Rhaid i Dduw orchymmyn iti,
Dan boen melldith drom a didri,[Z]
Gredu yn Nghrist a 'mddiried ynddo,[A]
Cyn y mentrech ddwad atto.

47.

Gwedi galw a gorchymmyn,
Rhaid i'r grasol Dad dy ganlyn,[B]
Ddwad at Grist i'th gymmodi
A'th Dad nefol [C] gwedi siomi.[D]

48.

Rhaid dy ganlyn yn gariadus,
Mae dy natur mor wrth'nebus,
Cyn y delech, trwy ymhŵedd,[E]
I gael heddwch a thrugaredd.

49.

Rhaid i'r Brenhin ganlyn bradwr,
Ac ymhŵedd â'r troseddwr,
Cyn y delo i geisio pardwn,[F]
Am ei frad, a'i drais, a'i dreswn.[G]

50.

Er nad gweddus iddo ganlyn,
Arnat ti sy'n pechu i'w erbyn,
Mae'n ymhŵedd â thi'n deilwng,[H]
Ddwad atto i geisio pardwn.[I]

51.

Gwedi canlyn, rhaid i'w dangos,
Ddaed [J] amynedd Duw a'i 'maros,
Mor ddioddefgar, ac mor ddiddig,
Yw i'r Cristion llaes,[K] hwyrfrydig.

52.

Ac mor bwyllog y mae'n edrych,
Gan gyd-ddwyn â'th feiau'n fynych,
A hir aros wrth dy leser,[L]
I roi ymaith bob diffeithder.[M]

53.

Er dy gymhell, er dy gyffro,
Er dy ganlyn a'th oleuo,
Ni ddoi [N] byth at Grist o'th bechod,
Nes y pigo Duw'th gydwybod :[O]

54.

A'th gyhuddo, a'th ragfarnu,
A'th gondemnio, a'th lwyr adu,[P]
Gan dy gonsiens [Q] dost dy hunan,
Am dy fuchedd oflyd, aflan.

55.

Ac er pigo dy gydwybod,
A'th gondemnio am dy bechod,
Ni ddoi byth at Grist er hynny,
Nes del Yspryd Duw i'th dynnu.

56.

Rhaid i Dduw â'i Yspryd gwiwlan,
Fwrw i maes yr yspryd aflan,
Sy'n dy galon yn teyrnasu,[R]
Cyn y ceisiech help Grist Iesu.

[Q] *Damned*, colledig. [R] *State*, cyflwr. [S] Mor anghenrheidiol. [T] Hos. 11. 4. [U] Ezec. 36. 26. [V] *Soft*, meddal, tyner. [W] *Venture*, beiddio, anturio. [X] Dyfod. [Y] Esay 55. 7. [Z] Cyfyngder, dyryswch. [A] Ioan 3. 23. [B] Deisyf arnat. [C] Cor. 5. 20. [D] Digio. [E] Ymbil yn daer. [F] *Pardon*, maddeuant. [G] *Treason*, bradwriaeth. [H] Yn bwysig. [I] Ezec. 33 11. [J] Mor dda. [K] Araf, dlog. 2 Petr 3. 9. [L] *Leisure*, hamdden, amser cyfleus. [M] Drygioni. Mat. 23. 37. [N] Ni ddeui. [O] Act. 2. 37. [P] Gadael. [Q] *Conscience*, cydwybod. [R] Eph. 2. 2.

57.
Rhaid i'r Yspryd Glân dy dynnu,
A'th rhyddhau, a'th lwyr waredu,
Oddiwrth Satan, a'th gyf'rwyddo
At Fab Duw, cyn delech atto.

58.
Rhaid dy dynnu oddi wrth dy bechod,
A rhaid puro dy gydwybod,
A sancteiddio'r galon aflan,
Cyn y delo Crist i'th gyfran.[S]

59.
Plant digofaint, wrth naturiaeth,
Ym ni bob rhai oll ysywaeth,[T]
Hyd nes gwnelo Crist ni, clyw,
O blant digofaint yn blant Duw.[U]

60.
Mae digofaint Duw mor greulon,
Yn llosgi yn erbyn pechod dynion;
Nid oes dim all ddofi ei losgfan,
Ond gwaed calon Crist ei hunan.

61.
Ni all y dw'r sy 'chlaw'r ffurfafen,
Na dw'r y môr, na dyfroedd Hafren,[V]
Ddiffodd digter Duw at ddyn,
Nes dofo Crist â'i waed ei hun.

62.
'R ym ni bob rhai yn elynion
I'r Duw mawr, y Barnwr cyfion;
Nes y gwnelo Crist ei hun
Heddwch teg rhwng Duw a dyn.[W]

63.
Ni all dyn, na diawl, nac angel,
Na nef, na dae'r, mi ddyweda'n uchel,
Reconseilo [X] Duw a dyn,
Nes reconseilio Crist ei hun.

64.
'R ym ni bawb dan felldith greulon,
Am droseddu'r gyfraith gyfion;
Ni ddaw neb o dan y felldith,
Nes gwaredo Crist [Y] e'n ddichwith.[Z]

65.
'R ym ni bawb yn weision pechod,
Yn pechu'n erchyll [A] bob diwrnod,
Ni all undyn lai na phechu,
Nes del Crist a'i adgenhedlu.[B]

66.
'R ym ni bawb yn slafs [C] i Satan,
Ac mewn carchar tywyll aflan:
Nes del Crist i ddwyn ei arfau,
Ni ddaw dyn i maes o'i grampau.[D]

67.
'R ym ni bawb yn slafs i'r cythraul,
Ac mewn carchar du diogel;[E]
Nes del Crist i rwymo Satan,
Ni ddaw neb o'i deyrnas allan.[F]

68.
Pe doi Michael a'i angylion,
I ymdrechu â'r ddraig greulon:
Ni orchfygai byth mo hono,
Nes doi Oen Duw i goncwero.[G]

69.
'R ym ni'n euog bawb o angau,
Ac o uffern boeth a'i phoenau;
Ni all undyn ddiangc rhagddynt,[H]
Nes gwaredo Crist ni oddiwrthynt.[I]

70.
Fe'n condemniwyd, cyn ein geni,
Bawb am drosedd ein rhieni:
Rhaid cael cymhorth Crist yn gynta'
Cyn cadwer un o eppil Adda.[J]

71.
Ni chaiff undyn, gwnaed a allo,
Fyn'd i deyrnas Duw i dario,[K]
Nes ail-aner hwn yn hyfryd,
Gan Fab Duw â'r dw'r a'r Yspryd.[L]

72.
Rhaid i Grist ein hadgenhedlu,
A'n hail-grëo, a'n newyddu,
Cyn y caffo undyn cnawdol
Etifeddu'r deyrnas nefol.

73.
Ni allai neb orchfygu'r ddraig,
Na sigo ei siol [M] am dwyllo'r wraig,
Na'n tynnu maes o'i dywyll gorlan,
Ond Hâd y wraig, Mab Duw ei hunan[N]

74.
Ni allai neb roi rhan o'r fendith,
Na'n tynnu maes o dan y felldith,
Ond Iesu Grist,[O] yr hadyn dinam,
Adawodd Duw o lwynau Abram.[P]

[S] Ioan 14. 22.—Cyn y delo Crist i lefaru heddwch wrth ddynion, a rhoddi llawenydd ysprydol iddynt, gan dystiolaethu trwy ei Yspryd eu bod hwy yn blant i Dduw, a bod iddynt gyfran ynddo ef, y mae efe yn gyntaf yn eu cyfiawnhau ac yn eu sancteiddio. Rhuf. 5. 1. 1 Petr 1. 8. 1 Ioan 2. 3—5. [T] Eph. 2. 3. [U] Ioan 1. 12. [V] Un o afonydd mwyaf y wlad hon, yr hon sydd yn tarddu yng Nghymru, ac yn ymarllwys i'r môr wrth Gaerodor. [W] Rhuf. 5. 1, 10. [X] *Reconcile*, cymmodi, heddychu. [Y] Gal. 3. 10, 13. [Z] Yn fedrus. [A] "Beunydd."—T. Durston. "Boenoeth." (bob nos.)—S. Hughes. [B] Ioan 8. 34, 36. [C] *Slaves*, caethweision. [D] Crafangu. Luc 11. 21. [E] 1 Ioan 3. 8. [F] Col. 1. 13. [G] *Conquer*, gorchfygu. Dat. 12. 7, 11. [H] Rhuf. 6. 23. [I] Rhuf. 8. 1. [J] Rhuf. 5. 12, 17, 18. [K] *Tarry*, trigo, aros. [L] Ioan 3. 5, 6. [M] Pen. [N] Gen. 3. 15. [O] Gal. 1. 3, 13. [P] Gen. 22. 18.

75.
Ni allai un creadar hynod,
Ein tynnu maes o ddanedd pechod,
A'n dwyn i'r nef at Dduw i dario,
Ond Iesu Grist, yr unig Silo.[Q]

76.
Duw ddug Israel trwy law Moses,
O gramp Pharao i Ganaan gynnes:
Duw trwy Grist a'n harwain ninnau,
O gramp Satan i'r nef olau.[R]

77.
Y neidr bres a helpai'n esgud,
Y rhai a frathai'r neidr danllyd;[S]
A Christ â'i waed a helpa'n fuan,
Yr enaid prudd a fratha Satan.[T]

78.
Gwaed yr Oen a gadwai'r angel,
I maes o'r tai, rhag difa Israel;[U]
Gwaed Mab Duw a geidw Satan
I maes o galon pawb a gredan'.

79.
Fel y tynnodd Dafydd rymus,
Oen o enau'r llew afradus;[V]
Felly tynnodd Crist, ein Bugail,
Enaid dyn o enau'r cythraul.[W]

80.
A'i farwolaeth lladdodd Samson
Y rhai pennaf o'i elynion;[X]
A'i ddioddefaint lladdodd Iesu,
Angau, pechod, diawl, a'i delu.

81.
Mae'nt hwy'n farwol wedi'u clwyfo,
Er bod chwythiant ynddynt etto;
Ni all eli sy'n yr holl-fyd,
Iachau'u clwyf na chadw'u bywyd.

82.
Nid oedd dim a olchai Naaman,
O'i glwyf gwan[Y] ond dyfroedd Jordan,[Z]
Nid oes dim a'n golcha ninnau,
Ond gwaed Crist oddi wrth ein beiau.

83.
Helodd [A] Duw ei angel hyfryd,
I ddwyn Sadrac o'r ffwrn danllyd;[B]
Helodd Duw ei Fab ei hunan,
I'n dwyn ni o ffwrnes Satan.

84.
Jonas a fu ym mol y morfil,
Dridiau a their-nos mewn mawr beril,[C]
Felly bu ein Prynwr hygar,
Drosom ninnau ym mola'r ddaear.[D]

85.
Fel offrymmodd Abram Isaac,
I Jehofa ar ben Moriac;[E]
Felly offrymmodd Crist ei enaid,
I'w Dad cyfion, dros ei ddefaid.

86.
Neb a ymolchai ym mhwll Bethesda,
Fe iachaid o'i glwyf pwy bynna':[F]
'Neb ymolcho yng ngwaed y cymmod,
Fe iachair o bob rhyw bechod.

87.
Gwaed y Pelican sy'n helpu,[G]
Ei adar gwedi'r sarph eu brathu:
Gwaed yr Oen all gadw'r Cristion,
Gwedi'i bechod frathu'i galon.

88.
Yr Unicorn â'i gorn a helpa,
Y dw'r, lle chwydo'r sarph ei chylla,[H]
Crist â'i waed all gadw'r enaid, [baid.[I]
Lle chwydo'r sarph ei gwenwyn em-

89.
Mor g'wilyddus ini wrthod
Un Mab Duw i fod yn briod,
A phe pallai merch i feger[J]
Fod yn wraig i Frenhin Lloegr.

90.
Nid yw bossibl i neb ddringad,
I'r nef uchel, uwchlaw'r lleuad,
Oni chymmer ysgol Iago,[K]
'R hon yw Crist, i ddringad arno.

91.
O, gan hynny, llef yn irad,
Am gael gafael yn dy Geidwad:
N'âd i'r byd, na dim sydd ynddo,
Beri colli d'afael arno.

92.
Llef am Grist fel hydd am afon,[L]
'Mofyn Grist â phob fforddolion;[M]
Cais o'n ddyfal nos y caffech,
Cadw dy afael pan ganfyddech.[N]

93.
Cyn y gallech chwennych Crist,
I gadw d'enaid truan, trist,
Rhaid it' wel'd fod gras a gallu,
Gan Fab Duw i'th gadw a'th brynu.

94.
Rhaid it' wel'd fod Crist yn rasol,
Yn Dduw yn ddyn yn rymmus hollol;
Yn well na dim, yn rheitach wrtho,
Na'r byd i gyd, er maint sydd ynddo.

[Q] Gen. 49. 10. [R] Sef, os credwn ynddo, ac edifarhau am ein pechodau, a bod yn ufudd iddo. Heb. 5. 9. [S] Num. 21. 9. [T] Ioan 3. 14, 15. [U] Exod. 12. 23. [V] Distrywgar, ysgyfaethus. 1 Sam. 17. 34, 35. [W] Act. 26. 18. [X] Barn. 16. 30. [Y] Gwahanglwyf. "O'i glaf gwan."—S. Hughes. [Z] Yr Iorddonen. 2 Bren. 5. 14. [A] Anfonodd. [B] Dan. 3. 28. [C] *Peril*, enbydrwydd, perygl. [D] Mat. 12: 40. [E] Gen. 22. 9, 10. [F] Ioan 5. 4. [G] *Help*, gwella, iachau. [H] Gwelir yma etto, fel mewn rhannau blaenorol o'r Llyfr, y defnydd rhagorol a wna y Ficer o draddodiadau a gredid yn ei oes ef. [I] Enbyd, niweidiol. [J] *Beggar*, cardottyn. [K] Jacob. Gen. 28. 12. [L] Psalm 42. 1. [M] Ymdeithwyr. [N] Can. 3. 3, 4.

95.
Rhaid it' wel'd fod Crist yn rheitach,
Yn well ym mhell, yn werthfawroccach
Na'r byd a'i bethau darfodedig,
I gadw d'enaid bach o'i berrig.

96.
Ni all y byd, a'i werthfawr bethau,
Brynu d'enaid byth o'i boenau;
Fe all Crist ei ddwyn i'r nefoedd,
O grafangau'r sarph a'i twyllodd.

97.
Fe all Crist â'i waed ei olchi,
O'i bechodau fel y lili,
Er eu bod mor goch a'r scarled,[O]
A'u glanhau mor wyn a'r foled.[P]

98.
Fe all Crist dy ail repario,[Q]
Yn ddyn newydd, er dy 'nurddo,
A'th gyfnerthu, tra f'ech[R] byw,
I fyw mewn ffafar dyn a Duw.

99.
Fe all Crist dy lwyr ffwrneisio,[S]
A gras a grym i lynu wrtho;[T]
A dysg, â dawn, a gwir wybodaeth,
I weithio gwaith dy iechawdwriaeth.

100.
Fe all Crist recyfro[U] iti,
Faint y gollodd dy rieni,[V]
A rhoi iti sicrach bywyd,
Nas gall Satan ddwyn oddiwrthyd.

101.
Fe all Mab Duw gadw d'enaid,
Er ei fyn'd i fysg y bleiddiaid,
A'i ddwyn adref i'r wir gorlan,
Yn wych ar ei 'sgwyddau'i hunan.

102.
Ni all y byd, er maint sydd ynddo,
Gadw d'enaid, na recyfro,
Faint y gollaist gynt yn Adda,
Ond dy ollwng i'r pwll isa'.

103.
Crynho 'nghyd dy rym a'th allu,
Rho'th goel, a'th dryst,[W] a'th bwys ar [Iesu;
Cais ef, car ef, craffa arno,
Bydd siwr[X] i gadw d'afael ynddo.

104.
Rhaid i Gristion brudd 'wyllysio,
Cael Mab Duw yn Geidwad iddo,
Cyn y bytho'r Prynwr hawddgar
Geidwad byth i'r an'wyllysgar.

105.
Oni chwennych, oni flysia,[Y]
Oni chais, oni sycheda,
Dyn am Fab Duw idd ei gadw,
Ni thry Mab Duw byth drwyn hwnnw.[Z]

106.
Ni ry Duw mo'i Fab i un-dyn,
Nes bo' chwannog idd ei dderbyn;
Rhaid yw chwennych Crist a'i geisio,
Cyn y caffer gafael arno.

107.
Os bydd un-dyn yn gwyllysio,
Yn hiraethu, yn dymuno,
Derbyn Crist, a'i ras, a'i ffafar,
Duw rhy iddynt yn 'wyllysgar.[A]

108.
Ni chais Duw gan ddyn edifar,
Ond derbyn Crist yn dra gwyllysgar;
Y dyn a'i ceisio yn awyddus,
Fe'i caiff e'n rhad yn ol ei 'wyllys.[B]

109.
Cyn cael Crist a gras oddiwrtho,
Rhaid cael ffydd i ymaflyd ynddo;[C]
Heb ffydd ni all un-dyn byw
Gyrhaedd gafael ar Fab Duw.

110.
Ni chaiff Cristion, mwy na phagan,[D]
Les, na ffrwyth, na rhan, na chyfran,
O'r maint oll a brynodd Iesu,
Heb ffydd fywiol i'w meddiannu.[E]

111.
Ffydd sydd reitaf peth i'w cheisio,
Byth ni chai di Grist heb honno,
Cais a fynnech yn dy ddydd,
Ni cheidw Grist di byth heb ffydd.[F]

112.
Heb ffydd ni bydd it' wnel â Christ,
Heb ffydd mae'r weithred oreu'n drist,[G]
Heb ffydd ni wir foddlonir Duw,[H]
Wrth ffydd y bydd y cyfion byw.[I]

113.
Pe bai gennyd aur fynyddau,
A'r byd yn bacc,[J] a'i amryw bethau,
Beth fyddit gwell ar ddydd anghen-[rhaid,
Os, eisiau ffydd, y colli d'enaid?

114.
Pe bait mor dlawd a Lazar[K] druan,
Heb dai, heb dir, heb fwyd, heb screpan,[L]
Heb dda, heb ddim ond ffydd yn unig,
Trwy ffydd yng Nghrist ti wyt gadwedig.

[O] *Scarlet*, ysgarlad. Esay 1. 18. [P] Cap, penwisg gwraig. [Q] *Repair*, adgyweirio. [R] Fyddech. [S] *Furnish*, arfogi, addurno. [T] Ioan 1. 16. [U] *Recover*, adferu. [V] Adda ac Efa. [W] *Trust*, hyder, ymddiried. [X] *Sure*, sicr. [Y] Awyddu, hiraethu. [Z] Ni wna sylw o hono. [A] Mat. 5. 6. [B] Dat. 22. 17. [C] Eph. 3. 17. [D] Un heb broffes o Gristionogrwydd. [E] Gal. 5. 6. [F] Mar 16. 16. [G] Rhuf. 14. 13. [H] Heb. 11. 6. [I] Rhuf. 1. 17. [J] *Pack*, baich, llwyth. [K] Lazarus y cardottyn. Luc 16. 20. [L] *Scrip*, ysgrepan, cwdyn.

115.

Er na ddichon mynydd auraid,[M]
Gyffro Crist i gadw d'enaid,
Gronyn bach o ffydd, fel hadyn,
All ei gyffro i gadw un-dyn.[N]

116.

Heb ffydd ni ellir cael diddanwch,[O]
Gwir lawenydd, a dedwyddwch,
Yn y nef nac ar y ddae'ren ;
Bod heb ffydd sydd beth aflawen.

117.

Heb ffydd ni chei di ran yng Nghrist,
Heb ffydd fe'th droir i uffern drist;
Heb ffydd ni phlesir[P] mo Dduw'r lluoedd,
Heb ffydd nid âi di byth i'r nefoedd.

118.

Ni cheir pardwn byth am bechod,
Ni cheir ffafar ar law'r Drindod;
Ni cheir dim llawenydd prudd,[Q]
Lle na byddo bywiol ffydd.[R]

119.

Rhaid i'r tlawd, rhaid i'r cyfoethog,
Rhaid i'r diddysg a'r llythrennog,
Rhaid i'r brenhin, rhaid i'r beger,
Rhaid i bawb wrth ffydd cyn cadwer.

120.

Rhaid i bawb ei ffydd ei hun,
Nid ffydd arall wrth ei glun ;
Can's ni chedwir neb yn gynghan,
Ond trwy'i ffydd a'i gred ei hunan.

121.

Nid ffydd dy fam, nid ffydd dy dad,
Nid ffydd dy brins[S] a'r penna' o'r wlad,
All dynu gras o Grist it' allan,
Ond dy ffydd a'th gred dy hunan.[T]

122.

Ni cheidw ffydd y tad o'i blentyn,
Na ffydd y mab o'i dad escymmun;[U]
Pawb a gedwir, pob yr un,
Wrth ei ffydd a'i gred ei hun.

123.

Wrth wrando geiriau Duw yn brudd,
Mae Duw yn arfer rhoddi ffydd,
Heb wrando'r gair nid yw yn arfer
Rhoddi ffydd i neb un amser.[V]

124.

Gwrando'r gair, a chred addawo,
Craffa, a chofia'r hyn a ddywetto ;
A 'ddawo Duw fe'i tâl yn ddilys,[W]
Ni thorrodd Duw erioed o'i bromis.[X]

125.

Nid ein natur, nid ein tadau,
Nid ein dysg, na'n poen, na'n doniau ;
Ond Yspryd Duw, trwy'i air ei hun,
Sy'n gweithio ffydd yng nghalon dyn.[Y]

126.

Gwrando'r gair, a chais ei Yspryd,
Llef am ffydd fel am dy fywyd :
Wrth waeddi am ras, a gwrando'r 'fengyl,
Mae Duw'n rhoddi ffydd yn rhugyl.[Z]

127.

Nid y gair tu faes ei hun,
Sy'n gweithio ffydd yng nghalon dyn ;
Ond Yspryd Duw, ynghyd â'r gair,
Sy'n gweithio ffydd, ple bynna' cair.[A]

## CLI.—Psalm xxxviii.

1.

Duw grasol, Tad trugarodd,
Na faedda fi'n dy 'ddigred,
Ac na chospa fi'n dy fâr,[A]
Mor ddigllon ar fy niwedd.

2.

Duw, mae dy saethau llymion,
Yn glynu yn fy nghalon,
A'th law drom yn daran chwyrn,[B]
Yn briwio fy esgyrn gweinion.

3.

Nid oes i'm cnawd ond nychdod,
Gan faint dy lid a'th ddyrnod,
Na ddim hedd i'm hesgyrn briw,
Waith cymmaint yw fy mhechod.

4.

A'm camwedd a'm troseddau,
Sy'n pwyso'n drwm, gwae finnau !
Fel baich gorthrwm ar fy ngwarr,
Yn gwasgu ar fy 'sgwyddau.

[M] O aur. [N] Luc 7. 50. [O] 1 Petr 1. 8. [P] *Please*, boddloni. [Q] Gwirioneddol, sylweddol. [R] Ffydd fywiol yw yr hon y mae edifeirwch, glendid calon, a gweithredoedd da yn ei chanlyn. Act. 20. 21, a 15. 9. Iago 2. 18. [S] *Prince*, tywysog. [T] Ezec. 18. 20. [U] *Excommunicated*, wedi ei ymlid o gynulleidfa y ffyddloniaid oblegid ei droseddau. [V] Rhuf. 10. 17. [W] Yn ddiommedd. [X] *Promise*, addewid. [Y] Gal. 5. 22. [Z] Yn gyffredin. Mat. 7. 7. [A] Act. 15. 7—9.

[A] Llid. [B] Yn dra chwyrn.

5.
A'm cnawd sy'n llawn o gleisiau,
Waith trymmed yw'th ddyrnodiau,
A'm cleisiau'n pydru fel hen glwyf,
Gan ffoled wyf, gwae finnau.

6.
Ti grymmaist, Dduw fy nghefen,
Ti'm helaist[C] i'r bedd haychen;[D]
Ti'm gostyngaist hyd y llawr,
Rwy'n un yn awr â'r ddae'ren.

7.
'Rwyf beunydd yn galaru,
'Rwy'r nos heb allael cysgu,
'Rwy'n wylo'n dost, rwy'n griddfan [mwy,
Fy neigrau aeth trwy 'ngwely.

8.
Gwel dristed yw f'amcanion,
Clyw dosted yw f'och'neidion;
Gwel mor drwm yw'th lid a'th fâr,
Yn gwasgu ar fy nghalon.

9.
I beri im' fwy o flinder,
A gwewyr heb esmwythder,
Mae'r holl gnawd yn afiach iawn,
A'm lwynau'n llawn o boethder.

10.
'Rwy'n egwan gwedi 'nghlwyfo,
'Rwy'n ochain ac yn rhuo,
Gan faint poen, fy Mhrynwr cu,[E]
'Rwy'n barod i wall-bwyllo.[F]

11.
O dofa beth o'th ddigter,
A llaesa[G] ddarn o'm blinder;
Na lwyr ddifa fi, fy Nuw,
Ond rho im' ryw esmwythder.

12.
Ti wyddost, Dduw, fy Ngheidwad,
Beth ydyw fy neisyfiad;
Ni chuddiwyd rhagot ti un pryd,
Na'm poen, na'm crŷd, na'm bwriad.

13.
Mae 'nghalon drom yn curo,
A'm nerth sydd wedi'm gado;
A'm llygaid trymion bob yr un,
Sy' heb weled dim i'm swccro.[H]

14.
Fy ngheraint a'm cyfeillion,
O hir-bell rhoent olygon,
Ar fy nhrallod blin a'm pla,
Heb gysur na chynghorion.

15.
A'r rhai ddymunai 'nifa,
Osodent faglau i'm dala,
A'm gorthrymmu megis cŵn,
Och! och! pan oeddwn wana'.

16.
A minnau yn fy nhrafael,[I]
Fe ddywedai pawb ei chwedel,
Ac a'm barnent, bob yr un,
Yn waethaf dyn o'm cene'l.

17.
A rhai ddych'mygent gelwydd,
A rhai'm gwatwarent beunydd,
A rhai chwarddai'n uwch ar g'oedd,
Gan gymmaint oedd fy nghystudd.

18.
A minnau fel dyn byddar,
Heb glywed dim o'u gwatwar,
Yn tewi â son, heb atteb neb,
Fel mudan heb ei lafar.

19.
Yr wyf fel gŵr heb glywed,
Neu ffol heb fedru ystyried,
Yn gado i bawb chwedlau[J] ei hun,
Heb ammeu dyn a'r aned.

20.
Ond Arglwydd, 'rwy'n gobeithio
Dy fod di yn eu gwrando,
Ac yn atteb dros dy was,
I bawb a'i cas enllibio.

21.
Duw, na'd i'm drwg elynion
Gael arnaf wyn eu calon,
Na chrechwennu tra font byw,
Wel'd cymmaint yw'm trallodion.

22.
Pan lithro 'nhroed ond gronyn,
Hwy chwarddant bawb i'm herbyn,
Ac a wawdiant am fy mhen,
Gan roi im' senn ysgymmun.[K]

23.
Fe'm ganed i ddwyn poenau,
Par'towd fi i ddialau;
A blinderau 'nghalon donn[L]
Sydd ger fy mron yn ddiau.

24.
O Arglwydd 'rwy'n cyfadde',
Fy mhechod a'm troseddau;
Mae'n flin gennyf, O fy Nuw,
Wel'd cymmaint yw fy meiau.

[C] Gyrraist. [D] Ym mron, yn agos. [E] Anwyl. [F] Colli synwyrau. [G] Esmwythdra. [H] *Succour*, cynnorthwyo, ymgeleddu. [I] *Travail*, trafferth. [J] Siarad, ymddiddan. [K] Melldigedig. [L] Dychrynllyd.

25.

Ond etto mae 'ngelynion,
Yn fywiol[M] ac yn gryfion;
A'r sawl sy heb achos i'm cashau,
Sy'n amlhau yn greulon.

26.

A'r rhai a dalent imi,
Dwrn[N] drwg am fy naioni,
Sy'n gwrth'nebu bob rhyw awr,
Trwy wneuthur mawr ddrygioni.

27.

Ac am fy mod yn dilyn
Y peth sydd dda i'r werin,[O]
'Rwy'n gas gan bawb o'r bobol ddrwg,
A'r rhai sy a'u gwg i'm herbyn.

28.

Na wrthod di fy helpu,[P]
O Dduw, fy Nuw, er hynny;
Gwna fi beunydd ar fy ngwell,
Ac na fydd bell oddiwrthy'.

29.

Ond brysia i'm cynnorthwyo,
A'm helpu byth tra gantho,
Duw fy iechyd, Un a Thri,
Can's ynot ti 'rwy'n trystio.[Q]

## CLII.—Am y Sabboth.

1.

Deffro'n foreu gyda'r ceiliog,
Ffust[A] dy adenydd, cân yn serchog,
Psalm i'r Arglwydd yn blygeiniol,[B]
Ar bob Sabboth, yn dra siriol.

2.

Gwisg dy ddillad goreu am danad,
Ymsancteiddia cyn dy ddwad,[C]
O flaen Duw i'r deml sanctaidd;
Hoff gan Dduw ei addoli'n g'ruaidd.[D]

3.

Gwedi'n dos a'th dylwyth gennyd,
I dŷ Dduw â chalon hyfryd,
I addoli Duw'n y dyrfa,
Megis Joseph, Mair, a Josua.

4.

Fe fynn Duw ei addoli'n barchus,
Ar bob Sabboth yn gyhoeddus,
Gyda'r dyrfa yn y demel,
Nid yn ddirgel yn y cornel.

5.

Duw ddibenodd ei holl weithred,
Ar y dydd o flaen y seithfed;[E]
Gorphen dithau bob gorchwylion,
Cyn y Sabboth, os wyt Gristion.

6.

Ymsancteiddia cyn y Sabboth,
Cadw'n lan dy lestr beunoth;[F]
Golch dy hun mewn edifeirwch,
Ofna Duw a chais ei heddwch.

7.

Cyn y Sabboth rhaid ymg'weirio,[G]
A throi pob bydol-waith heibio,
I gael gweithio gwaith yr Arglwydd,
Tra fo'r dydd, mewn gwir sancteidd-
rwydd.

8.

Gorphwys di, a'th dda,[H] a'th ddynion,
Oddiwrth bob rhyw o orchwylion;
Ac na weithia, ddydd yr Arglwydd,
Waith o bleser[I] na boddlonrwydd.

9.

Gworthu liflod,[J] cario beichiau,[K]
Gweithio'n galwad, myn'd i siwrnau,
Pob ofer-waith pleseredig,
Ar y Sabboth sydd w'arddedig.[L]

10.

Cadw'r Sabboth oll yn brudd,[M]
Fore, a hwyr, a chanol dydd,
Yn dy dŷ fel yn yr Eglwys,
Yn gwas'naethu Duw heb orphwys.

11.

Cymmer fwy o garc,[N] tro'ch[O] byw,
Weithio'r Sabboth waith dy Dduw,
Nag y gymrech un dyn amgen,
Ynghylch gweithio bydol bresen.[P]

12.

Ar y Sul, mae mor anghenrhaid,
Geisio Manna i borthi'r enaid,
Ag yw ceisio, ar ddydd marchnad,
Fwyd i borthi'r corphyn anllad.

[M] Bywlog: [N] *Turn*, tro, ymddygiad. [O] Y bobol gyffredin. [P] *Help*, cynnorthwyo. [Q] *Trust*, ymddirled.

[A] Cura. [B] Yn dra boreu. [C] Dyfod. [D] Yn weddaidd. [E] Gen. 2. 3. Exod. 20. 11. [F] Beunydd, bob amser. [G] Ymgyweirio. [H] Anifeiliaid. [I] *Pleasure*, difyrwch. [J] *Livelihood*, pethau at gynnal bywyd, ymborth. [K] Nehem. 23. 15, 16, 19. [L] Esay 58. 13. [M] Yn ystyriol. [N] Caro gofal. [O] Tra fyddech. [P] Pethau y byd presennol.

13.
Cod y bore ar y wawr-dydd,
Am y cyntaf a'r uchedydd,
I gael treulio dydd yr Arglwydd,
Mewn duwioldeb a sancteiddrwydd.

14.
Nid diwrnod ini gysgu,
Nac i dordaen yn y gwely;
Ond diwrnod i'w sancteiddio,
Yw'r dydd Sabboth oll tra gantho.[Q]

15.
Nid diwrnod iti loetran,[R]
Nac i feddwi, nac i fowlian,[S]
Ond diwrnod iti weithio
Gwaith dy Dduw, yw'r Sul tra dalo.

16.
Dydd i'w dreulio mewn sancteidd-
rwydd,
Dydd i weithio gwaith yr Arglwydd,
Dydd i ddarllen a gweddïo,
Dydd i addoli Duw a'i gofio.

17.
Dydd i orphwys rhag gwaith bydol,
Dydd i weithio gwaith sancteiddiol;
Ac nid dydd i fod yn segur, [thyr,
Yw dydd Duw, medd geiriau'r 'Sgry-

18.
Er bod Duw, yn erchi coffa,
Cadw'r Sabboth yn ddisigla';[T]
Nid ym ninnau'n ceisio cadw
Un gorchymyn waeth na hwnw.[U]

19.
O'r holl ddyddiau nid oes un-dydd
Ym ni'n dreulio mor ddi-grefydd,
Mor anneddfol, mor ysgymmun,
A'r ddydd Sabboth tra fo'r flwyddyn.

20.
Dydd i feddwi, dydd i fowlian,
Dydd i ddawnsio, ddydd i loetran,
Dydd i hwran,[V] a gwylhersu,[W]
Yw'r dydd Sabboth gan y Cymry.

21.
Dydd i eistedd a dyfalu,[X]
Dydd i ymladd, ac ymdaeru,[Y]
Dydd i weithio gwaith y cythraul,
Yw dydd Duw mewn llawer cornel.

22.
Y dydd ddylem ei sancteiddio,
Ym ni fwyaf yn ei 'nurddo,[Z]
I ammherchi'n Prynwr tirion,
A dolurio'i gywir weision.

23.
Treulia'r Sabboth oll yn llwyr,
Mewn sancteiddrwydd fore a hwyr;
Ac na ddyro ran na chyfran
O ddydd Duw i addoli Satan.

24.
Cofia gadw'r Sabboth sanctaidd,
Duw fynn gadw hynn yn berffaidd;[A]
'R hwn a dreulio'r Sul yn ofer,
Ni wna bris o ddim orch'myner.

25.
Cadw'r Sabboth ti a'th gene'l
Yn dy dŷ fel yn y demel;
Gwnai'th dylwyth fyw mor gymmwys.
Yn dy dŷ fel yn yr Eglwys.[B]

26.
Tri ryw waith all dyn arferu,
Ar y Sabboth heb droseddu:
Gwaith duwioldeb yn ddiembaid,[C]
Gwaith cariadol, gwaith anghenrhaid.

27.
Gweithred dduwiol yn trafaelu,[D]
I Dŷ Dduw i'w anrhydeddu,
Ac i wrando'r 'fengyl hyfryd,
Pet fai' mhell o ffordd oddiwrthyd.[E]

28.
Gwaith cariadawl ydyw cadw,
Dyn a 'nifail rhag eu marw,
A rhoi ymborth iddynt ddigon,
Ac ymg'leddu'r bobol weinion.[F]

29.
Gwaith anghenrhaid, 'r hwn nis galli,
Gynt na chwedi'n ei gyflawni,
Megis cadw tŷ rhag llosgi,
Gwraig wrth esgor, buwch rhag boddi.

30.
Gochel ddilyn drwg gyfeillach,
Cyfaill drwg sydd wybren afiach,
Plag[G] yn llygru, pyg yn 'nurddo,
'R dyn duwiolaf a'i ddilyno.

[Q] Tra parhao. [R] *Loiter*, segura. [S] *Bowl*, chwarreu bwl a phinnau, (bowl and kayles.) "I fwlian."—S. Hughes. [T] Y modd mwyaf disigi. [U] "Mwy na hwnw."—T. Durston. [V] *Whore*, putteinio. [W] Gwilhersu, dilyn chwariaethau ynfyd ac anllad. [X] Gwawdio, medd S. Hughes. [Y] Cynhennu. [Z] Halogi. [A] *Perfectly*, yn llwyr. [B] Gen. 18. 19. Jos 24. 15. [C] Yn ddiberygl. [D] *Travel*, teithio. [E] 2 Bren. 4. 23. [F] Mat. 12. 12, 13. Luc 13. 15, 16. [G] *Plague*, haint, plâ.

## CLIII.—Gweddi dros yr Eglwys,

YN LLAWN O DDYMUNIADAU GRASOL.

1.
ARGLWYDD grasol, cadw d'Eglwys,
A'r Winwydden deg a blanwys [A]
Dy ddeheu-law di dy hunan,[B]
O'r dechreuad yn dy winllan.

2.
N'âd i'r baedd o'r coed ei thurio,
N'âd i'r bwystfil gwyllt ei chroppio;[C]
N'âd un gelyn, er mwyn Iesu,
Ei hanrheithio byth na'i sathru.

3.
Bydd yn fur o dân o bobtu,[D]
Ddydd a nos,[E] gan ei chwmpasu;[F]
Bydd a'th lygad arni'n wastad,
A'th fraich rymus yn ei gwarchad.[G]

4.
Cadw hi megis byw dy lygad,[H]
Portha hi fel praidd yn ddifrad,
Trwsia hi fel dy anwyl briod,
N'âd un gelyn byth ei gorfod.[I]

5.
Gwella ei muriau,[J] cod ei bylchau,
Gwylia ei phyrth a ch'weiria'i[K] thyrau,
Cadarnha bob barr sydd ynddi,[L]
N'âd un gelyn ei difrodi.

6.
N'âd i Dwrc,[M] na Phab,[N] na phagan,[O]
Nac un penaeth, waethu'th winllan,
Ond bydd elyn i'w gelynion,
A difetha ei chasogion.[P]

7.
Gwlawia arni yn gafodau,
Dy fendithion nos a boreu,
Nes y tanno osglau'i [Q] gwinwydd,
Dros y byd o'r môr i'w gilydd.

8.
Tafla i lawr, a dryllia'n gandryll,
Rwysg y ddraig, a'i theyrnas dywyll;[R]
Adeilada ym mhob cornel
Deyrnas Crist, a sathra'r cythraul.

9.
Crist, â'th ana'l llwyr ddifetha
Y mab anwir[S] sy'n ymddyrcha;[T]
A'r hen buttain goch [U] sy'n yfed
Gwaed y saint, i dorri ei syched.

10.
Gwna i'r 'fengyl wenn farchogaeth,
Trwy'r holl fyd at bob cenhedlaeth,
I gael gorfod a gorchfygu;[V]
A thro bawb o'th blant i'w chredu.

11.
Adeilada o gylch gwmpas,
Ym mhob gwlad dy rasol deyrnas,
Ym mhlith Groegiaid [W] ac Iuddewon,
Gwna hwy, Arglwydd, yn Grist'nogion

12.
I Iuddewon gwna drugaredd,
Dangos iddynt dy wirionedd;
Tynn eu hanghrediniaeth ymaith,
Derbyn hwynt i'th gorlan eilchwaith.

13.
A bendithia bob rhyw deyrnas,
Lle addoli'r Crist yn addas;
Cadw'r 'fengyl sanctaidd iddynt,
Nes del Crist i farnu rhyngthynt.

## CLIV.—Am Dyngu.

1.
YR Iuddew dig a rwyg ei wisgoedd,
Pan y cabler Duw y lluoedd;
Llawer Cristion gwael ni syfla,[A]
Pan y cabler Duw gorucha.'

2.
Os tyngai Sipswn [B] i ben Pharao,
Yng ngham, fe gai ei ddieneidio;
Os twng y Cristion gorph ei Brynwr,
A'i gig a'i waed, nid oes dialwr.

3.
Gwn na frathai yr Iuddewon,
Crist ond unwaith dan ei ddwyfron,
Mae'r Crist'nogion, â'u cas lwfau,[C]
Yn ei frathu fil o weithiau.

4.
Na ryfedda wel'd gwŷr mawrion,
Yn gwerthu'r tir a'r teiau gwychion;
Cablu Duw a bair yn fuan,
I'r tai a'r tir droi'r meistri allan.[D]

[A] A blannodd. [B] Psalm 80. 14, 15. [C] *Crop*, torri brig, pori. Psalm 80. 13. [D] Zec. 2. 5. [E] Esay 27. 2, 3. [F] *Compass*, amgylchynu. [G] Cadw, amddiffyn. [H] Zec. 2. 8. [I] Gorchfygu. [J] Psalm 51. 18. [K] Adnewyddu. [L] Psalm 147. 13. [M] *Turk*, un o ganlynwyr y gau-brophwyd Mohammed. [N] *Papa*, (Lladin,) enw cyffredin ar Esgobion Rhufain, llawer o'r rhai a ymddygasant yn dra creulawn tuag at Gristionogion. [O] Eilunaddolwr. [P] Y rhai a'i cashant. Gen. 12. 3. [Q] Canghenau. [R] Dat. 12. 9. [S] Y Pab. [T] Ymddyrchafu. 2 Thes. 2. 3, 4, 8. [U] Eglwys Rhufain, Dat. 17. 1, 4, 6. [V] Dat. 6. 2. [W] Groegiaid, yn iaith yr Apostol Paul, y gelwid pob cenhedloedd heblaw yr Iuddewon. Rhuf. 2. 9, 10. 2 Cor. 3. 16.

[A] Ni ysgogir, ni chynhyrfir. [B] *Egyptian*, Aiphtwr. [C] Llwon. [D] Lef. 18. 28. Hos. 4. 2, 3.

5.
Ti gai wel'd yn nhai gwŷr mawrion,
Bedwar par o gardau brithion;
I rai dyngu ac ymgigo,
Heb un llyfyr i weddïo.

6.
'Rwyf fi'n tybied ac yn credu,
Na cheir clywed casach tyngu,
Gan gythreuliaid yn Gehinnon,[E]
Nag a glywir gan Grist'nogion.

7.
Nid oes son yn nheiau llawer,
Am enw Duw ond pan y cabler,
Nac am werthfawr waed yr Iesu,
Ond tra fyther[F] yn ei dyngu.

8.
Melldith Duw, medd Zecharias,
A red i dŷ'r udonwr[G] diras;
Ac a lyna wrth bob ceibren,
Nes pydru'r tŷ, a'i droi yn dommen.[H]

9.
Gwell it' drigo lle bo powdwr;[I]
Yn y gegin, yn y parlwr,[J]
Nag it' drigo lle bo tyngu,
Yn y parlwr neu'n y penty.

10.
Naw ugain mil o lu'r Assyriaid,
Y laddodd angel Duw mor ddiriaid,[K]
Mewn un noswaith gynt, am gablu
Enw'r Arglwydd a'i ddirmygu.[L]

11.
Mae Duw'n erchi llwyr labyddio,
Pob rhyw ddynion ag a gablo;
Nid dieuog yw'r dyn 'sgeler,[M]
Ag y gym'ro ei enw'n ofer.[N]

12.
Pet fai farnwyr yr holl deyrnas,
Yn rhyddau'r udonwr diras;
Duw ei hun a farn yn siccer,[O]
Bawb a gym'ro ei enw'n ofer.

## CLV.—Dyledswydd Gweinidogion.

1.
Dwg sancteiddrwydd yn dy dalcen,[A]
Fel y gallo pobol ddarllen, [rwydd,
Wrth dy ymddygiad a'th sancteidd-
Dy fod ti yn was i'r Arglwydd.

2.
Pâr i'th glych fydd wrth dy siacced,[B]
Ganu'r ffordd y bech[C] yn cerdded,
Fel y gallo pawb yn rhugyl,[D]
Glywed gennyt eiriau'r 'fengyl.

3.
Pâr i'r pomgranadau[E] ffrwythlon,
Oedd wrth ymyl siacced Aaron,
Ber-arogli â'th ddaioni,
Bob rhyw dyrfa ddelech iddi.

4.
Pâr i 'roglau dy ymddygiad,
Pâr i lewyrch dy lân alwad,
Pâr i ffrwyth dy wefus draethu,
Mai gwas wyt i'r Arglwydd Iesu.

5.
Gŵr i Dduw wyt wrth dy alwad,
Gwas i Grist, ein Pen a'n Ceidwad;
Nid yw gweddus i was brenhin,
Fyn'd mor frwnt a gŵr cyffredin.

6.
Cennad wyt i'r Brenhin mwya',[F]
I fynegu ei air i'r dyrfa;
N'âd un gair heb ei fynegu:
O'r hyn archodd iti draethu.

7.
Bugail wyt i gadw'r defaid,
Brynodd Grist â'i waed bendigaid,[G]
N'âd un ddafad farw o newyn,
Rhag myn'd ei gwaed hi ar dy gobyn.[H]

8.
Dwg sancteiddrwydd gyda'th Urim,
Dwg wybodaeth gyda'th Thummim;[I]
Dwg y ddau hyn ar dy galon,
Hyn yw dyled 'ffeiriad ffyddlon.

9.
Rho'ist dy law ar gorn yr arad',[J]
Dos i'th flaen, a dilyn d'alwad,
Na thro'n d'ol fel ci at chwydfa:
Ni chair coron heb hir bara.[K]

10.
Gw'radwydd oedd i Ephraim fudyr,
Droi'n ei ol yn nydd y frwydyr;[L]
Os troi'n ol oddiwrth dy alwad,
Gwaeth dy ddiwedd na'th ddechreuad.

[E] Gehenna, uffern. [F] Tra fydder. [G] Anudonwr, un yn tyngu ar gam. [H] Zec. 5. 2—4. [I] *Powder*, pylor, llwch hylosg tra niweidiol ei effeithiau. [J] *Parlour*, ystafell i ymddiddan. [K] Dychrynllyd. [L] 2 Bren. 19. 35. [M] *Sceleratus*, (Lladin,) tra drygionus. [N] Lef. 24. 16. [O] Yn sicr.

[A] Exod. 28. 36, 38. [B] *Jacket*, math o wisg. Exod. 28. 33—35. [C] Byddech. [D] Yn gyffredinol. [E] Ffrwythau math o goed. [F] 2 Cor. 5. 20. [G] Act. 20. 28. [H] Ar dy ben. Ezec. 33. 8. [I] Deut. 33. 8. [J] Luc 9. 62. [K] 2 Tim. 4. 7, 8. [L] Psalm 78. 9.

11.
Gado'r llong fel Iago a Pheder,[M]
Dilyn Grist tra caffech amser;
Rhaid i weision y Messiah,
Ado'r byd fel Lefi'r [N] dollfa.

12.
Bwrw'r byd a'i bethau oddiwrthyd,
'Rwyt ti'n rhedeg am dy fywyd;
Ffardel [O] gron [P] o bridd a hindra'[Q]
Gawr neu farch wrth redeg gyrfa.

13.
Tafla ffwrdd bob peth sy'n pwyso,
A'r pechodau sy'n dy rwystro:
Rheded pawb y nefol yrfa,[R]
Trwy amynedd am y cynta'.

14.
Portha ddefaid Crist yn gywrain,[S]
Yn 'wyllysgar heb dy gathrain;[T]
Pan ddangoso Crist ei fawredd,
Ti gei goron ac anrhydedd.[U]

15.
Gwae pob bugail mud, anghynnil,[V]
Na phregetha Grist a'i 'fengyl;
Gwaed eneidiau mil ofynnir,
Ar law hwnnw pan ei bernir.[W]

16.
Mewn tair ffordd y dylit borthi
Defaid Crist, a'u llon gymfforddi;[X]
Ag athrawiaeth bur 'fengylaidd,
Gweddi frwd, a bywyd sanctaidd.

17.
Gwell yw 'ffeiriad da nag angel,
Gwaeth yw'r drwg na'r ddraig na'r
Y da a'n dwg i dir goleuni, [cythraul,
Y drwg a'n gollwng bawb i'n colli.

18.
Trin dy winllan, hi ddwg rawnwin,
Haua dy faes, fe ddwg egin;
Trin dy braidd, fe fydd lwyddiannus;
Dysg dy blwyf, fe fydd rinweddus.[Y]

19.
Dysgwch eich praidd, ac arweiniwch,[Z]
I wlad Canaan trwy'r anialwch;
Nid nes 'ffeiriad fod yn Ddoctor,
Oni wnant [A] yn ol ei gynghor.

20.
Byddwch dirion wrth y defaid,[B]
Cwnnwch lef yn ol y bleiddiaid:
Mwynder a wna i'r ddafad bori,
Llefain a wna i'r blaidd gynffonni.[C]

21.
Rhowch y fron i'r wyn cariadus,[D]
Rhowch y ffonn wrth hwrdd cildynus,[E]
Byddwch fwyn wrth rai diniwed,
Cospwch bawb o'r rhai pengaled.[F]

22.
Bydded arfau yn eich dwylo,
Fel plant Israel wrth adeilo;[G]
Llwy i fildo,[H] cledd i ymddiffyn,
Ac i ymladd dros y werin.[I]

23.
Porthwch bawb eich praidd â Manna,[J]
Nedwch [K] arnynt eisiau porfa;
Os bydd marw un rhag newyn,
Bydd gwaed hwnnw ar eich cobyn.[L]

24.
Cyrchwch adref, trowch i'r gorlan,
Y disperod [M] aeth i straglan;[N]
Nedwch un i gyfrgolli,
Fe fynn Duw am bob peth [O] gyfri'.[P]

25.
Canwyll y'ch i roi goleuni,
Yn Eglwys Dduw i'r holl gwmpeini;[Q]
O! disgleirwch fel canwyllau,
Fel y rhodiom yn eich goleu.[R]

26.
Y lamp a dreuliai'r llin o'r thusyr,
Yn goleuo'r gwiw addolwyr; [lon,
Treuliwch chwithau'ch oes mor ffydd-
Yn goleuo eich plwyfolion.

27.
Halen y'ch [S] i sesno[T] eneidiau,
Rhag drwg sawyr [U] mewn pechodau;
Sesnwch galon pawb sy'n pechu,
Rhag i Grist â'i droed eich sathru.

28.
Golwg dost yw gweled defaid,
Yn eu llarpio'n safnau bleiddiaid;
Tostach gwel'd eneidiau'n griddfan,
Eisiau dysg [V] yng nghrampau [W] Satan.

[M] Mat. 4. 18–22. [N] Enw arall ar Mathew. Mat. 9. 9. Marc 2. 14. [O] *Fardel*, baich. [P] Bychan. [Q] *Hinder*, rhwystro. [R] Heb. 12. 1. [S] Yn fedrus. [T] Cymmell. [U] 1 Petr 5. 2–4. [V] Anfedrus. [W] Ezec. 33. 8. [X] *Comfort*, diddanu. [Y] Neu, "Fe ddaw'n ddaionus." [Z] Sef trwy esiampl dda. [A] "Oni wnaiff."—S. Hughes. Hynny yw, oni ymddyga yr Offeiriad yn ol ei gynghor ei hun. [B] Esay 40. 11. [C] Cilio mewn ofn. [D] 1 Cor. 4. 21. [E] 2 Cor. 13. 2. [F] "Sef trwy geryddon, bygythion, ac esgymmundod."—S. Hughes. [G] Neh. 4. 17. [H] *Build*, adeiladu. [I] Y bobl. [J] 1 Petr 5. 2. [K] Na adewch [L] Ezec. 33. 6. [M] Y rhai gwasgaredig. [N] *Straggle*, crwydro. Ezec. 34. 4. [O] "Am bob pen."—S. Hughes; sef am bob dafad. [P] Heb. 13. 17. [Q] *Company*, torf. [R] Mat. 5. 14, 16. [S] Mat. 5. 13. [T] *Season*, tymheru, halltu. [U] *Savour*, arogl, neu flas. [V] Hos. 4. 6. [W] Yn nghrafangau.

29.

Tost yw gweled maes o lafur,[X]
Yn pydru eisiau help[Y] medelwyr;
Tostach gweled mil o ddynion,
Yn meirw eisiau help athrawon.

30.

Tost yw gweled plentyn bychan,
Eisiau help ar resz yn brwylian;[A]
Tostach gwel'd eneidiau bagad,[B]
Mewn tân eisiau help offeiriad.[C]

31.

Tost gwel'd mil yn myn'd i'w boddi,
Eisiau i ryw un eu cynghori;
Tostach gweled mil ysowaeth,
Aiff i uffern eisiau athrawiaeth.

32.

Y ceiliog gwynn y ffust ei adanedd,
I ddeffro ei hun cyn deffro'i wragedd;
Felly dylai'r holl offeiriaid,
Deffro'u hun cyn deffro'r defaid.

33.

Fel y dyga gwialen Aaron,
Ddail a blodau, a chnau ffrwythlon,
Pan oedd eraill o bob graddau, [au:[D]
Heb ddwyn ffrwyth, na dail na blod-

34.

Felly dylai'r gweinidogion,
Mewn rhinweddau fod yn ffrwythlon,
Pan bo eraill o bob galwad,
Yn ddi-rinwedd eu hymddygiad.

35.

Beth wnair â'r dall i arwain deilliaid?[E]
Beth wnair â mud i gyfarth bleiddiaid?[F]
Beth wnair â'r hesp, heb laeth mewn bronnau,
I fagu plant, i borthi eneidiau?

36.

Ni wnair dim â chi cysgadur,
Ni wnair dim â gweision segur,
Ni wnair dim â halen diflas,[G]
Ni wnair dim â 'Ffeiriad llanas.[H]

37.

Fe wnair 'stalwyn o hen farch tywyll,
Fe wnair tân o hen dŷ candryll,
Fe wnair peth â chrochan tyllog,
Ni wnair dim â 'Ffeiriad diog.

38.

Pwy ddyd[I] ddall i arwain deilliaid?
Pwy ddyd mud i gyfarth bleiddiaid?
Pwy ddyd ynfyd i roi cynghor?
Pwy ddyd ddwl i rannu trysor?

39.

Dodi'r dall ar ben disgwylfa,
Dodi'r dwl i ddysgu tyrfa,
Dodi'r di-ddysg wrth y llyw,[J]
Yw dodiad dyn, nid dodiad Duw.[K]

40.

Os Doctor[L] wyt, rho ddysg i'r deillion,
Os bugail da, ymg'ledda'r gweinion,[M]
Os steward[N] doeth, cyfranna'n gywir,
Os gwas i Grist, gwna arch dy Feistyr.

41.

Os ci cywir, cyfarth ladron,[O]
Os pysgottwr, dala ddynion,[P]
Os gwyliedydd,[Q] gwylia'r gelyn,
A rho 'mhryd y rhybydd iddyn'.

42.

Gwinllanydd wyt, O gweithia'n ffyddlon,
N'âd i'th winwydd fyn'd yn wylltion,[R]
Trin eu gwraidd, a'u brig, a'u bonau,
N'âd eu torri eisiau ffrwythau.[S]

43.

Lle ni hauir hâd, ni fedir,
Lle ni chanir corn ni chyffrir,
Lle ni phorthir praidd ni phrifia,[T]
Lle ni ddysgir plwyf, ni lwydda.[U]

44.

Peder, Peder, od oes cariad
Gennyd at dy Grist a'th Geidwad,
Portha, portha, portha'i ddefaid,
Mag ei ŵyn,[V] a tharfa'r bleiddiaid.

45.

N'âd ei ddefaid fyn'd ar ddidro,[W]
N'âd i'r blaidd na'r llew eu scliffio,[X]
N'âd i'r cwal[Y] a'r pwd eu mallu,[Z]
Eisiau'u trin, a'u troi, a'u maethu.

46.

O! disgleirwch yn eich graddau,
Megis ser[A] mewn noswaith olau;
Ac na fyddwch fel y lleuad,
Sydd a brychau yn ei llygad.

[X] Yd. [Y] *Help*, cymhorth. [Z] Marwor. [A] *Broil*, golosgi. [B] Llawer. [C] Diar. 29. 18. [D] Num. 17. 8. [E] Mat. 15. 14. [F] Esay 56. 10. [G] Mat. 5. 13. [H] Llanastr, diog. [I] A ddoda, a osoda. [J] I reoli yr Eglwys. [K] Dywed Mr. Stephen Hughes, yn ei Gân i'r Llyfr hwn, i'r hen Ficer, ar ba achlysur ni wyddom,

"Roddi allan, a chyhoeddi
"Hyn o bennill yn *Llanedi*."

[L] *Doctor*, athraw dysgedig. [M] Ezec. 34. 2. [N] *Steward*, goruchwyliwr. 1 Cor. 4. 1. Luc 12. 42. [O] Esay 56. 10. [P] Mat 4. 10. [Q] Ezec. 33. 7. [R] Diar. 24. 30—34. [S] Luc 13. 8, 9. [T] Ni chynhydda. [U] Mewn ystyr ysbrydol a'olygir. [V] Ioan 21. 15—17. [W] Ar gyfeiliorn. [X] Ysglyfathu, llarpio. [Y] *Quail*, magu nychdod. [Z] Pydru. [A] Dat. 1. 20

47.

Gwnewch eich clywed yn yr Eglwys,
Fel angylion yn mharadwys;
Gwnewch eich gweled yn y dyrfa,
Fel y ser pan font ddisgleiria'.

48.

Byddwch farw yn y pulpid,[B]
Yn pregethu'r 'fengyl hyfryd,
Neu'n yr Eglwys ar eich deu-lin,
Yn gweddïo dros y werin.

49.

Bydded pob offeiriad glân,
Fel piler[C] niwl a'r piler tân,
Yn cyf'rwyddo'r ffordd i'r bobol,
Fyn'd o'r Aipht i Ganaan nefol.[D]

50.

A pha gonsciens[E] gall y 'ffeiriad,
Gippio'r cnuf heb borthi'r ddafad?[F]
Bwytta'r offrwm mor ddiwybod,[G]
Ac heb waeddi'n erbyn pechod.

51.

O! ba lef ac achwyn irad,[H]
Y fydd ddydd y farn gan fagad,
Am i'r 'ffeiriad eu newynu,
A'u handwyo eisiau eu dysgu!

## CLVI.—AM RAGLUNIAETH DUW.

1.

Duw ni attal un daioni,
Oddiwrth neb a fo'n ei ofni;
Fe ry ras ac urddas iddynt,
Ni bydd ffael[A] na diffyg arnynt.[B]

2.

Bwrw d'ofal ar yr Arglwydd,
Ac fe'th bortha mewn helaethrwydd;[C]
Ni âd Duw i'r cyfiawn gwympo,
Na dwyn diffyg byth tra gantho.

3.

Mae Duw'n d'wedyd wrthyd (craffa)
Lleda'th safan minnau'i llanwa';[D]
Cymmer boen mewn galwad union,[E]
Mi fendithia'th holl orchwylion.

4.

Er bod eisiau ar y llewod,[F]
A'r rhai cryfaf o'r bwystfilod,
Ni bydd eisiau dim daioni,
Ar a drysto[G] i Dduw'r tosturi.

5.

Mae Duw'n porthi'r bobol aflan,
Mae'n rhoi maeth i'r Twrc a'r Pagan,
Mae'n rhoi ymborth i'w elynion,[H]
Oni portha Duw ei weision?

6.

Gochel chwennych gormod golud,
Ymfoddlona a'r maint sydd gennyd;
Byth ni ffaela, byth ni edy,
Duw o'r dyn fo'n ei was'naethu.[I]

7.

Ym mhob diffyg cais gan Dduw,
Rhoddwr pob daioni yw;
Gochel drysto i'th rwyd dy hun,[J]
Rhag colli'r pysgod wrth dy glun.

8.

Llawer dyn sy'n dlawd yn byw,
Eisiau ceisio cymhorth Duw;
A llawer dyn sy'n myn'd i fegian,[K]
Am drysto i'w rym a'i rwyd ei hunan.

9.

Lle mae Duw mor hael i'r werin,
Pa'm y marw cant gan newyn?
Am roi coel ar rym eu 'breichiau,
Heb geisio cymhorth Duw na'i oreu.

10.

Ni chwsg, ni hûn ein Ceidwad grasol,
Sy'n gofalu am ei bobol;[L]
Tra fo'm bawb yn cysgu'n esmwyth,
Mae'n gofalu am ei dylwyth.

11.

A ddichon gwraig anghofio'i phlentyn,
A sugno'i bronnau yn ei rwymyn?
Pes[M] anghofiai hon ei meibion,
Byth ni anghofia Duw ei weision.[N]

12.

Cyn bo eisiau arian arnad,
Os gwas'naethi Dduw yn ddifrad,[O]
Fe bair Duw i'r pysgod gario[P]
Arian iti i'th ddi-rwydo.[Q]

[B] *Pulpit*, areithfa. [C] *Pillar*, colofn. [D] Neh. 9. 19. [E] *Conscience*, cydwybod. [F] Ezec. 34. 2, 3. [G] Mor ddiystyriaeth. [H] Wylofus, tosturus.

[A] *Fail*, methiant. [B] Psalm 84. 11. [C] Psalm 55. 22. [D] Psalm 81. 10. [E] Eph. 4. 28. [F] Psalm 34. 10. [G] *Trust*, ymddiried. [H] Mat. 5. 45. [I] Heb. 13. 5. [J] Hab. 1. 16. [K] *Beg*, cardotta. [L] Psalm 121. 4. [M] Pe. [N] Esay 49. 15. [O] Yn ddi-dwyll. [P] Mat. 17. 27. [Q] I'th dynu o ddyryswch.

13.
Er na bo dy 'stor[R] ond cwtta,
Fel blawd y weddw o Serepta,
Os gwas'naethi Dduw yn ffyddlon,
Fe wna Duw fod hynny'n ddigon.[S]

14.
Gochel roi dy bwys na'th hyder,
Ar dy scil[T] dy hun a'th gryfder,
Ond ar Dduw dy helpwr unig,
Os ceisi fod yn ddyn di-ddiffyg.

15.
Mae Duw'n porthi'r adar gwylltion,
Mae'n dilladu'r lili gwynion,
Mae'n rhoi maeth i bob peth bywiol,
Oni phortha'i blant a'i bobol?

16.
Ni haua'r frân, ni feder fedi,
Nid oes na chell na 'sgubor iddi;
Etto er hyn mae Duw goruchaf,
Yn porthi'r brain bob haf, bob gauaf.

17.
Ni chrib, ni nydd, na'r rhos, na'r lili,
Ni feder un na gwae na stofi;
Etto'r Arglwydd a'u dillada,
Mewn harddach gwisg na'r brenhin gwycha'.[U]

18.
Llygad pob creadur bywiol,
Sydd yn disgwyl ar Dduw nefol,
Am roi maeth ac ymborth iddynt,
Yntau'n hael yn rhannu rhyngddynt.[V]

19.
Mae'n agoryd ei law rasol,
Ac yn porthi pob peth bywiol,
O'i ras a'i rodd, mewn pryd a mesur,
Heb adael gwall ar un creadur.

20.
Mae'n rhoi bwyd i g'nawon llewod,
Mae'n rhoi maeth i'r gwyllt fwystfilod,
Mae e'n porthi plant y gig-fran,[W]
Oni phortha'i blant ei hunan?

21.
Ni chwymp un o wallt dy ben,
Ni syrth aderyn tô ar bren,[X]
Ni ddigwydd dim, heb brudd ragweliad
Duw, 'n Creawdwr mawr a'n Ceidwad.

22.
Duw rows[Y] iti gorph a bywyd,
Anadl, einioes, cryfder, iechyd,
Deall, rheswm, cof a chyfri',
Oni ddyry fara iti?

23.
Fe werthir dau o adar tô,
Am ffyrling[Z] fechan lawer tro;
Er gwaeled ynt, mae Duw'n eu porthi,
Ti dali fwy na deg o'r rhei'ny.[A]

24.
Er bod Duw'n gofalu'n gaeth[B]
Am bob creadur ag a wnaeth,
Mae'n gofalu am ddyn a'i enaid,
Fwy nag am yr holl greaduriaid.

25.
Rhy dy ofal ar dy Dduw,
Mae'n gofalu drosot, clyw;[C]
Os gwas'naethi Grist yn gywir,
Cai dy gyflog gäntho'n siccir.

## CLVII.—AM Y PURDAN.[A]

1.
NID oes dim all olchi enaid
Dyn, ond gwaed yr Oen bendigaid,
'Rhwn sy'n golchi ffwrdd[B] bob pechod,[C]
Ac yn puro'r holl gydwybod.[D]

2.
Nid oes ffordd ond dwy i'r holl-fyd,
Ffordd i ddistryw, ffordd i fywyd;[E]
Ni ddangosodd Crist, yn un-man,
Drydedd ffordd yn myn'd i'r purdan.

3.
Nid oes hefyd ddim ond dau-le,
I blant dynion gwedi ange';
Nef ac uffern, heb le trydydd;
Nid yw'r purdan ddim ond celwydd.

4.
Nid oes ond dau sort[F] o ddynion,
Un yw'r anwir, llall yw'r ffyddlon;
Y rhai anwir a ddifethir,
A'r rhai ffyddlon oll a gedwir.[G]

[R] *Store*, trysor. [S] 1 Bren. 17. 16. [T] *Skill*, medrusrwydd. [U] Mat. 6. 26, 30. [V] Psalm 145. 15. [W] Psalm 147. 9. [X] Mat. 10. 29, 30. [Y] A roddodd. [Z] *Farthing, (fourthling)*, y bedwaredd ran o geiniog. [A] Mat. 10. 31. [B] Yn fanwl. [C] 1 Petr 5. 7.

[A] Y Purdan sydd le, yn ol haeriad y Pabyddion, yn yr hwn y cedwir eneidiau dynion wedi marw, am ryw amser, i gael eu puro trwy dân oddiwrth weddillion llygredigaeth; a dywedant hefyd y gall eu cyfeillion trwy dalu i'r Offeiriad Pabaidd am weddïo drostynt, brysuro eu gollyngdod oddi yno, a'u derbyniad i'r nefoedd. Cyfeiria yr Awdwr mewn amryw fanau at y cyfeiliornad hwn; ond gwrthwyneba ef, mewn modd mwy neillduol, yn y Gân yma. [B] Ymaith. [C] Dat. 1. 5. [D] Heb. 9. 14. [E] Mat. 7. 13, 14. [F] *Sort*, math. [G] Mat. 25. 46.

5.
Tân a ddichon boeni ddynion,
Tân all losgi daearolion;
Ni all tân, na'r holl greaduriaid,
Ond gwaed Iesu buro'r enaid.[H]

6.
Tân all buro'r aur o'i sorod,
Tan all losgi'r ûs a'r carllod;[I]
Ni all tân, na dim er hynny,
Buro'r enaid ond gwaed Iesu.

7.
Y dyn nad elo i Baradwys,
Lle mae Iesu Grist a'n prynwys,[J]
Nid oes lun[K] nad el dan drottian,[L]
I bwll uffern lle mae Satan.

8.
Y dyn nad elo, megis Lazar,
I glwyd fynwes Abraham hygar,
Nid oes lun nad el i'r ffwrnes,
Lle mae'r diawl yn poeni Difes,[M]

9.
Nid yw'r purdan yn y nefoedd,
Yn y ddaear, yn y moroedd,
Nac yn uffern; ble, gan hynny,
Y mae purdan yn gartrefu?

10.
Rhai a dd'wedant fod y purdan
Yn y môr sy'n fawr ei dwrddan,
Rhai'n y ddaear, rhai yn Etna;[N]
Ni wn p'un o'r rhai'n a greda'.

11.
Rhai a dd'wedant mai angylion,
Rhai mai hen gythreuliaid duon,
Sy'n tormento'r[O] sawl sy'm mhurdan;
Rhai ni wyddant beth a dd'wedan'.

12.
Rhai sy'n tybied mae tân ffyrnig,
Rhai mai tân a dw'r berwedig,
Sy'n poenydio'r sawl sy'm mhurdan;
'Does fawr gydfod[P] ar eu llafan.[Q]

13.
Rhai sy'n tybied mai pechodau
Crynion, bychain, hawdd eu maddau,
Y sy'n cospi yn y purdan;
Rhai mai beiau marwol anian.

14.
Rhai dormentir yn y purdan,
Hyd ddydd barn, os gwir a dd'wedan';
Rhai dros filoedd o flynyddau,
Rhai nes offrwm dros 'u heneidiau.

15.
Fe all 'ffeiriad, ond cael offrwm,
Fe all Esgob, os rhy bardwn,[R]
Fe all Pab, os gwir a dd'wedan',
Dynnu fynno maes o'r purdan.

16.
Fe gaiff carl,[S] am ddryll o arian,
Ei ryddhau o boenau purdan;
Ond y tlawd, sy heb geiniog gantho,
Fe gaiff ynddi hir boenydio.

17.
Os yw purdan yn ein puro,
Oddiwrth bechod gwedi'n 'nurddo,[T]
I ba ddyben yr offrymodd
Crist ei werthfawr waed a'n prynodd?

18.
Os y purdan sy'n ein golchi,
O'n pechodau oll a'n brynti,
Pa'm y dywed y 'Sgrythyrau,
Mai gwaed Crist sy'n golchi ein beiau?[U]

19.
Ofer oedd i Fab Duw cyfion
Golli gwerthfawr waed ei galon,
I'n glanhau oddiwrth ein brynti,
Os y purdan sy'n ein golchi.

20.
O ca'i waed fy Nghrist i'm golchi,
O'm holl bechod a'm holl frynti,
Cloed y Pab fi 'nghanol Purdan,
Ni bydd arna'i byth mo'i ofan.

21.
Dannedd gwaedlyd y Pabyddion,
Sydd yn gollwng gwaed Crist'nogion,
Sydd yn dangos nad gwir ddefaid
Crist yw rhai'n, ond rheibus fleiddiaid.[V]

## CLVIII.—AM BARHAD MEWN YSTAD[A] O RAS.

1.
HOLLALLUOG ydyw Duw;
Da, a dianwadal yw;
Fe ddwg i ben yr hyn arfaethodd,
Ni chyll ef un o'r rhai ddewisodd.

2.
Nid yw bossib' golli un,
O'r rhai ddewisodd Duw ei hun;
Ni all y byd, na'r diawl, na'r cythraul,
Dynnu un o ddwylo'r Bugail.[B]

[H] Act. 4. 12. Mat. 1. 21. [I] Callod, cibau. [J] A'n prynodd. [K] Modd. [L] *Trot*, rhedeg. [M] *Dives*, (Lladin), gŵr goludog Luc 26. 22, 23. [N] Etna sydd fynydd mawr yn Ynys Sicily, ym Môr y Canoldir, o'r hwn yr ymarllwysa tân dychrynllyd ar amserau. [O] *Torment*, poeni, arteithio. [P] Cysondeb. [Q] "Swmp o gelwydd."—S. Hughes. [R] *Pardon*, maddeuant. [S] Cybydd ariannog. [T] Halogi. [U] 1 Ioan 1. 7. [V] Ioan 10. 12.

[A] *State*, cyflwr. [B] Ioan 10. 28.

3.
Duw sydd ffyddlon 'r hwn a'n golchodd
Fe gyflawna'r hyn arfaethodd ;[C]
Fe geidw'n lân y corph a'r yspryd,
Nes del Crist i'w dwyn i'r bywyd.

4.
Fe 'sgrifenodd Duw, cyn cynfyd,[D]
Enwau ei saint, yn rhol[E] y bywyd[F]
Ni all holl gyfrwystra Satan,
Grafu un o'u henwau allan.

5.
Y rhai ddetholodd Duw cyn byd,
Rhei'ny eilw Duw'n ei bryd,
Rhei'ny oll a wir sancteiddia,
Ac yn y nef fe'u gogonedda.[G]

6.
Duw, medd Paul, a wir osododd
Sicr sail i'r rhai ddewisodd ;
Fe ŵyr pwy yw'r rhai etholodd.[H]
Ni chyll ef un o'r rhai ddewisodd.

7.
O braidd bychan, paid âg ofni,
Yr hael Dduw roes deyrnas iti,[I]
Er mwyn Crist, er cyn dechreuad ;[J]
Ni all neb ei dwyn oddi arnad.

8.
Duw addawodd roddi ei ofan,
Yng ngalon pawb o'i ddewis gorlan,
Ac na chant hwy lwyr ymado,
Na throi byth yn gwitt[K] oddiwrtho.[L]

9.
Mae'n Tad nefol wedi seli[M]
Rhai etholodd yng Nghrist Iesu,
A rhoi'r Yspryd Glân yn ernest,[N]
I bob un, i'w cadw'n onest.[O]

10.
Mae Mab Duw yn rhoi dan warant,[P]
Drag'wyddol fywyd i'r rhai gredant,
Byth ni chollir un o honynt,[Q]
Y mae Crist a'i Yspryd ganthynt.[R]

11.
Mae Duw'n cadw trwy fawr allu,
Ei blant ei hun rhag ffiaidd bechu,
A thrwy ffydd yn rhoi yn helaeth
Nef i'r rhai'n, ac iachawdwriaeth.[S]

12.
Duw y geidw ei blant rhag cwympo,
Duw a'u cynnal rhag tramgwyddo ;
Duw a'u ceidw yn ddi-feius,[T]
Hyd ddydd barn yn dra gofalus[U]

13.
Nid cadwedig ydyw Iaco,[V]
Am na newid byth o hono;
Ond cadwedig er hyn yw,
Am na newid byth ei Dduw.[W]

14.
Nid yw sicrwydd iechyd[X] dyn,
Yn sefyll ar ei law ei hun,
Ond ar bromais[Y] Duw a'i ammod,
Yn ei Fab am faddeu pechod.[Z]

15.
Er i Beder wadu ei Feistir,[A]
Er i Dafydd gwympo'n fudyr,[B]
Yspryd Duw a wnaeth i'r ddau-ddyn
'Difarhau, a gwella gwedi'n.

16.
Er bod meibion Duw yn cwympo,
Ac yn pechu wrth eu temtio :[C]
Ni chwymp un o'r rhai'n mor ddiffaith,
Ag nas gallont godi eilwaith.[D]

17.
Er i dafod Peder wadu
Crist, rhag ofn ei garcharu,
'Roedd ei galon etto'n sicir,
Yn gwir lynu wrth ei Feistir.

18.
Er i'r saint dramgwyddo weithiau,
Ac anghofio Duw ar brydiau;
Ni all un er hyn dramgwyddo,
Fel nas gallant ail recyfro.[E]

19.
Os pecha un o'r detholedig,
Mae Yspryd Duw'n ei gyffro'n darrig,[F]
I 'difarhau trwy dduwiol dristwch;
Nes gwella'r bai ni chaiff lonyddwch.[G]

20.
Os dewisodd Duw di unwaith,
Byth ni wrthyd Duw di'r eilwaith;
Can's ni newid Duw mo'i gariad,[H]
A garo dro, fe'i câr yn wastad.[I]

C Thes. 5. 24. D Cynfyd y gelwir y byd cyn y diluw. Petr 3. 6. E *Roll*, plyglyfr, cofres. F Dat. 20. 12. G Rhuf. 8. 30. H 2 Tim. 2. 19. I Luc 12. 32. J Mat. 25. 34. K *Quite*, yn gwbl, yn hollol. L Jer. 32. 40. M *Seal*, cadarnhau, selio. N *Earnest*, gwystl. O 2 Cor. 1. 21, 22. P Sicrwydd. Q Ioan 10. 38. R 1 Ioan 5. 12. S 1 Petr 1. 4, 5. T Judas 24. U Phil. 1. 6. V Jacob. W Mal. 3. 6. X Iachawdwriaeth. Y *Promise*, addewid. Z Heb. 10. 16–24. A Mat. 26. 75. B Ps lm 51. C *Tempt*, hudo i ddrwg. D Psalm 37. 24. E *Recover*, cyfodi drachefn. F Yn daer, yn gyf. G 2 Sam. 24. 10. H Iago 1. 7. I Ioan 13. 1.

## CLIX.—FE DDYLAI GWRAIG FAGU EI PHLENTYN,[A] A'I LLAETH EI HUNAN.

1.
Mag dy blant â llaeth dy fronnau,
Na fydd waeth na'r ddraig i'r dreigiau;
Pob anifail, a phob bwystfil,
'Berchen llaeth, a fag ei eppil.

2.
Fe wnaeth Duw dy fronnau i fagu,
Fel y gwnaeth e'r groth i blannu;
Nid gwell y fron na roddo sugyn,
Na chroth yr hesp na ddygo blentyn.

3.
Rhodd Duw laeth i'th fron trwy fendith,
Na chadw hwn i droi yn felldith;
Sara, 'n ddeg a phedwar ugain,
Fagodd Isaac yn dra llawen.[C]

4.
O' par'todd Duw laeth i'r bronnau,
I fagu plant â llaeth eu mammau,
Tost it' ddwyn oddiar dy blentyn,
Y peth a rodd naturiaeth iddyn'.

## CLX.—CYNGHOR I WRAIG BEIDIO TRISTAU GORMOD AR OL MARWOLAETH PLENTYN.

1.
Martha,[A] Martha paid âg wylo,
Cymmer gysur, gâd d'och'neidio,
Am dy blentyn bach a gym'rwys[B]
Duw mor gynnar i Baradwys.

2.
F' anwyl chwaer, na thorr dy galon,
Yn wylo'n ol dy blentyn tirion,
Aeth gan Dduw o boen a blinder,
I'r nef at Grist i gael esmwythder.

3.
Cennad Duw a ddaeth i'w geisio,
O blith y drwg lle'r oedd e'n tario,[C]
I fyn'd âg ef i'r nefoedd oleu,
At y saint i ganu hymnau.

4.
Yr angylion gynt a gyrchwys
I go'l Abram enaid Lazrws,[D]
Aeth i'r nefoedd yn eu breichiau
Ag enaid bach dy blentyn dithau.

5.
Duw a'i cippiodd ar frys atto,
Cyn i bechod[E] caeth ei 'nurddo,[F]
Na chyfeillach ddrwg ei lygru,
Na'r maleisiwr du ei ddrygu.

6.
'N awr ni ddichon un gwrth'nebwr,
Nac ofer-ddyn, na maleisiwr,
Wneuthur speit[G] na niwed iddo;
Gyda Christ y mae e'n tario.

7.
Mae e'n gorphwys mewn esmwythder,
Oddiwrth bob rhyw boen a blinder,
Mae ef gyda'r Oen a'i gwmpni,[H]
Yn clodfori Tad goleuni.

8.
Cymmer gysur, cwyn[I] dy galon,
Goruwch bob rhyw ddaearolion;
O gweli'r man lle mae dy blentyn,
Gyda Crist, ni wyli ddefnyn.

9.
Gwel lle mae yr hwn a'i prynodd,
Gwedi'i dderbyn atto i'r nefoedd,
I blith miloedd o wyryfon,[J]
Sydd a'u cyrph a'u llestri'n loywon.

10.
Gwel y wisg o liain[K] purwyn,
Y rodd Crist am dan dy blentyn,
Sy'n disgleirio fel yr haulwen,
Yn y nef ynghylch dy fachgen.[L]

11.
Gwel y goron o aur melyn,
Y ddododd Crist ar ben dy blentyn,[M]
Gwel orfoledd plant goleuni,
Wrth ei urddo a'i goroni.

12.
Gwel y cor[N] lle mae e'n gorphwys,
Gydâ angylion ym mharadwys:
Gwel y gadair lle mae'n eiste',
Gyda'r saint yn canu hymnau.

[A] Hynny yw, os na fydd hi yn wan ac aflach. [B] Hos. 9. 14. [C] Gen. 21. 7. Heb. 11. 11.

[A] Tebygol i'r Ficer ddefnyddio yr enw Martha yn y lle hwn o herwydd ymddengys fod Martha, chwaer Lazarus o Bethania, o dymher barod i ofidio, gan y dywedir ei bod yn ofalus a thrafferthus ynghylch llawer o bethau. Luc 10. 41. [B] A gymmerodd. [C] *Tarry*, trigo, aros. [D] Lazarus y cardotyn. Luc 16. 22. [E] Pechod gweithredol a olygir. [F] Halogi. [G] *Spite*, dirmyg, gofid. [H] *Company*, cymdeithion. [I] Cyfod. [J] Dat. 14. 4. [K] "Syndon" (lliain main.)—S. Hughes. [L] Dat. 7. 13. [M] Tim. 2. 4, 8. [N] *Choir*, mintai o gantorion.

13.

Gwel y delyn auraidd hefyd,
Sy'n ei law yn canu'n hyfryd,[O]
I'r Tad nefawl 'r hwn a'i crewys.[P]
A'r Oen sanctaidd 'r hwn a'i prynwys.

14.

Gwrando'r caniad mwyn, Hosanna,
Sanct, Sanct, Sanct, ac Haleluja,[Q]
Mae e'n ganu i Dduw'r lluoedd,
Yn y man yr aeth i'r nefoedd.

15.

Gwel y ffrwythau per a'r Manna,[R]
Mae dy blentyn yn ei fwytta,
Gyda'r saint ar ford[S] yr Oen,
Yn ddi-brinder, yn ddi-boen.

16.

Gwel y ffynnon wen fendiged,
A'r dw'r bywiol lle mae'n yfed;[T]
O'r hwn gwedi profi un-waith,
Ni ddaw byth ddim syched eilchwaith.[U]

17.

Gwel y dref lle mae e'n trigo,
Ag aur melyn gwedi'i phafio,[V]
A'i holl welydd [W] o gylch gwmpas,
O fain gwerthfawr, Beryl, Topaz.[X]

18.

Gwel pwy ydyw ei gyfeillion,
Sef y saint a'r holl angylion,
At ba rai ni ddichon drwg-ddyn,
Gwnaed a allo, ddwad attyn'.[Y]

19.

Gwel pa waith y mae e'n wneuthur,
Cadw'r Sabboth mawr yn ddifyr,
Gyda'r saint, heb ddim i'w arfer,
Ond clodfori Duw bob amser.[Z]

20.

Gwel nad oes na phoen, na thristwch,
Nychdod, newyn, na thywyllwch,[A]
Ond dedwyddwch byth tra gantho,[B]
Lle mae'th fab yn awr yn trigo.

21.

Pa'm gan hynny, fy chwaer dirion,
Y galari mor hiraethlon,
Am dy blentyn a gyrhaeddodd
Duw, o drallod atto i'r nefoedd?

22.

Pa'm yr wyli wel'd dy Brynwr
Yn ei dynnu o gyfyngdwr,
I esmythder a dedwyddwch,
O blith dynion er eu garrwch?[C]

23.

Pa'm yr wyli wel'd Duw cyfion
Yn ei alw i geisio coron,
A gogoniant mawr di-derfyn,
Er nad oedd ef etto ond plentyn?[D]

24.

Duw sy'n tynnu atto'n gynnar
Ei rai anwyl, cu a hygar,
Rhag cael gweled dim o'r drygfyd,
Y ddaw'n immwngc[E] ar yr ynfyd[F]

25.

Y mae Duw yn tynnu'n fuan,
Ei rai anwyl atto ei hunan,
Rhag i'r anwir eu gormeilio,[G]
A'r drygionus eu gw'radwyddo.

26.

Lladdwyd Abel er gwirioned,
Gwerthwyd Joseph er di-ddrycced,
Taflwyd Daniel at y llewod,
Trwblwyd[H] Dafydd â mawr drallod.

27.

Meibion Job i gyd a lethwyd,
Holl blant Rachel hwythau laddwyd,
Crogwyd Absalom wrth ei locsen,[I]
Na wyr dyn beth yw'i dynghedfen.[J]

28.

Un a gwymp ar flaen y cleddeu,
Llall a grogir am ei feiau,
Arall a fawdd[K] pan f'o feddw,
Wylo ddylit wel'd diwedd hwnnw.

29.

Tost gwel'd lladd mab gwraig â bilwg,[L]
Tost gwel'd torri ei ben a'i wddwg,
Neu lwyr nychu yn y carchar;
Nid tost marw o angeu hygar.[M]

30.

Pa'm yr wyla gwraig, gan hynny,
Wel'd yr Arglwydd gwynn yn tynnu
Ei blant anwyl atto'n gynnar,
Trwy ryw glefyd hyfryd, hygar?

O Dat. 14. 2. P A'i creodd. Q Esay 6. 3. Dat. 19. 1, 4, 6. R Dat. 2. 17. S *Board*, bwrdd. T Dat. 22. 1. U Ioan 4. 14. V *Pave*, llorio, palmentu. W *Walls*, muriau. X Dat. 21. 19, 20. Y Mat. 6. 20. Z Dat. 4. 8—11. A Dat. 21. 4. B Dros byth. C Gwg. D Marc 10. 14. E Disymmwth. F Esay 57. 1. G Gormesu, gorthrymu. H *Troubled*, trallodi, gofidio. I *Lock*, cudyn o wallt. J Damwain, y peth a ddigwydd i un. K A fodda. L *Bill-hook*, offeryn cam miniog. M Naturiol, esmwyth.

31.
O rhown ddiolch i'r Uchel-dad,
Am y cyfryw lân ymweliad,
Ac na wylwn dros ben mesur,[N]
Ond sydd raid i gynwys natur.

32.
Ond rhown ddiolch i'n Tad sanctaidd,
Pan y tynno mor garuaidd,
Ei rai anwyl o'u mawr flinder,
Atto'i hun, i gael esmythder.

33.
Duw ro[O] gynffwrdd[P] a diddanwch,
It', fy chwaer, i laesu'th dristwch;
Duw'th gysuro am dy blentyn;
Duw ro i minnau decced terfyn.

## CLXI.—RHYBUDD I OCHELYD GORTHRYMU NEB, AC I RODDI YN OL YR HYN A DREISIWYD.

1.
ENNILL can-punt, colli'r credyd,[A]
Ennill bawach, colli bywyd,
Ennill cyfoeth, colli Crist,
Ennill trwm; ond colled drist.[B]

2.
Gwell ceiniog fach trwy ffordd ddigamwedd,
Na'r chweugain[C] aur trwy drais a ffalstedd;
Y naill a lwydda ffordd y cerddech,
A'r llall a fwytta faint y feddech.

3.
Gwell cae o dir trwy union bryniad,
Na gwlad o dir trwy treisio bagad;[D]
Trais hel[E] d'enaid i boenydio,
A'th wraig yn dlawd, a'th blant ar ddi-dro.[F]

4.
Cyttuna ar frys â'r rhai orthrymmaist,
Rho'n ol fel Zache[G] faint y dreisiaist;
Na ddos, medd Crist, i'r carchar cyfyng,
Rhaid talu'r trais hyd at y ffyrling.[H]

5.
Na wna gam âg unrhyw ddyn,
Gwell goddef deg na gwneuthur un;
Os cam a wnai, rhaid atteb drosto,[I]
Ond goddef gam, cai iawn am dano.

6.
Beth wnai â'r geiniog drist a dreisiech.
Fe fwytty hon y faint a feddech;
Ni fynn Duw na'i dŷ mo honi,[J]
Yn ffroenau Crist y mae'r fath yn drewi

7.
Os prynu tir, hi bair ei werthu:
Os adail tai, hi'u try yn lludy;[K]
Os rhoi i'th blant, hi'u gyrr ar anffod;[L]
Os rhoi'r tlawd, mae Duw'n ei gwrthod.

8.
Rho'r geiniog drais i'w hunion berchen,
Cyn tynno hi i'th dŷ ryw farn aflawen;[M]
Ni lwydda hon ym mhlith dy weiniaid,
Mwy na'r arch ym mysg estroniaid.

## CLXII.—GWAHODDIAD I BECHADURIAID DDYFOD I DDERBYN Y PETHAU DA A GYNNYGIR YN YR EFENGYL.

1.
DE'WCH fon'ddigion, de'wch gyffredin,
De'wch i swpper Mab y brenhin,
De'wch, a nedwch[B] ddim i'ch rhwystro,
De'wch mae Duw'n eich gwa'wdd chwi atto.

2.
Mae'n y swpper sir[C] o'r goreu,
Bwyd i lonni eich eneidiau,
Mel, a Manna, Bara'r bywyd,
Gwin gorfoledd, doniau'r Yspryd.[D]

[N] 1 Thess. 4. 13. [O] A roddo. [P] *Comfort*, cysur.

[A] *Credit*, parch. [B] Mat. 16. 26. [C] Chwech ugain ceiniog, deg swllt. [D] Amryw, llawer. [E] A yrra. [F] Ar grwydr. [G] Zacheus y pen publican. Luc 19. 8. [H] Mat. 5. 25. [I] 1 Thes. 4. 6. [J] Esay 61. 8. [K] Lludw. [L] Hi a bair iddynt aflwyddo. [M] Amos 5. 11.

[A] Cymmerwyd llawer o ddefnydd y Gân hon o ddammeg y swpper mawr. Mat. 22. 2—14. Luc 14. 16—24. [B] Na adewch. [C] *Cheer*, arlyw, i roesawi gwahoddedigion. [D] Esay 55. 1—3.

3.

Chwi gewch ynddi un Mab Duw,
Yr Oen yn farw, ac yn fyw,[E]
Gwedi'i ladd, a chwedi'i rostio,[F]
A chwedi codi o'r bedd i'ch sirio.[G]

4.

Cewch ei werthfawr waed i'ch golchi,
Cewch ei sanctaidd gnawd i'ch porthi,[H]
Cewch ei wlan[I] yn drwsiad i chwi,
A'i fywyd gwynn i'ch adgyfodi.

5.

Chwi gewch heddwch Duw, y Drindod,
Chwi gewch bardwn[J] am bob pechod,
Chwi gewch Yspryd y diddanwch,
Chwi gewch Crist a phob dedwyddwch.

6.

De'wch yn llawen, de'wch yn siriol,
De'wch heb aros i'r wledd nefol,
De'wch yn gyfrdo[K] i briodi
Crist sy'n cynnyg ei hun ini.

7.

Naded neb i ddim ei stayo,[L]
Na'r byd, na'r cnawd, na'r fall[M] ei [rwystro,
Na'r fferem[N] fawr, na'r pum' iau ychen,
Na'r wraig newydd, na dim amgen.

8.

Onid ewch chwi yn hy, yn hoyw,
I'r briodas wrth eich galw,
Gŵr y tŷ sy'n tyngu'n 'sgeler,[O]
Nas cewch brofi byth o'i swpper.

9.

Dew'ch gan hynny iddi'n addas,
Yng ngwisg sanctaidd y briodas;
Na dde'wch iddi byth heb honno,
Rhag cael rhwym i'ch traed a'ch dwylo.

10.

Gwyn a choch yw'r wisg o ras,
Gwyn tu fewn, a choch tu fa's;
Gwyn yn gofyn buchedd sanctaidd,
Coch yn dangos ffydd Crist'nogaidd.

11.

Trwsied pob rhai eu heneidiau,
Mewn hardd wisgoedd o rinweddau,
A fo gweddus a chyfaddas,
I sirioli'r gwir Fessias.

12.

Os de'wch i'r wledd i'ch priodi,
Mewn 'difeirwch, ffydd, a gweddi,
Chwi gewch gan Grist fod yn wastod
I chwi'n Geidwad ac yn Briod.[P]

## CXLIII.—Psalm c.

1.

De'wch, holl dylwythau'r ddaear,
De'wch bawb â llawen lafar,
Cenwch glod â chalon rwydd,
I Dduw ein Harglwydd hawddgar.

2.

De'wch fawr a bach drachefen,
De'wch bawb sy'n troedio'r ddae'ren,
De'wch, addolwch Dduw yn llon,
Bob rhai â chalon lawen.

3.

Gwybyddwch hyn yn siccir,
Mai'r Arglwydd grasol geirwir,
Y sydd Frenhin nef a llawr,
Ac Emprwr mawr[A] yr holl dir.

4.

Gwybyddwch nad chwi'ch hunain
A'ch gwnaeth o'r pridd mor gywrain;
Ei waith ef y'ch,[B] o'r llwch a'r llaid,
Ei blant a'i ddefaid bychain.

5.

O de'wch i'w byrth gan hynny,
Dan ddiolch a than ganu,
Fach a mawr, ar fore a hwyr,
Yn brudd[C] i'w lwyr foliannu.

6.

O de'wch i'w deml sanctaidd,
Yn drefnus ac yn g'ruaidd,[D]
I glodfori enw Duw,
Can's hyfryd yw a gweddaidd.

7.

Daionus a thosturiol
Yw'r Arglwydd wrth ei bobol,
O oes i oes y pery'i Air,
Dros fyth fe gair yn rasol.

[E] Dat. 1. 18. [F] *Roast*, pobi. Dywedir hyn gyda golwg ar fod Crist wedi dioddef poethder digofaint Duw. [G] *Cheer*, llonni, cysuro. [H] Wrth gnawd a gwaed Crist, golygir ei ufudd-dod i'r ddeddf yn ei fywyd, a'r Iawn a roddes wrth farw. [I] Ei gyfiawnder. [J] *Pardon*, maddeuant. [K] Yn gryno, yn llwyr. [L] *Stay*, attal. [M] Y diafol. [N] *Farm*, tyddyn. [O] Yn ddigllon. [P] Hos. 2. 19.

[A] *Emperor*, ymerawdwr, pennaeth mawr, a brenhinoedd a thywysogion o dano. [B] Ydych. [C] Yn ddifrifol, yn ystyriol. [D] Yn llawn cariad.

## CXLIV.—Croesawiad Charles, Tywysog Cymru,

ADREF O'R YSPAEN.[A]

1.

Y Muwsys[B] oll o Helicon,[C]
Y Grasys[D] tair, a'r Nymphs[E] o'u bron,
Cym'rwch bawb eich offer canu,
I resso[F] o Spaen[G] Dywysog Cymru.

2.

Apollo,[H] dod dy gôr[I] yn gynghan,
Pâr i'r Nymphs a'r Grasys ddawnsian,[J]
Tra fo'r Muwsys oll yn canu,
Welcwm home[K] i Brins[L] y Cymry.

3.

Dyro i'r Grasys wisgoedd gwynion,
Pletha'u gwallt â'r lawrydd[M] gwyrddion,
Trwsia'r Nymphs â'u tlysau o ddeu-tu,
Fyn'd i resso Prins y Cymry.

4.

Rho i'r Muwsys offer auraid,
Goreu yn Nelos[N] dan law'r ceidwaid,
Fel y gallont gywraint ganu,
Gresso o Spaen i Brins y Cymry.

5.

Gosod bob un yn eu graddau,
Gochel adael dim yn eisiau,
Ag a allo lawenychu,
Clust a llygad Prins y Cymry.

6.

Gwedi'n, Phœbus,[O] taro'r delyn,
Hoff gan ferched Jove[P] dy ganlyn;
A'r tair chwaer[Q] y fydd yn gwenu,
Dawnsio welcwm Prins y Cymry.

[A] Yn y flwyddyn 1623, acth Charles, Tywysog Cymru, wedi hynny Charles I. Brenhin Lloegr, drosodd i'r Yspaen, mewn bwriad i briodi merch Philip III., diweddar Frenhin y wlad honno, a chwaer i Philip IV., yr hwn a deyrnasai yno y pryd hwnnw; ond ni chymmerodd y briodas honno byth le. Arosodd y Tywysog yn yr Yspaen dros amryw fisoedd; ac ofnai trigolion y wlad hon yn fawr y byddai i'r Pabyddion Yspaenaidd, drwy ryw ddichell, ei gadw yno yn garcharor dros ei oes. Eithr, wedi hir ddychrynu, a meddwl y gwaethaf, dychwelodd y Tywysog adref yn ddiogel, er mawr orfoledd i'r Prydeiniaid; ac ar yr achlysur hwn o lawenydd cyffredinol, cyfansoddodd y Ficer y Gân hon.

Y mae Mr. Stephen Hughes, er yr holl barch oedd ganddo i'r Awdwr bendigedig, fel y geilw efe ef yn aml, wedi cymmeryd ei dramgwyddo i raddau wrth y dull a gymmerodd efe yma i ddangos ei wladgarwch a'i ymlyniad wrth y Tywysog, ac yn ewyno yn brudd oblegid ei fod yn galw cymmaint ar "y gau a'r ffalst dduwiau" ar yr achos, ac yntau yn ddigon diysgog yn ei gred yn yr unig wir Dduw. Dywed Rhys Tomos hefyd fod llawer o'r ynfydion yn ei amser ef yn haeru bod yr Awdwr yn eilun-addolwr, o herwydd ei fod yn galw ar y ser a'r planedau i gynnorthwyo y Tywysog adref; ac y mae efe, wrth geisio amddiffyn y Ficer, yn dangos crediniaeth led bell mewn ser-ddewiniacth, er na ellir casglu, oddiwrth y Gân hon, fod dim o'r fath beth yn meddwl yr Awdwr parchedig. Ni wnaeth efe, ar yr achlysur hwn o orfoledd gwladol, ond dilyn esiampl dysgedigion yr oesoedd, trwy ddangos ei gydnabyddiacth â chynfeirdd clodfawr y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, a dynwared eu dull o gyfansoddi eu cerddi. Gan nad beth a feddyliai y werin baganaidd yn yr hen oesoedd am eu lluaws dduwiau, eglur yw nad oedd y prif Philosophyddion a dysgedigion Groegaidd a Rhufeinaidd yn talu nemawr o barch gwirioneddol iddynt; ond eu bod, trwy rym rheswm ac ymchwil, yn canfod afresymoldeb hanfodiad lluosogrwydd o fân dduwiau, er eu bod yn fyr o ddadguddiad yn egluro priodoliaethau yr unig wir a'r bywiol Dduw; er hynny, wrth ymbalfalu, cawsant allan wirioneddau pwysig mewn perthynas iddo, er ei fod yn "Dduw nad adwaenid" ganddynt hwy. Gyda golwg ar y duwiau paganaidd, nis gall Cristion edrych ar eu henwau, ond megis yn dynodi elfennau, bydoedd, cynneddfau; neu amgylchiadau am yr hyn oll a briodolid iddynt gan yr hynafiaid, gellir dywedyd gyda'r Parch. Goronwy Owen,

"Breuddwydion y Beirdd ydynt,"

er y cymmerir sylw o rai o'r pethau hynny yn ystod y Gân, er gwneuthur ei hystyr a'i hamcan yn fwy dealladwy i'r darllenydd uniaith.

[B] *Muses*, duwiesau cerdd, y rhai oeddynt naw mewn nifer; am y rhai y dywed Goronwy Owen,

"Bu gan Homer gerddber gynt
"Awenyddau, naw oeddynt."

[C] Mynydd yn ngwlad Groeg; yr hwn, ynghyd â'r ffynnon Hippocrene gerllaw iddo, oeddynt gyssegredig i'r Awenau, yn gystal a mynyddoedd a ffynhonnau eraill yn y wlad honno. Wrth sôn am hynodion gwlad Groeg, crybwylla y Parch. Daniel Ddu am

"Helicon a'i ffynnon ffaeth,
"Dra hoywfwyn, a'i dw'r hyfaeth,—
"A mynydd Awenyddion,
"Parnassus, lliwus a llon."

[D] *Graces*, duwiesau cyfeillach a chymmwynasgarwch, y rhai oeddynt dair, ac a ystyrid yn gymdeithesau i'r naw Awen. [E] *Nymphs*, duwiesau moroedd a bryniau, coedydd a ffynhonnau, y rhai oeddynt yn dra lliosog, ac a ystyrid yn deilwng o barch gan yr hynafiaid, er na chyfrifid hwynt ond megis ail-dduwiesau. [F] Groesaw. [G] *Spain*, Yr Yspaen, gwlad tu hwnt i Ffraingc. [H] *Apollo* a ystyrid yn dduw y gwybodau a'r celfyddydau, yn neillduol cerddoriaeth a phrydyddiaeth. [I] *Choir*, mintai o gantorion. [J] *Dance*, llammu o orfoledd. [K] *Welcome home*, groesaw adref. [L] *Prince*, tywysog. [M] *Laurel*, llawrwydd, pren cyssegredig i'r Awenau. [N] *Delos* sydd ynys yn y Môr Ægeaidd, lle y ganwyd Apollo, ac yr addolid ef gyda'r parch mwyaf. [O] Enw arall ar Apollo. [P] *Jove*, Iau: dull arall o enwi Jupiter; merched Jupiter y cyfrifid y naw Awen. [Q] Y *Graces*.

7.
Troed[R] Melpomen[S] drist ei hoer-nad,
Caned Clio[T] lawen ganiad;
Gaded pawb i Thalia[U] flaenu,
Auraid[V] fers[W] i Brins y Cymry.[X]

8.
Mercur[Y] dithau, dos i hedfan,
Gwysia'r duwiau fawr a bychan,
A'r duwiesau bawb 'ymdacclu,[Z]
Fyn'd i resso Prins y Cymry.

9.
Deued Jove a'i holl oreu-wyr;
Mars[A] mewn rhangt[B] a'i holl ryfelwyr,
Phœb[C] a'i 'ffeiriaid oll dan ganu,
Gresso o Spain i Brins y Cymry.

10.
Deued Juno[D] ar goach[E] o baunod,
Vesta[F] ar gerbyd o g'lommenod,
Venus[G] ar elerchod coes-ddu,
I roi gresso i Brins y Cymry.

11.
Rhodded Venus iddo degwch,
Juno gyfoeth, Palas[H] heddwch,
Ceres[I] lafur gwedi addfedu,
I bresentio[J] Prins y Cymry.

12.
Sôn[K] adeniog heda dithau,
Dros y moroedd a'r mynyddau,
Cân â'th gorn, i'r byd o bobtu,
Saff return[L] i Brins y Cymry.

13.
Pâr i bawb, a'u dillad goreu,
Ddyfod i'w ressawi adre';
Ac yn ddyfal i foliannu
Duw, am gadw Prins y Cymry.

14.
Neptun[M] donnog a'i ddolphiniaid,[N]
Thetis[O] drwst-fawr a'i Sireniaid,[P]
Y roes[Q] siars[R] i Driton[S] ganu
Gosteg fôr i Brins y Cymry.

15.
Æolus[T] chwyrn-wyllt yntau ostegodd
Dwrf a chynhwrf yr holl wynto'dd,
Ac a wnaeth i Zephyr[U] chwythu
'R hwyl, wrth fodd Tywysog Cymry.

16.
Phœbus[V] hardd o'r nef a chwarddodd,
Wel'd y llongau ar y moro'dd
Ac a wnaeth i'r haul-wen wênu,
Tra fu'r dydd ar Brins y Cymry.

17.
Cynthia[W] hithau ni bu segur,
Na'i morwynion[X] ar yr awyr,
I oleuo'r byd o bob-tu,
Tra bu'r nos i Brins y Cymry.

18.
Castor, Pollux, ac Urania,[Y]
Pôl[Z] y gogledd, ac Aurora,[A]
A'r holl sêr oedd yn ymdynnu,[B]
Ledo'r[C] ffordd i Brins y Cymry.

19.
Haul, a lleuad, sêr y nefoedd,
Gwynt a gwlaw, a thir a moroedd,
Nef a daear sy'n datganu
Ffafar[D] Duw i Brins y Cymry.

20.
Pan y daeth i olwg Lloeger,
F' aeth y duwiau[E] i strifio'n[F] 'sgeler,
Pwy gai gyntaf, dan ymdynnu,
Ddwyn i dir Dywysog Cymru?

21.
Mercur,[G] am fod drosto'n lladmer,[H]
Jove,[I] am roddi iddo bŵer,[J]
Venus,[K] am ei fyn'd i garu,
Fynnai'r dydd gan Brins y Cymry.

22.
Saturn[L] frig-lwyd, tad y duwiau,
Wrth ei oedran yntau mynnai;
Ond y Sul,[M] 'r hwn oedd e'n barchu,
Ga's y dydd gan Brins y Cymry.

[R] Newidied. [S] *Melpomene*, duwies pruddgerddi, awen y marwnadau. [T] Duwies hanesyddiaeth, awen y cerddi arwrawl. [U] Awen y digrif gerddi, duwies y gwylmabsantau. [V] Ardderchog. [W] *Verse*, cerdd, cân. [X] "Dawnsio welcwm Prins y Cymry," mewn ysgrif arall. [Y] *Mercurius*, Mercher, cennadwr y duwiau. [Z] Ymbarottoi. [A] Mawrth, duw rhyfel. [B] *Rank*, Rhestr. [C] Phœbus. neu Apollo. [D] Gwraig Jupiter, brenhines y nef a'r ddaear. [E] *Coach*, cerbyd. Cyfeiria y Ficer yma at y dull y tynnai yr hynafiaid luniau eu duwiesau. [F] Mam y duwiau, ar allor yr hon y cedwid tân gwastadol. [G] Duwies glendid a chariad. [H] Enw arall ar Minerva, duwies doethineb a chelfyddyd; ac er y dywedir ei bod yn nerthol mewn rhyfel, yr oedd yr olew-wydden, arwydd heddwch, yn gyssegredig iddi. [I] Duwies y cynhauaf. [J] *Present*, anrhegu. [K] Yn Lladin, *Fama*, duwies chwedlau a newyddion. Gelwir hi yn "Adeiniog," o herwydd cyflymder ymlydaniad pob hanesion. [L] *Safe return*, dychweliad diogel. [M] *Neptunus*, Nefydd Naf Neifion, duw y môr. [N] *Dolphins*, math o bysgod. [O] Enw môr-dduwies. [P] Y *Sirenes* oeddynt fath o ail-dduwiesau morawl. [Q] A roddodd. [R] *Charge*, gorchymmyn. [S] *Triton* oedd un o'r môr-dduwiau, a gallu ganddo i lonyddu y môr a gostegu y gwyntoedd, trwy udganu mewn cragen. [T] Duw y gwyntoedd a'r tymhestloedd. [U] Duw y gwynt teg, am yr hwn y dywedid ei fod yn cynnyrchu blodau a ffrwythau â'i anadl. [V] Wrth *Phœbus* yma y deallir yr haul. [W] Y lleuad. [X] Y ser a'r planedau. [Y] Enwau ser, ar y rhai y sylwa morwyr yn y nos. [Z] *Pole*, pegwn. [A] Duwies y wawr. [B] Ymdrechu am y goreu. [C] *Lead*, arwain. [D] *Favour*, ewyllys da. [E] Yma golygir y duwiau cenhedlig, fel y mae eu henwau wedi eu gosod ar ddyddiau yr wythnos. [F] *Strive*, ymryson. [G] Merchur. [H] Llattai, negeswr. [I] Iau. [J] *Power*, awdurdod. [K] Gwener. [L] Sadwrn. [M] Dydd *Sol*, neu yr Haul; dydd y Sabboth Cristionogol, sef y dydd cyntaf o'r wythnos.

23.

Y pummed dydd o fis October,[N]
Ar ddydd Sul, dair awr cyn hanner,
Y dygodd Duw, dan lawenychu,
I dir Lloeger Brins y Cymry.

24.

Duw ddanfonodd ei wir angel,
I gyf'rwyddo ei holl drafael;[O]
Ac i ddwyn pob peth[P] o bobtu,
Wrth fodd calon Prins y Cymry.

25.

O moliannwn ninnau'r Drindod,
Dydd a nos â chalon barod,
Am iddo ddwyn bob peth o bobtu,
Wrth fodd calon Prins y Cymry.

26.

Spain a fynnai, mewn cyfrwysder,
Gadw'n Prins dros ddyddiau lawer;
Duw a gwlad a fynnai, er hynny,
Fyrr ymchweliad Prins y Cymry.

27.

Gan i Dduw o gariad atto,
Ddangos cymmaint ffafar iddo,
Pa fath roeso gwych y ddyly[Q]
Brydain roi i Brins y Cymry.

28.

Doed ein Brenhin a'i Gynghoriaid,
Dod yr Ieirll a'r holl Bonaethiaid,
Yn eu rhôbs,[R] a thrwps[S] o bobtu,
I roesawi Prins y Cymry.

29.

Doed y grasol Archesgobiaid,
A'r Esgobion, a'r Preladiaid,[T]
Mewn procession[U] i foliannu
Duw, am gadw Prins y Cymry.

30.

Doed ardderchawg Arglwydd Keeper,[V]
Urddas[W] Cymru, llewyrch Lloeger,
A'r Britanniaid hardd o ddeutu,
I roesawi Prins y Cymry.

31.

Doed y mwyaf garo Cymro,
Colofn y deyrnas, Arglwydd Penfro,[X]
A'i wŷr galant,[Y] i 'stafellu
Yn nhŷ'r Brenhin Brins y Cymry.

32.

Doed Maer[Z] Llundain a'i gwmpeini,[A]
Yn eu sgarled,[B] a'u cadwyni,[C]
Ar feirch gwynion i anrhegu,
Ac i roeso Prins y Cymry.

33.

Doed y Merchants[D] mawrion hwyntau,[E]
I'r heolydd â'u gwin goreu,
I roi rhwng eu ffrins[F] o bobtu,
I yfed health[G] Tywysog Cymry.

34.

Doed yr holl brentisiaid[H] hwyntau,
Dan roi bloedd, a thaflu capau,
Yn dra llawen dan grech-wenu,
I roeso o Spain Dywysog Cymru.

35.

Doed 'sgolheigion yr holl ynys,
Yn eu gradd a'u heuraid fersys,[I]
A'u hareithiau dan lawenu,
I roesawi Prins y Cymry.

36.

Doed Offeiriaid a'u plwyfolion,
Gwŷr a gwragedd, merched, meibion,
I'r Eglwysydd i foliannu
Duw, am gadw Prins y Cymry.

37.

Caned clych yr holl Eglwysydd,
Nes dadseinio'r môr a'r mynydd,
Ac i'r ddaear fud ddadganu
Groeso o Spain i Brins y Cymry.

38.

Cynner[J] tân, bonffeirs[K] fagad,[L]
Tân sy'n dangos gwres ein cariad,
Fel y gwelo'r byd o bobtu,
Faint yw'ch serch i Brins y Cymry.

39.

Minnau a'm tylwyth, nos a boreu,
A rof ddiolch ar fy ngliniau,
I'r gwir Dduw, am ddwyn o ddeutu,
Yn iach lawen Brins y Cymry.

40.

Duw 'mddiffyno rhag bradwriaeth,
Cadwed Crist ef rhag Pabyddiaeth,
A rhag pawb sydd yn amcanu
Drwg neu speit[M] i Brins y Cymry.

[N] Hydryf 5, 1623. [O] *Travel*, taith. [P] Pob peth gyda golwg ar ei ddiogelwch ar ei daith. [Q] A ddylai. [R] *Robes*, gwisgoedd llaesion swyddogion goruchel. [S] *Troops*, lluoedd o filwyr. [T] *Prelates*, blaenoriaid, swyddogion dyrchafedig yn yr Eglwys. [U] *Procession*, gorymdaith, cyd-gerddediad rheolaidd. [V] *Keeper*, ceidwad seliau y llywodraeth. [W] Anrhydedd. [X] William Herbert, pedwerydd Iarll Penfro, oedd Arglwydd Ystafellydd dan Iago I. Brenhin Lloegr. Yr oedd y pendefig hwn yn noddwr gwresog i'r Cymry. [Y] *Gallant*, dewr, calonnog. [Z] *Mayor*, prif swyddog dinas neu dref. [A] *Company*, cymdeithion. [B] *Scarlet*, mentyll o liw coch tanbaid. [C] A chadwyni aur am eu gyddfau. [D] *Merchants*, masnachwyr. [E] Hwythau. [F] *Friends*, cyfeillion. [G] *Health*, iechyd. [H] *Apprentices*, llangciau yn dysgu celfyddydau. [I] *Verses*, penillion, canau. [J] Cynneuer. [K] *Bonfires*, tanau mawrion i arwyddo gorfoledd. [L] Llawer. [M] *Spite*, dirmyg, tramgwydd.

41.

Duw ro galon Ezekias,[N]
Synwyr Selyf,[O] zel Josias,[P]
Dewrder Dafydd, ac at hynny,
Einioes Noe, i Brins y Cymry.

42.

Joas, Cusai, fo cynghorwyr,
Joseph, Daniel, fo golygwyr,
Moesen Samuel a fo'n barnu,[Q]
Byth ar y faingc dan Brins y Cymry.

43.

Crist â'i esgyll a'i hadeinio,[R]
Crist â'i Yspryd a'i cyf'rwyddo,
Crist â'i ras a fyddo'n nerthu,
Ym mhob achos, Brins y Cymry.

44.

Arglwydd grasol, cadw'r deyrnas,
A bendithia'n brenhin Siamas,[S]
A rho gynnydd gras a gallu,
Uwchlaw pawb i Brins y Cymry.

## CLXV.—Dyledswydd Barnwr.[A]

1.

Barna'n gymmwys, fy enaid clyw,
'Rwyt ti'n eiste' 'ngorsedd Duw;[B]
Barna'n ol y gyfraith hyfryd,
Duw a biau'r farn a'r ferdyd.[C]

2.

Hola'n gyntaf megis Sal'mon,
Ni cheir gwir ym mhob achosion:
Gwrando'r ddwy-ran drwy amynedd:
Gwedi'n barna yn ol gwirionedd.[D]

3.

'Rwyt ti'n barnu yn lle Duw,
Dy ferdid di, ei ferdid yw:
Barna fel y barno yntau,
Na wna gam serch [E] goddef angau.

4.

Pan y barnech, barn yn ddiddig,
Gwel yr hwn sydd anweledig;
Dod ei ofn o flaen dy wyneb,
Yno barn yn ol uniondeb.

5.

Gwedi holi'r câs [F] yn bwyllog,
Gwedi gwrando'r ddwy blaid enwog;
Gwedi nithio'r beiau'n berffaith,
Yna barn, yn ol y gyfraith.

6.

Ni fynn Duw gondemnio'r [G] gwirion,
Na rhyddhau yr euog ddynion;
Ond condemnio'r anwireddus,
A chyfiawni'r gwirion gweddus.[H]

7.

Gâd y gwaedlyd yn llaw angau,
Gwaed a lef am waed yn ddiau;
Duw fynn ladd y dyn a laddo,[I]
Bid ei radd ef c'uwch a fynno.

8.

Pan fo ambell fai yn tewi,
Fefydd mwrdd-dra yntau yn gwaeddi;[J]
Nid oes dim a stopa [K] 'i safan,
Nes cael gwaed y mwrddrwr [L] aflan.

9.

Os mynn Duw ladd yr ŷch di-synwyr,
A laddo ddyn â'i gorn yn brysur;[M]
Pwy gan hynny geidw fwrddrwr,
Rhag ei ladd, am chwareu'r bwtsiwr?[N]

10.

Lladd, medd Duw, y dyn a laddo,[O]
Gwaed a lygra'r wlad lle cwympo;
Nid oes dim ond gwaed y mwrddrwr,
All lanhau y wlad o'i llwgwr.[P]

11.

Oni fynni i'r Arglwydd daro,
'R wlad a thref, lle'r wyt ti'n trigo,
A'th lwyr ddifa, a'th eppil hefyd,
Na chais gadw'r mwrddrwr gwaedlyd.

12.

Na respecta [Q] wyneb un-dyn,
Na wna gam â'th was na'th elyn,
Nac ofna gryf, na ddangos ffafar,[R]
Na wyra farn, na dderbyn wobar.[S]

13.

Na sparia'r [T] tlawd, os bydd ef 'sgeler,[U]
Nac arbed garl,[V] er mwyn ei bŵer;[W]
Na 'nebydd gâr, na threisia estron,
Na speita'r [X] gwan, na ladd y gwirion.[Y]

14.

Yn y pwll fe fydd edifar,
Wyro barn, a derbyn gwobar,
Pan bo'r pryf yn pigo'r galon,
Am gondemnio'r gwan a'r gwirion.

[N] Hezeciah, brenhin duwiol ar Judah. [O] Solomon. [P] Brenhin duwiol arall. [Q] Golyga yr Awdwr swyddogion ffyddlon a chyfiawn. [R] A'i cysgodo â'i adenydd. [S] *James*, Iago I. tad Charles, tywysog Cymru.

[A] Nid yw y Gân hon yn yr hen argraphiadau. [B] 2 Cron. 19. 6. [C] *Verdict*, dedfryd. [D] 1 Bren. 3. 16—28. [E] Er. [F] *Case*, achos, matter. [G] *Condemn*, euogfarnu. [H] Deut. 16. 20. [I] Gen. 9. 6. [J] Gen. 4. 10. [K] *Stop*, cau, attal. [L] *Murderer*, llofrudd, lleiddiad dyn. [M] Exod. 21. 28. [N] *Butcher*, cigydd. [O] Lef. 24. 7. [P] Llygredd, halogrwydd. [Q] *Respect*, parchu, derbyn wyneb. [R] *Favour*, cyfeillgarwch, ochraeth. [S] Gwobr. Deut. 16. 19. [T] *Spare*, arbed. [U] Drygionus iawn. [V] Cybydd goludog. [W] *Power*, gallu. [X] *Spite*, dirmygu. [Y] Diniwed.

15.
Cyn i Dduw gondemno Adda,
Fe'i hecsamnwys[Z] ef yn gynta';
Ac a spiodd[A] gyflwr Sodom,
Cyn difetha'r dref â'r storom.[B]

16.
Felly dylai barnwyr ddysgu,
Chwilio'r matter cyn ei farnu,
Rhag rhoi ferdid ffol drwy gamwedd,
Cyn deallont y gwirionedd.

17.
Gochel dderbyn rhodd na gwobar,
Rhodd a'th dynn i ddangos ffafar;
Rhodd a ddalla dy olygon,[C]
I wyro barn, i faeddu'r gwirion.[D]

18.
Barna'n gymmwys megis Moesen,
Na fynn fuwch, nac ŷch, nac asen,
Mwy na Samuel yn ei amser,[E]
Ond rho farn yn ol cyfiawnder.

19.
N'âd i wobor wenn dy dwyllo,
Y fath byg a 'nurdd[F] dy ddwylo,
Ac a bair i'th wisgoedd ddrewi,
Pan y delech i gwmpeini.[G]

20.
Os derbynni wobor ddirgel,
Maen y mur a lef yn uchel,
A'th draws-brennau yn dy siambar[H]
Ddygant dyst yn erbyn gwobar.[I]

21.
Os gorch'mynodd hen Gambyses[J]
Flingo'r barnwr ffalst[K] Susannes;
Oni flinga Duw'r dialau
Bob cam farnwr am ei feiau?

22.
Emprwr[L] Russia a fynn losgi
Barnwr ffalst mewn pair, a'i ferwi:
Brenhin Nef a fynn, heb ammau
Losgi barnwr ffalst mewn fflammau.

23.
Ni cha's Balaam ond ei fwrdro,[M]
Na Gehazi ond ei blago,[N]
Na hen Suddas[O] ond ei grogi,
Gwedi'r wabar front a'r bribri.[P]

24.
Ni chai dithau ddim dedwyddwch,
Oddiwrth wobor, ond diffeithwch;
A dolurio dy gydwybod,
A throi d'eppil oll ar anffod.[Q]

25.
Er nad ydyw dyn yn gweled,
Lawer pryd mo'th fribs[R] a'th hocced[S]
Y mae Duw yn gwel'd y cwbwl.[T]
O'th gyfrwystra a'th ddrwg feddwl.

26.
O, gan hynny, golch dy ddwylo,
N'âd i'r wobar front dy dwyllo,
Rhag i'r wobar beri blinder,
O flaen Duw, y dydd y'th farner.

27.
Od yw torment[U] meibion dynion,
Yn condemnio'r barnwyr ffeilstion;
P'wedd[V] na farna union frawdle
Crist, bob barnwr ffalst i ange'?

28.
Na ddwg gleddyf Duw yn ofer
Tyn e' maes pan welech amser;
Taro bechod, torr anwiredd,
Dryllia drais, amddiffyn rinwedd.

29.
N'âd i gleddeu'r gyfraith rydu,
Yn y wain, o eisiau'i dynnu;
Rhag i gleddeu'r Arglwydd digllon
Ransio[W] i maes ym mhlith ei elynion.

30.
O gwel drais y rhai annuwiol,
O clyw lef y gwan cystuddiol,
Sydd yn griddfan dan orthrymder,
Eisiau cospi pobol 'sgeler.

31.
Clyw pa lefain y mae'r gwirion,
Ddydd a nos gan orthrech lladron,
Sy'n anrheithio'r maint sydd ganddynt
Ac heb neb i yngan[X] wrthynt.

32.
Gwel sydd o fasteirdd bach ar ddyrnau
Merched ieuaingc ar gyflogau,
Sy'n cardotta mewn gofidi,
Eisiau barnwr idd eu cospi.

[Z] *Examine*, holi, chwilio. Gen. 3. 11. [A] *Spy*, edrych. [B] Gen. 18. 22. [C] Exod. 23. 8. [D] Diar. 17. 23. [E] 1 Sam. 12. 3. [F] A anurdda, a haloga. [G] *Company*, tyrfa. [H] *Chamber*, ystafell. [I] Hab. 2. 11. [J] Cambyses oedd fab i Cyrus Fawr, brenhin Persia. Ar ol blingo y barnwr anghyflawn yn fyw, gorchymynodd hoelio ei groen ar y faingc; a gosododd ei fab yn farnwr yn ei le, gan ddywedyd wrtho am gofio pa le yr oedd yn eistedd. Gellir casglu fod y llysoedd cyfreithiol yn llygredig iawn yn oes y Ficer, oblegid achwyna yn aml ar hyn. [K] *False*, twyllodrus. [L] *Emperor*, Ymerawdwr. [M] *Murder*, lladd. Num. 31. 8. [N] *Plague*, taro â haint. 2 Bren. 5. 27. [O] Judas Iscarlot. Act. 1. 18. [P] *Bribery*, llwgr-wobrwy, gwobr anghyflawnder. [Q] Yn aflwyddiannus. [R] *Bribes*, gwobrau. [S] Twyll. [T] Preg. 12. 14. [U] *Torment*, poen. [V] Pa fodd. [W] *Range*, cynnulwair, myned yn ol ac ym mlaen. [X] Dywedyd.

33.
Clyw pa dyngu mae Crist'nogion
Fach a mawr, heb barch nac ofon,[Y]
Ar gig Crist, a'i waed, a'i weli,[Z]
Ac heb un-dyn da i'w cospi.

34.
Gwel pa barch sydd i'r offeiriaid,
Pa anrhydedd i'r henuriaid,
Pa respect[A] i'r doeth bregethwyr,
Eisiau help a chyfraith barnwyr.

35.
Gwel pa dramwy sy'i dafarnau,
Pa gorneito[B] i'r stiwdeiau,[C]
Pa 'sgeulusu myn'd i'r Eglwys,
Eisiau cospi rhai 'sgeuluswys.[D]

36.
Pan y cysgo cledd cyfiawnder,
Yn y wain, o eisiau'i arfer,
Cleddeu Duw a heda allan,
Ac a ddifa'r wlad yn gyfan.

37.
Camwedd tost a dirfawr dra,[E]
Yw cadw'r drwg i blago'r da,
Arbed lladron, mwrddrwyr gwaedlyd,
I andwyo'r[F] wlad o'u plegid.

38.
Lle bo mwrdd-dra, meddwdod, brynti,
Lledrad, trais, heb neb i'w cospi,
Duw a blaga'r wlad o ddautu,
Sydd yn diodde'r cyfryw bechu.

39.
O gan hynny barna'n gymmwys,
Er mwyn Crist yr hwn a'th brynwys;
Cais ogoniant Duw dy Dad,
A thorr di ymaith feiau'r wlad.

40.
Phineas,[G] cospa bechod,
Gwan dy wayw-ffon trwy ei geudod,
Felly stoppir y farwolaeth,
Sydd yn difa'r wlad mor helaeth.

41.
Os y swyddog drwg a winca,[H]
Wel'd ammharchu Duw goruchaf,
Duw a chwardd pan delo distryw,
Pla a llid, ar ben y cyfryw.

42.
Llefa, llefa, tyn dy gleddeu,
Taro bawb sy'n dilyn delwau;
Tad a mam, a'r brawd a fo,
Yn gado Duw, i addoli llo.[I]

43.
Pan na fynnai Eli chwipio[J]
Plant â gwialen, a'u correcto,[K]
Duw a laddodd ddau fab Eli,
A mîn y cleddau, eisiau'u cospi.[L]

44.
Eisiau cospi gwŷr Gomorrah,
Am eu rhyfyg a'u putteindra,
Duw ddistrywiodd yr holl ddinas,[M]
Am amddiffyn pobl ddiras.

45.
Meddwl dithau, od wyt farnwr,
Gospi lledrad, crogi mwrddrwr,
Chwipio rhyfyg, ffeinio[N] ffalstedd,
Stocso[O] meddwdod, cospi camwedd.

46.
Wyneb dyn, ac wyneb llew,
Y ddylai fod gan farnwr glew;
Wyneb dyn i sirio'r[P] cywir,
Wyneb llew i gospi lleidir.

47.
Cleddeu llym, a thafod[Q] gyfion,
Ddylai fod gan farnwr union,
Tafol gron i bwyso'r matter,
Cleddeu llym i gospi'r 'sgeler.

48.
Cau dy lygaid, cudd dy ddwylo,
Wrth roi barn ar ddyn a becho,
Rhag i'th lygad ddangos ffafar,
Rhag i'th ddwylaw dderbyn gwobar.[R]

49.
Na cham-farna hawl ymddifaid,
Na orthryma o'r dieithriaid,[S]
Ac na threisia wreigan weddw,[T]
Rhag i Dduw dy ladd yn farw.

50.
Os ymddifad a orthrymmi,
Os y weddw a gam-ferni;
Duw wna'th eppil yn ymddifad,
A'th wraig wen yn weddw irad.[U]

51.
Melldigedig ydyw'r ynad,
A gam-farna hawl ymddifad,
Cŵyn y weddw sy'n och'neidio;
D'weded pob-dyn, Felly bytho.[V]

[Y] Exod. 20. 7. [Z] Archoll, clwyf. [A] Sylw, parch. Pa mor lleied o barch a feddylir. [B] Rhedeg a neidio. [C] *Stews*, putteindai. [D] A esgeulusodd. [E] Erchylldod. [F] Dinystrio. [G] Num. 25. 7, 8. [H] *Wink*, cau llygad, cymmeryd ar un beidio gweled. [I] Exod. 32. 27, 28. [J] *Whip*, curo. [K] *Correct*, ceryddu. 1 Sam. 2. 23–25. [L] 1 Sam. 4. 11. [M] Gen. 19. 24, 25. [N] *Fine*, codi dirwy. [O] *Stocks*, cyffion—gosod mewn cyffion. [P] *Cheer*, calonnogi. [Q] Clorian. [R] Exod. 23. 8. [S] Exod. 23. 9. [T] Zec. 7. 10. [U] Galarus. Jer. 22. 3, 5. [V] Deut. 27. 19.

## CLXVI.—Ar Ddammeg y Mab Afradlon.

1.

MYFI sy'n dechreu'r awrhon,
Yn ail i'r mab afradlon;[A]
Trwy nerth Iesu, y Mab rhad,
Af at fy Nhad yn union.

2.

Mi bechais, mi gynffesaf,
O flaen y nefoedd uchaf,
I'm galw mwy nid teilwng fi
Yn fab i ti'r Goruchaf.

3.

Mi dorrais bob gorchymyn,
A roddaist im' i'w canlyn ;
Llawn o bechod wyf erioed,
O fawd fy'm troed i'm coryn.[B]

4.

Mewn pechod darfu'm geni,[C]
'Rwyf yn ymdroi mewn d'rysni ;
Mal y ddafad yn y llwyn,
Yng nghanol twyn [D] mieri.

5.

Myfi a fum mor ddiffaith,
Heb wneuthur pris o'th gyfraith ;
A myned, fel yr hwch a'r ci,[E]
Ynghyd â'm brynti gan-waith.

6.

Mi wn im' bechu'n oestad,[F]
Na haeddwn gaffael cennad,
O ran fy ffiaidd fuchedd ddrwg,
I godi 'ngolwg attad.

7.

Ond etto'r wyf yn gwybod
Y modd i gael gollyngdod,
Er bod cyfiawnder it', Duw'r hedd,
Mae mwy trugaredd ynod.

8.

Mi wn ddiddanwch hawddgar,
Llawenydd mawr di-gymmar,
Fod maddeuant am bob tro,
I'r neb a fo'n edifar.[G]

9.

Rwy'n edifeiriol bellach,
Attolwg iti eiriach ;[H]
Dywed Iesu air o'th ras,
Ac fe â dy was yn holl-iach.

10.

Er bod fy anniweirdra,
Mor goch a'r 'sgarlad yma ;
Tydi a elli, fy Nuw gwyn,
Fy ngwneud mor wyn a'r eira.[I]

11.

O cladd, yr wyf yn erfyn,
Ym medd dy Grist, anwyl-ddyn ;
Cladd, O cladd, nas gallont hwy
Gyfodi mwy i'm herbyn.

12.

Duw, crëa i mi lân galon,
I fod i'th garu'n ffyddlon,
Adnewydda ddull fy mryd
O'm mewn â'th Yspryd union.[J]

13.

Dod i mi wir amynedd,
Tra byddwy'n dwyn fy muchedd,
Yn fy mywyd ar bob cam,
I feddwl am fy niwedd.

14.

Dysg i mi heddyw fedru,
I fyw trwy iawn hyderu,
Fel po byddai siwr [K] fy ngwedd,
I fyn'd i'r bedd y foru.

15.

Na roddwyf bwys na hyder
Mewn da, na dyn a fager,
Nac mewn dim ond ynnot ti,
Un Duw, a Thri bob amser.

16.

A thyred y Messias,
Wel, dyma 'ngwisg briodas,
Tyred chwippin,[L] hyn yw 'nghân,
I gael dy lân gymdeithas. Amen.

[A] Luc 15. 18. [B] Esay 1. 6. [C] Psalm 51. 5. [D] Twmpath. [E] Diar. 26. 11. 2 Petr 2. 22. [F] Yn wastadol. [G] Psalm 130. 4. [H] Arbed. [I] Esay 1. 18. [J] Psalm 51. 10. [K] *Sure*, sicr. [L] Yn fuan, ar frys. Dat. 22. 20.

## CLXVII.—DARLUNIAD O GYFIAWNDER DYN.

1.

Clwttyn cwtta, clwtt ansyber,
Clwttyn cwtta yw'n cyfiawnder;
Clwtt ni chuddia ddim o'n c'wilydd,
Clwttyn brwnt yn 'nurddo beunydd.[A]

2.

Clwttyn bach fel 'ffedog Efa,[B]
Clwttyn brith, fel praidd gwr Lea,[C]
Clwttyn brwnt fel cornwyd Naaman,
Yw cyfiawnder dyn ei hunan.

3.

Clwtt misglwyfol yw fe wy's,
Clwtt a 'nurddwn[D] bawb bob mis;
Clwtt a 'nurdda'r gorau o ddefnydd,
A'r cyfiawnaf saithwaith beunydd.

### YR AIL RAN.

1.

Pe caem ni fyw holl ddyddiau Adda,
Hyd ddydd barn, a gweithio'n heitha',
Nid yw bossibl ini haeddu
Teyrnas nef, â'n gwaith er hynny.[A]

2.

Haeddodd Peder, a haeddodd Pawl,
Haeddodd pob dyn ffwrn y diawl,[B]
Ond ni haeddodd neb baradwys,
Ond Mab Duw, yr hwn a'n prynwys.

3.

Annuwioldeb mawr a thra,[C]
Ydyw gw'rafun gweithred dda;
Etto balchedd cas afrifed[D]
Yw hyderu ar ein gweithred.

4.

Gwedi offrwm, gwedi ymprydio,
Gwedi rhannu, a gweddïo,
Gwedi gwneuthur faint orch'myned,
Beth a wnaethost ond dy ddyled?[E]

5.

Dyn fel neidr ar ei gwg,
Sy'n chwyrn ei hawnt[F] i wneuthur [drwg;[G]
Nis gall undyn drwg di-feder,
Wneuthur da nes adgenhedler.

6.

'Rwyt ti'n farw, yr wyt ti'n ddall,
'Rwyt ti'n ddrwg, yn fab i'r fall;
'Rwyt ti'n ddi-ras wrth dy natur,
Heb 'wyllysio da na'i wneuthur.

7.

Ni all undyn dalu'r ganfed
I'r Duw cyfion o'i holl ddyled,
Chwaethach talu mwy na'i ofyn,
Na chyflawni un gorchymmyn.

8.

Balchder blin i undyn dybied,
Y gall dalu i Dduw ei ddyled;
Lle nas gall y goreu ei scil,[H]
Atteb iddo am un o fil.[I]

9.

Dyn sy'n farw yn ei bechod,
Nes adfywier gan y Drindod;[J]
Ni all feddwl am ddaioni,
Nes i'r Yspryd ei ail-eni.[K]

## CLXVIII.—CAN YNGHYLCH Y GWRTHRYFEL YN Y FLWYDDYN 1641.[A]

1.

O na bai fy mhen yn ddyfroedd,[B]
Mi a foddwn etto'r tiroedd,
O waith cymmaint yw'r 'sgelerder,
Maint yw'r bâr, a'r llid, a'r balchder.

2.

Na bai fy llygaid yn ffynhonnau,
Fe ffrydiai o honynt allan ddagrau,
Yn ddibaid bob dydd, bob nos,
Am fod 'nawr ond gormod achos.

[A] Esay 64. 6. [B] Gen. 3. 7. [C] Jacob. Gen. 30. 39. [D] A halogwn.

[A] Titus 3. 5. [B] Eph. 2. 3. [C] Gormod, myned yn rhy bell. [D] Cas iawn. [E] Luc 17. 10 [F] *Haunt*, cyrchfa. [G] Gen. 6. 5. [H] *Skill*, medr. [I] Job 9. 3. [J] Eph. 2. 3. [K] Hyd yma y cyrhaedda argraphiad helaethaf Rhys Thomas.

[A] Torrodd y gwrthryfel dychrynllyd hwn allan dan deyrnasiad Charles y Cyntaf, ychydig flynyddoedd cyn marwolaeth y Ficer; ac yn ystod yr amser y parhaodd, ymladdwyd amryw frwydrau gwaedlyd rhwng y Senedd a'r Brenin, yr hwn o'r diwedd a ddaliwyd, ac a ddihenyddiwyd yn y flwyddyn 1649, a bu llywodraeth Lloegr, am flynyddau wedi hyn yn nwylaw Oliver Cromwell, prif flaenor y gwrthryfel. Gadawyd y Gân hon allan o argraphiad Rhys Tomas, ond y mae yn eiddo T. Durston; ac oblegid y gwyddir fod y Ficer yn dra phleidiol i'r Brenhin, hawddach credu mai efe a'i cyfansoddodd. Yr oedd yr ysgrif yn ammherffaith yn y mannau y mae seren-nodau wedi eu gosod; ac mewn mannau eraill hefyd, fel y gellir barnu oddiwrth rai llinellau. [B] Jer. 9. 1. [C] Digofaint.

3.
Pwy a fu'sai'n meddwl unwaith,
Am y gwyr oedd deg eu haraith,
Fod bradwriaeth mor echryslon,
Yn cael ei meithrin yn eu calon.

4.
Y mae'r neidr las yn gorwedd,
Dan y perthi mwya' hoffaidd;
Lle bo ffrwd y dw'r yn dawel,
Mae yno ddyfnder idd ei ochel.

5.
Yn awr y mae ei hunan gwaedlyd,
Yn dra hyspys iawn i'r holl-fyd,
Gan nad dim ond gwaed y gwirion,
A dyrr syched fath genawon.[D]

6.
Llawer gwaith y bu'r Philistiaid,
Yn gorthrymu'r Israeliaid,

* * * * *

7.
Erioed ni bu y fath beth yma,
Gan Farbariaid gwyllt o'r India;
Tebyg gennyf fod y cythraul,
Ym mhob aelod o'r gwrthryfel.[E]

8.
Byth ni thaerai un Barbariad,
Mai Duw o'r nef roes iddo gennad,
Lladd a llosgi dynion ufudd,
I wir frenhin a gwir grefydd.

9.
Ond mae rhai yn mentro dywedyd,
Mae cynhyrfiad y Glân Yspryd,
Ydyw'r achos o'u hymrafael,
A gwisgo am danynt arfau rhyfel.[F]

10.
O fy enaid i, na nessa
At gyfrinach y rhai yma,
Sydd yn gablaidd iawn yn gosod
Gwaith tywyllwch ar y Drindod.

11.
Fe fydd gennym fara heno,
Ac erbyn trannoeth wedi ei wangco.[G]

* * * * *

12.
Duw a gadwo'n brenhin graslon,
Rhag eu brad a'u distryw creulon,
Nertha, O Arglwydd Dduw ei ddwylo,
Bydd di'n nerth a tharian iddo.

13.
Duw a adgyweirio furiau
Sion ddinas a'u hadwyau,
Ac a helo'r tyrchod allan,
Rhag llwyr ddifa ffrwythau'r winllan.

## CLXIX.—AM HOLLBRESENNOLDEB DUW.[A]

1.
Mae Duw'r gallu yn anfeidrol,
Mae e' 'mhob man yn bresennol;[B]
Nid oes cornel bach yn unlle,
Na bo Duw yn llanw'i gellau.

2.
Mae'n llanw'r nef, mae'n llanw'r ddaear,
Ac uffern gau, a'i dwfwn garchar,
Dyfnderau'r môr, wybrennau'r awyr,
A'r anialwch maith difesur.

3.
Mae'n y nefoedd mewn gogoniant,
Mae ar y dda'r mewn gras a llwyddiant;
Mae yn y pwll,[C] yn lladd yn llym,
Ym mhob lle oll, mae fe'n ei rym.

4.
Dos i eitha'r mor a'r ddaear,
Dos i'r nef, neu'r pwll anhygar;
Nid oes diangc, dos lle mynnech,
Rhag llaw Duw, lle bynna'r elech.

5.
Mae Duw yn gweled pob dirgelwch,
A'r hyn a wneler mewn tywyllwch;
Nid oes dim cuddiedig rhagddo,
Mae pob peth yn amlwg iddo.[D]

6.
Fe welodd Cain yn mwrddro Abel,
Ac yn tywallt gwaed yn ddirgel:
Er nad oedd un dyn yn canfod,
Fe roes arno ddial hynod.[E]

7.
Fe welodd ddirgel fwriad Pharao,
I chwennych Sara i'w chofleidio;
Am ei chwant a'i fwriad dirgel,
Fe roes arno boen diogel.[F]

8.
Fe welodd Ddafydd yn y dirgel,
Yn denu Bashseba mewn cornel;
Ac am ei ddirgel 'lanas cynddrwg,
Fe roes arno ddial amlwg.[G]

[D] Llewod ieuaingc. [E] Y mae hanes echrychdod a chreulonderau y gwrthryfel yn cyflawnhau y dywediad hwn. [F] Cymmerai y gwrthryfelwyr arnynt fod yn dra chrefyddol, a chyflawnent y cwbl dan rith duwioldeb. [G] Wedi ei fwytta mewn gwangc.

[A] Y canau canlynol a gasglwyd o ysgrifeniadau y Ficer gan y Parch. Griffith Jones, gynt o Llanddowror, ac a argraphwyd yn Llundain, yn y flwyddyn 1758. [B] Psalm 129. 7—12. [C] Y pwll diwaelod, uffern. [D] Heb. 4. 13. [E] Gen. 4. 9—15. [F] Gen. 12. 14—17. [G] 2 Sam. 11. 2—5, a 12. 2—12.

9.
'Rhyn amcanai brenhin Syria,
Duw fynegai i Eliza,[H]
Ac a barai yr un diwrnod,
Frenhin Israel gael ei wybod.

10.
Fe welodd Duw holl fwriad gwaedlyd
Antiochus gas i'r deml hyfryd ;
Ac am ei fwriad gwaedlyd rhyfedd,
Fe ga'dd gwymp, nes sigo'i berfedd.

## CLXX.—AM HOLLALLUOGRWYDD DUW.

1.
Mae Duw mawr, yn hollalluog,
A'i fraich yn gryf, a'i fys yn nerthog ;
A'i air fe wna beth bynna' fynno,
Y byd i gyd ni all mo'i rwystro.

2.
Fe wnaeth y nef, a'r ddae'r, a'r môr,
Ar maint sydd ynddynt oll o 'stor,
O beth heb ddim, a'i air yn unig,
Mewn chwe' dïau[A] mor drefnedig.

3.
Mae'n cadw'n byd a'r maint sydd ynddo
Yng nghalon awyr las heb gwympo ;
Mae'n peri'r haul, a'r holl ffurfafen,
Droi fel rhod o ddautu'r ddae'ren.[B]

4.
F'all bwyso'r mynydd mawr mewn taflau,[C]
F'all ddala'r mor mewn un o'i ddyrnau,
F'all rifo'r ser,[D] f'all stoppio'r gwynt,
F'all stayo'r[E] haul[F] pan retto'i hynt.

5.
F'all ffrwyno'r môr, f'all ddofi'i donnau
F'all ddala'r morfil mawr wrth fachau ;
F'all beri i'r nef a'r ddaear gyffro ;
F'all Duw wneuthur 'rhyn a fynno.

6.
Fe all ein cospi am ein beiau,
Fe all ein helpu[G] yn ein rheidiau ;
Fe all ein lladd, fe all ein cadw,
Fe all ein codi gwedi marw.[H]

7.
F'all Duw'n troi i'r priddyn dichwaith[I]
F'all Duw'n codi o'r pridd eilchwaith ;
F'all roi'r nef, os gwnawn ei 'wyllys,
Neu'n troi i'r tân am fyw'n gamweddus

8.
Fe wnaeth i'r diluw foddi'r cynfyd,[J]
A'r tân gwyllt losgi Sodom ddrewllyd,[K]
A'r dda'r lyngcu Corah a Dathan,[L]
A'r môr foddi Pharao a'i gympan.[M]

9.
Fe droes yr angel balcha'n gythraul,
Fe droes fonarc[N] Syria yn 'nifail ;
Fe droes wraig Lot yn biler[O] halen ;
Adda'm bechu, i bridd y ddae'reu.

10.
Lladdodd Eglon yn ei 'stafell,[P]
Brenhin Ninef yn ei gangell,[Q]
Monarch Syria wrth garowso ;[R]
Cadwed Duw ni rhag ei ddigio.

11.
Gwnaeth i'r llyffaint blaeo'r Aiphtiaid,
Gwnaeth i'r seirph wenwyno'r Hebr'aid ;
Gwnaeth i'r caccwn erlid Canaan,[S]
A llau ladd Herod yn ei sidan.[T]

12.
Y dw'r a'r tân, a'r tir, a'r tonnau,
Y gwynt, a'r gwlaw, a'r ser o'u graddau[U]
Pob creadur os Duw ddigia,
All bob awr o'r dydd ein difa.

13.
Am hyn ymrown, tra fo'm ni byw,
I fyw bob dydd yn ofn Duw ;
Ac ymgadwn rhag ei lidio,
Can's tân ysol[V] yw pan ddigio.

14.
Fel y dichon Duw ein cospi,
Os ei ddigio wnawn a'n brynti ;
Felly mae y gallu gantho,
Helpu pob dyn a'i gwas'naetho.

15.
Fe waredodd Ddaniel dirion,
I maes o ffau y llewod creulon ;
Ac fe helodd[W] angel purwyn
A bwyd iddo i dorri 'newyn.

16.
Fe waredodd Shadrach hefyd,
A'i gyfeillion, o'r ffwrn danllyd ;
Ac a helodd angel attynt,
Fel na losgodd blewyn iddynt.

[H] Eliseus. 2 Bren. 6. 8—12. [I] Gwelir hanes yr amgylchiad hwn yn ail Llyfr y Maccebeaid, pen. 9.
[A] Dyddiau. Exod. 20. 11. [B] Sef fel yr ymddengys i drigolion y ddaear, er fod naturiaethwyr yn deall yn amgen. [C] Cloriannau. Esay 40. 12. [D] Psalm 147. 4. Esay 40. 26. [E] *Stop*, attal. [F] *Stay*, peri i aros. [G] *Help*, cynnorthwyo. [H] Hos. 6. 1. [I] Gwael. [J] Gen. 7. 21, 22. [K] Gen. 19. 24. [L] Num. 16. 31—33. [M] *Company*, llu o gymdeithion. Exod. 14. 28. [N] *Monarch*, unben, brenhin. Yma meddylir Nebuchodonosor. Dan. 4. 33. [O] *Pillar*, colofn. Gen. 19. 26. [P] Barn. 3. 20, 21. [Q] Cyfeirir yma at Senacherib, brenhin Assyria. Esay 37. 37, 38. [R] *Carouse*, yfed i ormodedd. Y "Monarch Syria," a olygir yma, oedd Belsassar. Dan. pen. 5. [S] Trigolion gwlad Canaan. Jos. 24. 12. [T] Act. 12. 23. [U] Barn. 5. 20. [V] Heb. 12. 29. [W] Anfonodd. Crybwyllir am hyn yn Histori Dinystr Bel a'r Ddraig, yn yr Apocrypha, adn. 33—37.

17.
Fe waredodd, wedi cyfarch,
Jonas hen, o fola'r morfarch;
Gwedi aros mewn cyfyngdra,
Dridiau a thairnos yn ei gylla.

18.
Fe borthodd Israel yn y newyn,
A bara angylion lawer blwyddyn;
Gwlawiodd arnynt gwails[X] a Manna,
Gymaint allai'u dannedd fwytta.

19.
Fe wnaeth i'r cigfrain borthi Elias,
A bara a chig, dros flwyddyn hirllaes,[Y]
A'i ddwyn atto hwyr a boreu,
I lan Cerith lle'r ymprydiai.[Z]

20.
Felly dichon Duw roi etto
Help i bawb ag alwant arno;
Nid yw lai ei rym a'i allu,
Y pryd hwn, na'r hen bryd hynny.

21.
Fel y mae Duw'n Hollalluog,
Felly mae e'n Dduw trugarog,
Yn hwyr ei lid, yn dda'i amynedd,
Goreu ei naws, a grasol rhyfedd.

22.
Mae'n drugarog[A] wrth ei natur,
Mae'n dosturiol t'wnt[B] i fesur;
Nid oes terfyn, pen, na diwedd,
Yn dragywydd o'i drugaredd.[C]

23.
Fel mae calon Tad caredig
Yn tosturio wrth blentyn diwryg,[D]
Mor dosturiol y tosturia
Calon Duw wrth bawb a'i hofna.[E]

## CLXXI.—AM GYFIAWNDER DUW.

1.
MAE Duw'n eistedd ar gyfiawnder,[A]
Rhwng y Brenhin mawr a'r begger,[B]
Cyn gymhwysed, ag ni wyra,
Er y byd, na hwnt nac yma.

2.
Ni respecta[C] Duw un person;
Ni thwyllir byth, ni lwa[D] esguson;
Ni ofna neb, ni ddengys ffafar,[E]
Ni wyra farn, ni dderbyn wobar.[F]

3.
Pe rhoid i Dduw sydd ar y ddaear,
O dda bydol, yn lle gwobar;
Ni thro'i yn unmodd, er y wneler,
Hwnt nac yma oddiwrth gyfiawnder.

4.
Duw a roddes ei Anwylyd,
I'w groeshoelio yn anhyfryd;
Fel na chai dynion nac angylion,
Dd'wedyd llai nâ'i fod yn gyfion.

5.
Nid oes pechod aller enwi,
Na fynn Duw ei gyfion gospi,
Naill ai yn yr hwn a'i gwnelo,
Neu yng Nghrist y Meichiau drosto.

6.
Holl bechodau rhai 'ddetholwys,
Duw a'u cospodd yng Nghrist eis-
Holl bechodau'r rhai gwrthodo,[iwys;[G]
Fe cospa Duw y sawl a'u gwnelo.

7.
Ni bydd un gair brwnt a dd'wettom,
Na ddrwg weithred ag a wnelom,
Na thraws amcan yn y meddwl,
Na fynn cyfiawnder gospi'r cwbwl.

8.
Ni bydd munud fach o amser,
Ac a dreuliom mewn diffeithder,[H]
Na gair ofer, na chrach wegi,
Na fynn cyfiawnder Duw ei gospi.

9.
Y maint y gasglo dyn trwy ffalster,[I]
Y maint y dreulio trwy ddiffeithder,
Y maint y gatwo trwy gybydd-dra,
A farna Duw i'r hatling eitha'.

10.
Os y cyfion Dduw a'n barna,
Wrth gyfiawnder prudd o'r eitha',
Ni bydd y gorau, a mwya'i scil,[J]
Yn abal atteb, un am fil.

[X] *Quails*, sofleir. [Y] Maith. [Z] 1 Bren. 17. 6. [A] Exod. 34. 6, 7. [B] Tu hwnt. [C] Psalm 118. 29. [D] Egwan, eiddil. [E] Psalm 103. 13.

[A] Psalm 89. 14. [B] *Beggar*, cardottyn. [C] *Respect*, derbyn wyneb. Deut. 10. 17. 2 Chron. 19. 7. Job 34. 19. [D] *Allow*, goddef, caniattau. [E] *Favour*, tiriondeb pleidgar. [F] Gwobr. [G] Esay 53. 4—6. [H] Drygioni. [I] *Falsity*, twyll, dichell. [J] *Skill*, medr, cyfrwystra.

### CLXXII.—AM DRUGAREDD DUW.

1.

MAE trugaredd Duw y lluoedd
Dros bob un o'i holl weithredoedd;[A]
Mae'n anfeidrol,[B] medd y 'Sgrythyr,
Nid oes arni bwys na mesur.

2.

Yn y dafol[C] mae Duw'n dodi
Ei gyfiawnder, a'i dosturi;
Mae'i dosturi yn drymmach lawer,
Yn y dafol nâ'i gyfiawnder.

3.

Mae e'n rhedeg ar adanedd,[D]
Pan ddel i ddangos ei drugaredd;
Mae'n llaes, mae'n llesg, mae'n draed o
Pan ddel i ddial, mae e'n drwm. [blwm,

4.

Mae e'n canlyn,[E] mae e'n ymhwedd,[F]
Am i'r gwaethaf wella'i fuchedd,
Mae'n rhoi pardwn[G] am aeth heibio,
Trwy ini droi yn gywir atto.

5.

Nid oes pechod ellir enwi,
Os 'difara dyn o ddifri',
Nas llwyr faddeu Duw'r trugaredd,
I'r dyn a wir wellhao'i fuchedd.[H]

6.

Fe faddeuodd i Ddafydd brophwyd
Fwrddra gwaedlyd casa' wnaethpwyd,[I]
Pan y llefodd yn 'difarus,
Am ei ffafor mor iradus.[J]

7.

Fe faddeuodd i dre' Ninif,
Yn drugarog feiau aneirif,
Yn ol iddi wir repento,[K]
A throi mewn sach a lludw atto.[L]

8.

Fe ga's[M] Israel, fil o weithiau,
Bardwn gantho am eu beiau;
Yn y man y troent atto,
Hwy gaent ras a ffafor gantho.

9.

Pan yr wylodd Mari Mag'len,
Wrth draed Crist am chwareu'r but-
Fe roes Crist yn rasol iddi [tain,
Llwyr faddeuant o'i holl frynti.[N]

10.

Wylwn, ninnau, a repentwn
Am ein beiau, ni gawn bardwn;
Mae'n barottach i'n pardyno,
Na ni i geisio pardwn gantho.

11.

Os gwnaethom fwrddra megis Dafydd,
Wylwn ddagrau hallton beunydd:
Gwisgwn sach,[O] awn ar ein gliniau,
Ni gawn ffafor megis yntau.

12.

Os addol'som ffiaidd ddelwau,
Os credasom i grach swynau,
Fel Manasses gwir repentwn
Am ein gwan-ffydd, ni gawn bardwn

13.

Os tyngasom lwon ofer,
Os gwadasom Grist fel Peder;
Am ei wadu, chwerw wylwn,
Megis Peder,[P] ni gawn bardwn.

14.

Os treisiasom dda'r gwirioniaid,
Megis Zache'r[Q] swyddog diriaid;
Rhown fel Zache'r da'n eu gwrthol,
Fe'n pardyna'n dra thosturiol.

15.

Os trown ni gyda'r mab afradus,
Oddiwrth ein beiau afreolus;
Crist a'n derbyn yn ei freichiau,
Ac a'n gresaw'n llawen adre'.

16.

Na wanffyddiwn am drugaredd,
Er diffeithed a fu'n buchedd;
Os trown atto trwy 'difeirwch,
Ni gawn ganddo ras a heddwch.

17.

Ped fai'n pechod ni cyn goched
Ag yw'r porphor coch neu'r 'sgarled;
Duw a'n gylch mor wynn a'r eira,[R]
Os ni'n ffyddlon a 'ddifara.

18.

Ped fu'sai Cain, a Saul, a Suddas,[S]
Yn troi at Dduw, er maint eu hanras,[T]
Ac mewn pryd yn gwir repento,
Yn siwr hwy gawsent bardwn gantho.

A Psalm 145. 9. B Psalm 108. 4. C Clorian. D Adenydd. E Parhau i geisio. F Ymbil, erfyn. G *Pardon*, maddeuant. H Esay 55. 7. I 2 Sam. 12. 13. J Wylofus. K *Repent*, edifarhau. L Jonah pen. 3. M Fe gafodd. N Luc 7. 37—48. O Sachlian, arwydd ymostyngiad a galar. Jonah 3. 8. P Mat. 26. 75. Q Zaccheus, y pen-publican. Luc 19. 2, &c. R Esay 1. 18. S Judas Iscariot. T Annuwioldeb.

19.
Pan droes y lleidr edifeiriol,
Ar y groes at Grist yn rasol;
Er ei droi yn dra diweddar,
Fe ga's y lleidr gantho ffafar.[U]

20.
Awn gan hynny'n eon atto,[V]
Ceisiwn ras a ffafor gantho;
Mae e'n barod iawn i'n derbyn,
A rhoi pardon ond ei ofyn.

21.
Y mae'n pardwn gwedi'i selu,[W]
A gwaed y Prynwr mawr, Crist Iesu;
Mae Duw'n gwaeddi, mae Duw'n galw,
Arnom bawb, am dderbyn hwnnw.

22.
Os ni a dderbyn ei drugaredd,
Ac ymrown i wella'n buchedd;
Duw anghofia'r beiau a basswys,[X]
Ac fe'n derbyn i baradwys.

23.
Ti weli'n awr fod Duw'n drugarog,
Yn rasol iawn yn daran bwyllog;[Y]
Yn hwyr i lid, yn hawdd i faddeu,
Os trown atto oddiwrth ein beiau.

24.
Ond os ninnau gamarfera,
Ei amynedd mawr o'r mwya';
Yna'r aiff Duw'r holl drugaredd,
Yn Dduw cyfion yn y diwedd.[Z]

25.
Yno ennyn ei lidiowgrwydd,
A'i ddigofaint yn dra ebrwydd,
Ac ni cheir, er maint a grier,[A]
Yn ol hynny, ond cyfiawnder.[B]

## CLXXIII.—AM RAGLUNIAETH DUW.

1.
O GELLI di was'naethu Duw,
Yn ol ei air tra fyddech byw;
Dy feistr Crist a ddyry'n ddifrad,
Fwyd a diod it' a dillad.[A]

2.
Os gofali fel dyn grasol,
Am was'naethu dy Dad nefol;
Duw ofala am faentaenaeth[B]
Y rhai a wnelo ei wasanaeth.

3.
Cyn gadawo Duw gorucha'
Ar ei weision eisiau bara;
Fe bair Duw i'r brain eu porthi,
Fel Elias yn ei dlodi.[C]

4.
Ofer codi'n fore'r borau,[D]
Ofer gwylied hir nosweithiau,
Ofer bwytta'n bara'n gynnil,
Oni lwydda Duw dy orchwyl.

5.
Os Duw ni adeilada'th dŷ,
Os Duw ni cheidw'r dref yn hŷ:
Dy dai âi lawr, dy dref 'ddifethir,
A'r maint a feddech di anrheithir.

## CLXXIV.—DUW SY'N TREFNU POB PETH.

1.
NID oes drwg na da 'mhlith dynion,[A]
Nad Duw grasol sy'n ei ddanfon;
Nid oes llymder, nid oes trwbwl,[B]
Nad bys Duw sy'n trefnu'r cwbwl.

2.
O'i gyfiawnder mae e'n danfon,
Ar y byd ddialau trymion;
O'i drugaredd mae e'n rhoddi
I blant dynion bob daioni.

3.
Nid oes ffawd, na siawns, na fforten,[C]
Yn rheoli ar y ddaeren:
Duw, yn ol ei dduwiol feddwl,
Sy'n rheoli oll a chwbwl.

4.
Da, a drwg, esmwythder, trallod,
Bendith, melldith, iechyd, nychdod,
Heddwch, rhyfel, newyn, amldra,
Sydd wrth bwyntment[D] Duw gorucha'.

[U] Luc 23. 43. [V] Heb. 4. 16. [W] *Seal*, cadarnhau, sello. [X] A basiodd, a aethant heibio. [Y] Yn dra ymarhous. [Z] Psalm 7. 12. [A] *Cry*, llefain. [B] Diar. 1. 24–31.

[A] Heb. 13. 5. [B] *Maintenance*, cynhaliaeth. [C] 1 Bren. 17. 6. [D] Psalm 127. 1, 2.

[A] Esay 45. 7. Amos 3. 6. [B] *Trouble*, trallod. [C] *Fate, chance, fortune*, damweiniau drwg neu dda. [D] *Appointment*, trefniad, gosodiad.

5.
Duw sydd awdwr cosp a thrallod,
A'r diawl yw tad pob rhyw bechod ;[E]
Dyn sy'n pechu, Duw sy'n dial,
A'r diawl sy'n annog dyn anwadal.

6.
Nid yw Duw yn awdwr pechod,
Na drygioni, (Duw'n ei wybod;)[F]
Duw sy'n danfon pob dialau,
Pechod dyn y diawl a'i parai.

7.
Mae'n rheoli nef a daear,
Y môr a'r maint sydd ynddo'n hygar;
Ac yn trefnu'n daran garcus,[G]
Fawr a bach yn ol ei 'wyllys.

8.
Dyn ac angel, haul a lleuad,
Pysgod, adar, pob ymlusgiad,
Dw'r a thân, a gwynt a gwlaw,
Sydd wrth lywodraeth dan ei law.[H]

9.
Mae Duw'n cadw, mae Duw'n cynnal,
Pob creadur trwy fawr ofal;
Mae e'n porthi, mae'n maentaeno[I]
Y byd mawr a'r maint sydd ynddo.

10.
Mae e'n trefnu, mae e'n gosod,
Mae'n rheoli'r byd yn wastod ;[J]
A phob gronyn ag sydd yntho,
Wrth ei 'wyllys fel y mynno.

11.
Mae'n dosparthu oll a chwbwl,
Fawr a bychan wrth ei feddwl:
Fel na ddichon dim ddigwyddo,
Ond y modd y bo'n appwyntio.[K]

12.
Ni ddisgyn ar y ddaear dderyn,[L]
Ni chwymp o wallt ein pennau flew- [yn,[M]
Ni thyf y gwellt, ni'lydna ewigod,
Ond fel y bo Duw mawr yn gosod.

13.
Y peth sydd fwya' i maes o drefen,
Yn ngolwg dyn yn dra anniben,
Mae Duw'n ei droi, o fodd neu anfodd,
I'r un diwedd ag y pwyntiodd.

14.
Nid oes dim a all ddigwyddo,
Ond y dull, a'r modd y mynno;
Y peth a welom ni'n wrth'nebus,
Maent hwy'n ol ei ddirgel 'wyllys.

## CLXXV.—GOFAL DUW AM Y CRISTIONOGION.

1.
Od wyt ti Gristion, cred yng Nghrist,
Cod dy galon, na fydd drist;
Cenfydd pwy sydd fugail arnad,
A phwy geidwad sy'n dy warchad.

2.
'Rwyt ti'n rhodio ym mhlith angylion,[A]
Bob yr awr, od wyt ti Gristion ;
Y mae'r rhain yn disgwyl arnad,
Wrth orchymyn Crist, dy Geidwad.

3.
Ni bu brenhin mor ddiogel,
Rhwng eu gard[B] yn mhlith ei gene'l,
Ag yw'r gwanna o'r Crist'nogion,
Yng nghyfeillach gwir angylion.

4.
Gellir cadw'r haul a'r golau,
Rhag ymddangos iti weithiau;
Ond ni ddichon yr holl ynys
Gadw'r angel oddiwrth d'ystlys.[C]

5.
Ni all clo, na chae, na chysgod,
Rwystro angel Duw i'th warchod;
Dos lle mynnech, fe ddaw hwnnw,
I'th ddiddanu ac i'th galw.

6.
Er nad ydyw'r gwir angylion
Yn weledig i'r Crist'nogion ;
Maent hwy'n ddyfal iawn er hynny,
Yn eu gwarchod a'u castellu.[D]

7.
Er bod llawer o blant dynion
Yn dirmygu'r gwir Grist'nogion;
Mae angylion Duw, er hyny,
Yn eu tendio[E] a'u gwas'naethu.

[E] Ioan 8. 44. [F] Iago 1. 13. [G] Yn dra gofalus. [H] Dan. 4. 35. [I] *Maintain*, cynnal. [J] Yn wastadol. [K] *Appoint*, trefnu. [L] Aderyn. [M] Mat. 10. 30, 31.

[A] Heb. 1. 4. [B] *Guard*, gosgordd, llu o filwyr i amddiffyn brenhin. [C] Barnai rhai hen dduwinyddion, fod angel neillduol gyda phob dyn duwiol yn barhaus, er ei amddiffyn rhag drwg. Gelwid ef yn "Angel gwarcheidiol." At hyn y cyfeiria y bardd, pan ddywed,—

"Mae angel bach tirion, o olwg y byd,
"A werchyd fy mywyd i mi."

[D] Psalm 34. 7. [E] *Tend*, gweini iddynt.

## CLXXVI.—GORUCHAFIAETH CRIST AR SATAN.[A]

1.

Mae holl allweddau uffern drist,
Yn llaw ein prynwr, Iesu Grist;[B]
Ni faidd diawl nac angel dwtsio[C]
Neb nes cael gan Grist ei lŵo.[D]

2.

Er bod Crist yn rhwymo Satan,
Wrth y gadwyn â'i gynllyfan;[E]
Mae'n enbydus i neb fentro[F]
Fyn'd o hyd y gadwyn atto.

3.

Cadw gwmpas[G] y gorchymmyn,
Nid rhaid iti ofni'r gelyn:
Ond os ai di droedfedd drosto,
Fe brawf[H] Satan dy ddefowro.[I]

4.

Pe cai Satan ladd y fynnai,
Pob dyn duwiol fe lwyr lyngcai;
Ond ni faidd ef lyngcu dafad,
Chwaithach dyn, nes rho Duw gennad.

5.

Y mae'r Arglwydd yn cenhadu,
I'r ddiawl ddifa, a thraflyngcu,
Yr annuwiol a fo'n gwrthod
Y gwir Dduw, a ddeddfau'r Drindod.

6.

Mae bach yn ffroen, mae ffrwyn yn safan,
Mae cadwyn gref am fwnwg[J] Satan;
Ni all y diawl er maint ei newyn,
Heb gennad Crist, ddifetha mochyn.

7.

Mae'r sarph dan sowdwl Hâd y wraig,
Mae'r Oen yn drech na'r llew â'r ddraig; [dorchog,
Mae'r diawl gan Grist wrth gadwyn
Heb gennad Crist ni faidd ef ysgog.

8.

Cyn 'speilio Job, gofynodd gennad,[K]
Cyn nithio Peder gwnaeth ddymuniad;[L]
Cyn myn'd i'r moch fe orfu gofyn,[M]
Heb gennad Crist ni faidd ef gychwyn.

## CLXXVII.—GORUCHAFIAETH CRIST AR ANGAU.

1.

Crist sy'n cadw'r holl allweddau,
S'ar bwll uffern ac ar angau;[A]
Fel na feiddiant ladd na derbyn
Dyn, nes pwynto'r[B] Iesu iddyn'.

2.

Ped fai Crist yn goddef angeu
Lladd a difa'r maint a fynnai,
Ni adawai'r angau gwaedlyd
Ddyn heb ladd a dwyn ei fywyd.

3.

Ni bu'r môr fwy'i chwant i'n soddi,
Pan fo'i donnau yn ymgodi,
Nag yw'r angau i'n defowro,[C]
Pe gadawai'r Iesu iddo.

4.

Er maint yw chwant yr angau gwaedlyd,
Lladd ar unwaith blant yr hollfyd;
Ni faidd angau ladd y gwannaf,
Nes cael cennad Crist yn gyntaf.

5.

Mae'r angau glas yn siwr[D] dan glo,
Gan Grist, Mab Duw, ni thry ef dro;
Ni cherdda gam, ni rodia allan,
Ond wrth bwyntment[E] Crist ei hunan.

6.

Nid wrth siawns[F] y digwydd angau,
Doed pan ddelo am ein pennau;
Ond wrth bwyntment Crist, sy'n llun-
Y man, y modd, a'r pryd y delo. [io

7.

Ofnwn Grist, nac ofnwn angau,
Crist sy'n cadw hwn dan warchae:
Ni ddaw angau byth i'n ceisio,
Nes bo'r Iesu yn ei bwynto.

[A] Tebygol bod hon, a rhai o'r canau canlynol, wedi eu bwriadu yn helaethiad ar y Gân a elwir "Crist sydd oll yn oll;" ac y mae ynddynt rai pennillion agos yr un fath ag yn hono. [B] Dat. 1. 18. [C] *Touch*, cyffwrdd. [D] *Allow*, caniattau. [E] Carrai i arwain ci. [F] *Venture*, anturio. [G] *Compass*, cylch. [H] Fe gynnygiai. [I] *Devour*, difa, bwytta. [J] Mwngwl, gwddf. [K] Job 1. 11, 12. [L] Luc 22. 31. [M] Marc 5. 12.

[A] Dat. 1. 18. [B] *Appoint*, trefnu. [C] *Devour*, difetha. [D] *Sure*, sicr. [E] *Appointment*, trefniad. [F] *Chance*, damwain.

### CLXXVIII.—RHAN O'R CHWECHED BENNOD O'R DATGUDDIAD.

1.
PEDWAR march, o feirch rhyfelog,
Sydd yn helw'r Hollalluog;
Ni all nef na dae'r eu stoppi,[A]
Na neb ond Crist all eu rheoli.

2.
Gwyn, a du, a choch, a glas,
Yw lliwiau'r meirch sydd gynt eu pas[B]
Na'r awel wynt, a mwy eu cryfdwr
Na rhuthrau'r moroedd mwya'u cynhwr'.

3.
Y cyn[C] farch gwyn yw'r 'fengyl rasol,
Yr ail farch du yw newyn marwol,
Y ceffyll coch yw rhyfel gwaedlyd,
A'r cel[D] glas yw'r angau aethlyd.

4.
Mae'r pedwar hyn dan sel dan sawd,[E]
Dan glo gan Grist ein hanwyl frawd,
Ni chyffry un o'r stal[F] allan,
Ond wrth bwyntment[G] ef ei hunan.

5.
Pan archo Crist i'r rhai'n ryfela,
Hwy ant i maes, dan ladd a difa;
Ni all y byd i gyd eu rhwystro,
Na neb ond Crist eu troi a'u dattro.[H]

6.
Ni ddaw newyn, ni ddaw rhyfel,
Ni ddaw distryw tost a thrafel,[I]
Ar y byd na neb sydd ynddo,
Nes i Grist yn gynta'u lwo.[J]

7.
Crist sydd dan ei Dad yn ordro,[K]
Cwrs[L] y byd a'r maint sydd ynddo;
Fel na ddigwydd dim damweiniad,
Heb ei gennad, a'i ragweliad.

8.
Crist sy'n cadw'r holl allweddau,
Sydd ar uffern a'i holl gellau;
Nid oes ffwrn, na cherwyn ferwi,
Na bo Crist ag allwedd arni.

9.
Y mae'r ddraig wrth gadwyn gantho,
Yn y pwll â cloion arno;
Ni ddaw'r diawl i maes o'r dwnsiwn,[M]
Nes iddo gael gan Grist gommissiwn.[N]

10.
Er bod Satan fel llew gwaedlyd,
Yn dymuno llyngcu'r hollfyd;
Ni chaiff Satan neb, er hynny,
Ond yr hwn 'wrthodo'r Iesu.

### CLXXIX.—NEB OND CRIST.

1.
NI all neb ddad-ddigio'r Drindod,
Peri'n hedd, na dwyn ein pechod,
Na thalu'n d'led,[A] na phrynu dyn,
Na'n dwyn at Dduw, ond Crist ei hun.[B]

2.
Nid oes gwaed all olchi pechod,
Prynu'r eglwys, selio'r cymmod,
Talu rhanswm,[C] gorfod[D] Satan,
Ond gwaed gwerthfawr Crist ei hunan.

3.
Na chymmysg waed dy Brynwr grasol,
A gwaed merthyr nac apostol:
Ni chydfydd gwaed y gwir Dduw cyfion,
A llygredig waed ei weision.

4.
Ni all pluf yr eryr odde',
Un pluf arall lle bo'n eiste';
Ni all gwaed mab Duw mo'r cydfod,
Gyda gwaed sydd lawn o bechod.

5.
Ni âd yr haul i ddyfod atti,
Lamp na chanwyll heb ei choegi;[E]
B'wedd y goddef haul cyfiawnder,
A gwaed dim aflan fod yn bartner.[F]

### CLXXX.—SERCH AT GRIST.

1.
NI bu Samson fwy ei syched,
Am gael dw'r yn ol eu ludded;[A]
Nag yw fy syched innau am Grist,
I ddiddanu 'nghalon drist.

2.
Fel y brefa'r hydd am ddyfroedd,[B]
A'r tir cras am wlaw a gwlithoedd;
Felly f'enaid sy'n hiraethu,
Am waed Iesu i'm diddanu.

[A] *Stop*, attal, rhwystro. [B] *Pace*, cerddediad, rhediad. [C] Cyntaf. [D] Ceffyl, march. [E] Dan awdurdod. [F] *Stall*, presseb. [G] *Appointment*, ordeiniad, gorchymmyn. [H] Troi yn ol. [I] *Travail*, trallod. [J] *Allow*, cenhadu. [K] *Order*, trefnu. llywodraethu. [L] *Course*, helynt, rhediad. [M] *Dungeon*, daeardy. [N] *Commission*, awdurdod.

[A] Dyled. [B] Act. 4. 12. [C] *Ransom*, pridwerth, iawn. [D] Gorchfygu. [E] Heb ei gwneud yn ddieffaith. [F] *Partner*, cyfrannog.

[A] Barn. 15. 18. [B] Psalm 42. 1, 2.

3.
Ni bu ar Ahab fwy o chwant,
I gael gwinllan Naboth gynt;[C]
Nag yw f'enaid i feddiannu
Un mab Duw a fu'n fy mhrynu.

4.
Cariad gwresog i Dduw a Christ,
Sy'n dofi awch[D] fy nhrachwant trist
At uchelfraint a blys cnawdol,
At gwrw, gwin, a golud bydol.

5.
Fel y llyngcodd neidir Moses,
Nadroedd mawrion Pharo a Jambres;[E]
Felly y llyngcodd cariad Crist
Holl drachwantau 'nghalon drist.

6.
Nid yw trysorau'r byd ond tom,
A phridd di-bris i'm calon drom;
Os cyff'lybir mewn cyfyngdwr,
I wybodaeth am fy Mhrynwr.

7.
Os llaw, os troed, os dim a'm rhwystra,
I fyn'd at Grist y mwyaf gara';
Torr fy llaw, a thynn fy llygad,[F]
Gollwng fi at Grist fy Ngheidwad.

8.
Os tad, os mam, os mab, os merch,
Os gwraig, os plant, a gais, o'u serch,
Fy nghadw'n ol oddiwrth fy Helpwr,
Dros fola'r rhai'n af at fy Mhrynwr.[G]

9.
Gwell gan fy enaid clwyfus trist,
Un droppyn[H] bach o waed fy Nghrist,
I iachau archollion pechod,
Na chael golud cant a'u sorod.

10.
Cymmered eraill aur ac arian,
Bwydydd moethus, gwisgoedd sidan,
Uchel fraint y byd a'i bethau;
Ond rhoed Duw ei Fab i minnau.

11.
Bydd heb fwyd i dorri'th newyn,
Bydd heb grys i guddio'th groenyn,
Bydd heb ddim ond golau'r lleuad,
Cyn y boch heb Grist dy Geidwad.

12.
Goddef draha, goddef garchar,
Godde'th gladdu dan y ddaear;
Godde'th ladd, a godde'th losgi,
Cyn y gwadech Crist o ddifri'.

13.
Rhoed Duw imi Grist yn gyntaf,
Rhoed a fynno imi'n nesaf,
Os caf Grist, mi gaf wir ddigon;
Os ni chaf Grist, fe dyrr fy nghalon.

## CLXXXI.—AM BECHOD GWREIDDIOL.

CWESTIWN.

FY Mugail[A] prudd[B] caredig,
A dd'wedwch im' yn ddiddyg,
A ddamniwyd[C] pawb o'r byd heb nâ,
Am bechod Adda'n unig?

ATTEB.

Mae'r gyfraith a'r efengyl,
Mae Crist a'i dystion ddengmil,
Mae cred[D] i gyd, a'n bedydd gwynn,
Yn dangos hyn yn rhugyl.

CWESTIWN.

A ddamnodd Duw yn Adda
Y byd i gyd, am fwytta
Y ffrwyth gw'arddedig yn ei wŷn,
Heb ado i un ddiangfa?

ATTEB.

Yn Adda i gyd y'n llygrwyd,
Yn Adda fe'n condemnwyd;
Yn Adda collwyd pob rhyw ddyn,
Yng Nghrist ei hun fe'n cadwyd.[E]

CWESTIWN.

Pa wedd y gellid cospi
Y plant, am fai'r rhieni,
Oedd chwe' mil o flynyddau tyn,
A chwaneg cyn eu geni?

ATTEB.

Fel y gall brenhin cyfion,
Ddiddymmu plant ac wyrion,
Am y treson[F] blin a'r brad,
A wnelo'r tad anffyddlon.

Pan gwympodd Adda gynta',
Fe gwympodd pawb yn Adda;[G]
Ni ddiangodd dyn o'r byd,
O'i ofid ef a'i draha.[H]

[C] 1 Bren. 21. 4. [D] Awydd. [E] Exod. 7. 12. Hyspysa yr Apostol Paul mai enwau prif swyddogion yr Aipht oedd Jannes a Jambres. 2 Tim. 3. 8. [F] Mat. 5. 29 30. [G] Mat. 10. 39. [H] *Drop*, dafn, diferyn.

[A] Ymddengys fod hwn wedi ei fwriadu fel ymddiddan rhwng un o'r plwyfolion a'r Offeiriad. [B] Ystyriol. [C] *Damn*, collfarnu. [D] Y rhai a broffesant Gristionogaeth. [E] Rhuf. 5. 18. [F] *Treason*, bradwriaeth. [G] 1 Cor. 15. 22, [H] Trosedd.

## CLXXXII.—AM EWYLLYS RHYDD.

1.
MAE meddylfryd pob rhyw galon,
Ar ddrygioni bob amseron ;[A]
Na all dyn, nes adgenhedlir,
Na bwriadu da, na'i wneuthur.

2.
Er cwymp Adda nid oes undyn,
All droi at Dduw a'i waith ei hun ;[B]
Na boddio Duw, a'i wir was'naethu,
Nes i Dduw ei adgenhedlu.

3.
Mae gan ddyn, wrth gwrs[C] naturiaeth,
Rhydd-did meddwl at gynhaliaeth ;
Fel y mae gan bawb o'r Twrcod,[D]
A'r Paganiaid,[E] a'r 'nifeilod.

4.
Fe all dyn o'i naws ei hunan,
Weithio gwaith gw'arddedig Satan ;
Ond ni all un dyn er hynny,
Wneuthur da heb ras i'w helpu.

5.
Fe wnaeth Duw ddyn ar y dechreu,
Fel y gallsai geisio'r goreu ;[F]
Fe droes Satan ddyn trwy bechod,
I fwriadu drwg yn wastod.

6.
B'wedd y daw o galon aflan,
Fwriad da un amser allan ;
Nes i Grist â'i waed ei scwrio,[G]
Ac â'i Yspryd ei sancteiddio ?

7.
B'wedd y dwg ysgallen ffigys,
Na 'fallen sur afalau melus :
Na drain pigog rawnwin peraidd,[H]
Na dyn aflan feddwl sanctaidd ?

8.
A ry ffynnon hallt ddw'r melus.[I]
A geir cyw da o'r ŵy fo breccus ;[J]
A ddaw glendid o beth aflan,[K]
Na dim da o ddrygddyn allan ?

9.
A all dyn marw mewn drygioni,
Wneuthur da, ac adgyfodi ;
A'r dall wel'd y llwybyr golau,
Nes i Grist oleuo'i lwybrau ?

10.
'Rym ni'n feirw, 'rym ni'n ddeillion,
'Rym ni'n ddrwg oll, ac yn llymion ;
B'wedd y gall y marw cibddall,
Wneuthur un twrn[L] da, na'i ddyall ?

11.
Rhaid i Grist ein hadgyfodi,
A goleuo'n dall dywyllni ;
Cyn y gallo un pechadur,
Wir 'wyllysio da, na'i wneuthur.

12.
Nes ail-eni'r dyn o'r Yspryd,
A gras newid ei feddylfryd,
A goleuo ei wybodaeth,
Ni wna ddim daioni ysywaeth.

13.
Ni all dyn o'i naws ei hunan,
Feddwl dim ond pethau aflan ;
Os gwell pethau a feddyliwn,
Oddiwrth Dduw y daw'r fath fosiwn.[M]

14.
Ni all dyn naturiol ddyall,
Pethau Duw, y mae mor anghall ;
Y pethau penna' ag archo Duw,
I synwyr cnawdol, ffoled yw.[N]

15.
Ni wna undyn tra fytho byw,
Ddim daioni heb Yspryd Duw ;
Fel nas dichon unrhyw impyn[O]
Ddwyn dim ffrwythau da, heb wreiddyn.

## CLXXXIII.—CYNGHOR I EDIFARHAU'N GLAU.[A]

1.
OCH, ti bechaist, f'enaid ganwaith,
Do mi wn a chanwaith eilwaith !
Beth er hyn, lle cas[B] y Drindod
Iawn gan Grist am dy holl bechod ?

2.
Er it' bechu fil o weithiau,
Lle 'difaraist am dy feiau,
Mae'r Duw mawr yn rhoi maddeuant,
Er mwyn Crist i'r rhai 'difarant.

[A] Gen. 6. 5. [B] Ioan 6. 44. [C] *Course*, trefn. [D] Tyrciaid. [E] Trigolion y gwledydd sydd heb Gristionogaeth. [F] Preg. 7. 39. [G] *Scour*, glanhau, carthu. [H] Mat. 7. 16. [I] Iago 3. 11. [J] Drylliedig. [K] Job 1. 44. [L] *Turn*, tro, gweithred. [M] *Motion*, cynhyrfiad. [N] 1 Cor. 2. 14. [O] Cangthen, brigyn.

[A] Yn fuan. [B] Y cafodd.

3.

Pa'm y collodd Crist ei wa'd,
Ond ei offrwm yn aberth rhad,
I'w Dad nefol, i gael golchi
Pawb ei blant oddiwrth eu brynti?

4.

A fynni fod yn ddyn heb feiau,
Lle na bu un ond Crist a allai;[C]
A fynn di'th gadw (anwir ddyn)
O'th waith, a'th rym, a'th nerth dy hun?

5.

Cesglwch fanna cyn y toddo,
Ewch i'r nef tr'o'r[D] porth yn natclo;
De'wch i'r wledd y dydd y'ch galwer,
Onide fe â'ch gwaith yn ofer.

6.

Ceisiwch Grist mewn pryd, tra caffer,
Gelwch arno tro'n eich cyfer;[E]
Tra grasol yw, tro'r amser gras,
Tost a phrin o hynny i ma's.

7.

Clo dy ddrws cyn dwyn dy farch,
O ceisi ras, tro'n amser, arch;
Ni wyddys pwy fydd byw y fory,
Os troi at Dduw, tro atto heddy'.[F]

8.

Rhedwch bawb, cyn colli'r gynglwst,[G]
Tra fo'i'n heddyw, gwnewch y can-[ffrwst;][H]
Ni thal wedi colli'r goron,
Rhedeg mwy, pe torrai'r galon.

9.

Dos i forio gyd â'r llanw,
Cwyn'[I] dy hwyl tro'r gwynt yn hoyw;
Taro'r haiarn tra fo'n dwym,
Tr'o Dduw'n agos gwna dy gŵyn.

10.

Cyttuna â'th gâs[J] cyn boch di farw;
Gwna iawn am drais, tro peth i'th helw;[K]
Gwell talu'n ol na myn'd i garchar,
Ni thelir byth os doi'n ddiweddar.

11.

Pa ham yr oedwn hyd y fory,
Lle arch Duw i'n wella heddy';
Dan wregys Crist mae allwedd angau;[L]
Ni ŵyr ond Duw rifedi'n dyddiau.

12.

Edifara cynta' gallech,
Ti ymg'ledi pan ddihiriech;[M]
Rhag i'th galon ymgaledu,
Duw fynn it' repento[N] heddy'.[O]

13.

Pan lwydo'r gwallt, pan bwlo'r clustiau,
Pan ddottio'r[P] pen, pan blygo'r garrau;
Pan ffaelo'r cof, pan fetho'r cyfri',
Mae'n hwyr i lawer edifaru.

14.

Wylodd Esau,[Q] begiodd[R] Deifes,[S]
Curo'r porth a wnai'r pum' llangces;[T]
Ni chai un o'r tri eu gwrando,
Eisiau ym mhryd i'r rhai'n repento.

15.

Yn awr yw'r amser goreu i ma's,
Yn awr yw dydd ac amser gras;
Yn awr y cynnyg Crist it' heddwch,
Yn awr y gofyn dy 'difeirwch.

16.

Heddy' y cynnyg Duw drugaredd,[U]
Os repenti am dy drosedd;
Os gwrthodi tro Duw'n cynnyg,
F'allai na chait byth mor ddiddig.

17.

Yn glaf ti lefi gan dy flinder,
Yn glaf ti geisi gael esmwythder;
Fe wna'r gwaethaf o'r 'nifeilod,[V]
Hyn fel tithau yn eu trallod.

18.

Fe lefa'r hwch, fe uda'r ci,
Fe floeddia'r blaidd, fe 'sgrecha'r bi,[W]
Fe wichia'r arth pan fo mewn trafael,[X]
A lefi di nes llefo'r 'nifail?

19.

Nid 'difeirwch ydyw llefain,
Pan fo'r angau glas yn d'arwain;
Ond 'difeirwch yw dolurio,
Am dorri cyfraith Duw, a'i ddigio.

20.

Pob dyn drwg a lef gan ange',
Pan gyrro Duw i'w ddwyn i'r frawd-[le;]
Ond pob duwiol tra fo byw,
A wyla'n dost am ddigio Duw.

C Heb. 4. 15. D Tra fyddo. E Esay 55. 6. F 2 Cor. 6. 2. Heb. 4. 7. G Cyngwystl, gwobr. H Y brys mwyaf. I Cyfod. J Gelyn. Mat. 5. 25. K Yn dy feddiant. L Dat. 1. 18. M Oedi, aros. N *Repent*, edifarhau. O Heb. 3. 13. P *Doat*, gwanhau, ffoli. Q Heb. 12. 16, 17. R *Beg*, deisyf. S *Dives*, (Lladln) gŵr goludog. T Mat. 25. 11, 12. U Esay 1. 18. V Anifeiliaid. W Piogen, pioden. X *Travail*, trallod, poen.

## CLXXXIV.—ANNOGAETH I EDIFARHAU.

1.
PECHOD lleiaf heb 'difeirwch,
Sy'n ein taflu i'r tywyllwch,
Am y mwyaf, os 'difarwn,
Ni gawn ffafor,[A] gras, a phardwn.[B]

2.
Trugaredd Duw, yng Nghrist ei hun,
Sydd gan' mil mwy na phechod dyn,
Lle'r amlhaodd pechod cas;
Yn rhagor yr amlhaodd gras.[C]

3.
Y mae Duw yn tyngu'n brysur,
Na ddymunai i bechadur
Farw,[D] er cynddrwg dyn a fytho,[D]
Ond cael gras i wir ripento.[E]

4.
Er bod trymmach dy bechodau,
Nag y gall dy gefen odde';
Y mae Crist yn d'alw atto,
Ac yn barod i'th ddilwytho.[F]

5.
Er it' aros yn ddiweddar,
Etto os byddi wir edifar;
Nid yw'n rhy ddiweddar etto,
I gael gras a ffafar gantho.

6.
Tra fo'r udgorn etto heb ganu,[G]
Tra fo'r 'fengyl yn pregethu;
Tra fo'r angeu yn dy resto,[H]
Nid diweddar it' repento.

7.
Y mae etto iti'n ddifai,[I]
Gochel oedi rhag dialau;
Hi fydd gwedi'n rhy ddiweddar,
I edifaru yn y carchar.

8.
F'all Duw faddeu'r beiau mwyaf,
It' mor rhwydd a'r pechod lleiaf;
Fel y gallodd godi Lasrws,[J]
O'r bedd mor rhwydd a merch Jairws.[K]

9.
Fe faddeuodd feiau Ninif.[L]
Er eu bod hwy yn aneirif:
Cyn ebrwydded a bai Jonas,
'Rhwn nid oedd yn ddigred atgas.

10.
Fe iachaes y dyn clafecca,[M]
A fu'n hir wrth lynn Bethesda,[N]
Mor ebrwydded a chlust Malchws.[O]
Yr awr gyntaf ag y cwrddws.

11.
Na chais edrych ar dy bechod,
Gwel yr Oen a laddwyd drosod;[P]
Ac nac edrych faint dy gamwedd,
Ond gwel faint yw ei fawr drugaredd.

12.
Pechod Sodom a ddringhadodd
Yn dra uchel, cuwch a'r nefoedd[Q]
Ond trugaredd Duw, medd Dafydd,
Sydd yn uwch na'r nef a'i chaerydd.[R]

13.
Pe bai'th bechod brwnt mor atgas,
Ag oedd pechod Cain a Suddas:[S]
Fe all Crist mor rhwydd ei faddeu,
A phechodau'r saint a'i carai.

14.
Fe all faddeu'r mil talentau
It' mor rhwydd a maddeu'r ddimmai:
Iachau'r parlys a'r dolurion,
Mor ddiball a mwyth y ddyrton.

15.
Fe faddeuodd i Fanasses,
Ei fileindra, a'i ddrwg hanes:[T]
Mor hawdd, mor rhwydd ac i Aaron,
Wneuthur llo i'r bobol daerion.[U]

16.
Nid oes pechod nac anwiredd,
All dy rwystro i gael trugaredd;
Ond annuwiol anghrediniaeth,[V]
A bod heb 'difaru[W] ysywaeth.

## CLXXXV.—CYFFES PECHADUR.

1.
BUM ryfygus fel y cewri,
Ddaeth a'r diluw mawr i'w boddi;
Ac mor anllad a phlant Sodom,
Ac yn haeddu rhan o'u storom.[A]

2.
Ni bu Lot ar fynydd feddwach,
Ni bu yn ei feddwdod fryntach;
Ni bu ei ferched mor ddisynwyr;
Gwae fi cynddrwg yw fy natur!

[A] *Favour*, ewyllys da. [B] *Pardon*, maddeuant. [C] Rhuf. 5. 20. [D] Ezec. 33. 11. [E] *Repent*, edifarhau. [F] Mat. 11. 28. [G] I alw i'r farn. 1 Cor. 15. 52. 1 Thes. 4. 16. [H] *Arrest*, cymmeryd yn garcharor. [I] Yn amserol, yn brydlawn. [J] Lazarus o Bethania. Ioan 11. 43, 44. [K] Jai us. Marc 5. 42. [L] Ninefeh. Jonah 3. 10. [M] Afiach. [N] Ioan 5. 2– 9. [O] Malchus, gwas yr arch-offeiriad. Luc 22. 50. Ioan 18. 10. [P] Ioan 1. 29. [Q] Gen. 18. 20, 21. [R] Psalm 108. 4. [S] Judas Iscariot. [T] 2 Chron. 33. 19. [U] Exod. 32. 14. [V] Ioan 3. 36. [W] Rhuf. 2. 5.

[A] *Storm*, tymhestl.

3.
Ni bu Esau erioed barottach,
Werthu ei fraint am gawl o ddeiliach,
Nag wyf finnau i werthu hwnt
Y nefoedd braf[B] am bleser brwnt.

4.
Nid wy'n caru offeiriaid ffyddlon,
Mwy na Chorah'n caru Aaron;
Nac yn gwrando cynghor Moesen,
Mwy na'r bwch yn gwrando'r fferen.[C]

5.
Nid wy'n cydfod dim â'r Manna,
Mae'n wrth'nebus yn fy nghylla;
Pwmps[D] yr Aipht sydd felus genny'.
Ond y Manna 'rwy'n wrth'nebu.

6.
Er i'r danllyd sarph fy mrathu,
Etto er hyn nid wy'n 'wyllysu
Edrych ar y Sarph bres hyfryd,
A gododd Duw i gadw 'mywyd.[E]

7.
Gwell yw gennyf farw'n Bagan,
Ym medd fy mlys, na myn'd i Ganaan;
A'm llwyr ddifa yn fy mrynti,
Nag ymadael â'm drygioni.

8.
Treuliais f'oes, a'm da, a'm doniau,
Fel mab afrad mewn tafarnau;
Er i'r newyn du fy mhricco[F]
At fy nhad: ni throis i atto.

9.
Megis Demas mi'th adewais,
Megis Saul,[G] mi a'th anrheithiais,
Megis Herod mi'th watwarwn,
Megis Iuddew cas mi'th gablwn.

10.
Beth sydd well na phrudd gyffesu,
Gyda'r publican, a'th garu;
Wylo megis Mair yn irad,[H]
A throi fel mab afradlon attad.

11.
'Rwyt ti'n dirion, 'rwyt ti'n bwyllog,
'Rwyt ti'n Dduw a Thad trugarog,
Ac yn hawsach genyt faddeu,
Nag yw gennyf adde' 'meiau.

12.
Gelli faddeu'r mil talentau
Im' mor rhwydd a maddeu'r ddimmai;
Maddeu'r llawer fel ychydig,
Maddeu'r cwbwl im' yn ddiddig.

13.
Ni feiddiaf godi fy ngolygon,
Gan faint fy mai, ond curo 'nwyfron,
A chrio'n[I] dost â chalon brysur,
Duw fydd dirion im' bechadur.[J]

14.
Mae fy meiau cas a'm pechod,
Mor aneirif ag yw'r tywod:
Nid oes rhif na mesur arnynt,[K]
Duw rho bardwn[L] im' am danynt.

## CLXXXVI.—AM WASANAETHU AC ADNABOD DUW.

1.
Fy enaid, dysg adnabod Duw,
A'i wasanaethu tra fych byw,
Mewn gwirionedd yn ddiragrith,
A meddwl prudd, a chalon berffaith.

2.
Mae'n rhaid adnabod Duw'r holl allu,
Cyn y gallech ei was'naethu;
Gwedi dysgu ei wir adnabod,
Rhaid gwas'naethu Duw yn wastod.

3.
Ni bydd dyn nes er 'nabod Duw
Heb ei was'naethu tra fo byw:[A]
Er i Satan 'nabod Iesu,
Fe wrthododd ei was'naethu.

4.
Dysg gan hynny'n gynta' ei 'nabod,
Gwedi'n gwir was'naethu'n wastod;
Gwna'r ddau hyn yn dra 'wyllysgar,
Ti gai'r nef gan Dduw yn wobar.

5.
Gwell gan Dduw, i ddyn ei 'nabod,
Nag aberthu iddo hyrddod;
Gwell i ddyn adnabod yntau,
Na chael miloedd o dalentau.

6.
Fe roddes Duw ddau lyfyr hynod,
I blant dynion 'ddysgu'i 'nabod;
Un yw'r byd a'i holl borth'nasau,
Y llall yw'r Bibl a'r 'Sgrythyrau.

B *Brave*, ardderchog. C Yr offeren, y gwasanaeth Eglwysig. Tarddodd yr enw oddiwrth y dywediad Pabaidd, *offering of the Mass*. D *Pompions*, math o ffrwythau. Ioan 3. 14. F *Prick*, pigo, cyffro. G Enw yr Apostol Paul cyn ei droedigaeth. Act. 8. 3. H Yn ofidus. I *Cry*, llefain. J Luc 18. 13. K Psalm 40. 12. L *Pardon*, maddeuant.

A Rhuf. 1. 21.

7.
Y byd cyfuwch, cyhyd, a chyfled,
Sy'n dysgu 'nabod Duw'n ei weithred,
Duw a'i gwnaeth,[B] nid un creadur,
Ei waith sy'n dangos hyn yn eglur.

8.
Y mae'r nefoedd a'r ffurfafen,[C]
Y mae'r môr, a'r tir, a'r haulwen,
Yn dysgu dynion o bob rhyw,
Hyd eitha'r tir, wir 'nabod Duw.

9.
Nos a dydd, mae'r nef yn dangos,
Gogoniant Duw, i bell ac agos,
Yr haul sy'n datgan ei ddisgleirder,
Y ddae'r ei rad, y môr ei bwer.[D]

10.
Y peth sy'n Nuw yn anweledig,
Ei Duwdod maith, a'i nerth arbennig,
All pob dyn yn hawdd eu gweled,
Yn dra amlwg yn ei weithred.[E]

11.
Y Bibl Sanctaidd, a'r holl 'Sgrythyr,
Sy'n dysgu 'nabod Duw mor eglur,
A phed fai dyn yn ei weled,
A'i ddau lygad yn agored.

12.
Mae yn dangos ei naturiaeth,
A'i ddoethineb a'i wybodaeth,
A'i ddaioni a'i sancteiddrwydd,
A'i uniondeb a'i berffeithrwydd.

13.
Nid oes dim a raid ei 'nabod,
Yn Nuw'r nef a'i Sanctaidd Drindod,
Na bo gwedi'i ddodi'n eglur,
I ni weled yn y 'Sgrythyr.[F]

14.
O dysgwch bawb i 'nabod Duw,
A'i was'naethu tra fych byw;
A wnelo'r ddau bwngc hyn yn ffyddlon
Ar law Crist, a dderbyn goron.[G]

## CLXXXVII.—AM FFYDD.

1.
Ffydd sy'n rhoi ei phwys yn unig,
Ar fod trwy Grist yn gadwedig;
Heb geisio nerth gan saint nac angel,
Crist ei hun a'i cadw'n ddiogel.

2.
Er nad ydyw ffydd y cryfaf,
Ond peth bychan ar y cyntaf,
Ffydd er hynny a dyf mor rhwydd,
A hedyn mwstard,[A] neu gyw'r wydd.

3.
Fe fu'r Pab yn dysgu'r absi,[B]
Fe fu'r cawr cyn hyn yn fabi,[C]
Fe fu ffydd a chred y goreu,
Fel mwsterdyn bach o'r dechreu.

4.
Nid yw ffydd yn tyfu ar unwaith,
Fel gourd[D] Jonah ar un noswaith;
Ond trwy raddau mae'n cynnyddu,
Fel dyn bach yng nghroth y wyry'.

5.
Er ffaintio[E] ffydd, er hyn ni ffaelia,
Er cwympo'i dail, ei gwraidd ni phalla,
Er hepian dro, hi ddeffry'n fywiog,
Hi[F] gwyn o gwsg pan gano'r ceiliog.

6.
Yr haul pan d'rawo ar y pared,
Bair i'r gwres fyn'd ddau cyn belled;
Gweithred dda, o ffydd ddianach,[G]
Bair i'r ffydd fyn'd gryfach, gryfach.

7.
Scil[H] y morwr ar yr ormes,
Grym y milwr yn y scarmes;[I]
Ffydd y Cristion yn ei drallod,
Gaiff ei phrofi a'i chydnabod.

8.
Er na cherdda ffydd un amser,
Heb gyda hi rinweddau lawer;[J]
Etto er hynny ffydd yn unig,
Sy'n cyfiawnhau y dyn cadwedig.[K]

9.
Y glust a glyw, y trwyn a 'rogla,
Y traed a gerdd, y llaw a deimla,
Y llygad bach a wel yn unig;
Ffydd a geidw'r dyn colledig.

10.
Nid cryfdwr ffydd sydd yn dy gadw,
Nid gwendid ffydd sydd yn dy fwrw;
Ond Crist ei hun a'th geidw'n fyw,
Trwy gywir ffydd, er gwanned yw.

[B] Act. 17. 24. [C] Psalm 19. 1—6. [D] *Power*, gallu. [E] Rhuf. 1. 20. [F] 2 Tim. 3. 15. [G] Dat. 2. 10.

[A] Mat. 13. 31, 32. [B] Yr A, B, C, yr egwyddor. [C] *Baby*, plentyn bychan. [D] *Gourd*, cicaion, math o blanhigyn. Jonah 4. 6. [E] *Faint*, llesghau, llesmeirio. [F] Hi a gyfyd. [G] Diledryw, gwirioneddol. [H] *Skill*, medrusrwydd. [I] *Skirmish*, ymrafael, ymladdfa. [J] Iago 2. 22. [K] Rhuf. 3. 28.

11.
Fe all llaw donn[L] ddwyn rhodd y
brenhin,
A phlentyn bychan ddryll aur melyn;
A'r gwan ei ffydd, os cywir yw,
All dderbyn Crist i'w gadw'n fyw.

12.
A fwriodd Duw di'r awrhon ymaith,
Ar ol dy garu a'th gadw ganwaith?
Gwan yw'r ffydd; cred Dduw'r gwir-
ionedd,
A garo Duw, fe'i car hyd ddiwedd.[M]

## CLXXXVIII.—BETH YW BOD YN GRISTION.

1.
CHWAREU'r milwr, cymmer galon,
'Rwyt ti'n siwr [A] o gael y goron,
Crist ei hun a ddamsang Satan,
Ar fyr amser dan dy wadan.[B]

2.
Ymladd yn lew, na fydd lwfwr,
Mae Duw'n edrych ar dy gyflwr,
Ac yn barod roi 'ti'r goron,
Os gwrth'nebi dy elynion.

3.
Aelod Crist yw pob gwir Gristion,[C]
Bwrw ffwrdd dy ddrwg arferion;
Ni all aelod aflan ffiaidd
Gydfod byth â Phen mor sanctaidd.[D]

4.
Dod Dduw nef o'th flaen bob ennyd,
Rhodia'n llewyrch ei wynebpryd;
Ym mhob man mae Duw a'i lygad,
Ddydd a nos, yn ddisgwyl arnad.[E]

5.
Dod di gyfraith Duw'n wastadol,
Ger dy fron fel drych a rheol;
A bydd fyw yn ol y gyfraith,
Ym mhob pwngc yn Gristion perffaith.

6.
Y peth a archo'r gyfraith gwna,
Y peth mae'n w'rafun llwyr gasha;
Ac na chydgam[F] wneuthur gronyn,
Nas cyttuna â'r gorchymmyn.

7.
Gwna bob gorchwyl tra fych byw,
Yn bur, yng ngŵydd, ac wyneb Duw;
Ac na ddywed air o'th enau,
Na bo hyfryd yn ei glustiau.

8.
Gwachel wneuthur mawr na bychan,
Wrth dy ffansi[G] ffol dy hunan;
Ond gwna bob peth yn dra charcus,
Yn ol geiriau Duw a'i 'wyllys.

9.
Prawf[H] di gadw pob gorchymmyn,
Na throsedda'r lleia' o honyn';
Y mae torriad yr un lleiaf,
Yn haeddu angau o'r creulonaf.

10.
Meddwl pa fath boen a gofal,
Ddaeth ar bawb am fwytta'r afal;
Fel pe buasem, yn gyffredin,
Yn d'weyd brad yn erbyn brenhin.

11.
Bydd esiampl i bob llygad
Yn d'arferion a'th ymddygiad;
A disgleiria mewn daioni,
Megis plentyn i'r goleuni.[I]

12.
Yn iach, yn glaf, yn drist, yn llawen,
Y mewn, y maes, ddydd, nos heb or-
Llef am ras, a phur gydwybod, [phen,
I fyw i Dduw, a marw i bechod.

13.
O flaen dim cais ogoneddu
Dy Greawdwr, a'i was'naethu,
O'th faboliaeth hyd dy ddiwedd,
Mewn ffydd fywiol, a glân fuchedd.

14.
Dod Dduw'n wastod ger dy fron,
Beunydd parla[J] âg e'n llon;
Na âd i ddiwrnod fyned ymaith,
Heb ymddiddan âg ef saithwaith.

15.
Tramwya'n fynych i dŷ Dduw,
A gwir addola tra fych byw;
Car ei air, a pharcha ei enw,
Cadw ei Sabboth byth hyd farw.

16.
Arfer beunydd brudd weddïo,
Cais gan Dduw dy wir fendithio;
Y mae gweddi ddyfal, clyw,
Yn dwyn i ddyn gyfeillach Duw.

L Anafus, torredig. M Ioan 13. 1.

A *Sure*, sicr. B Rhuf. 16. 20. C Eph. 5. 30. D 1 Cor. 6. 15. E Job 33. 21, 22. F Rhyfygu.
G *Fancy*, mympwy, ewyllys. H Cynnyg, ymdrechu. I Mat. 5. 16. J *Parley*, siarad, ymddiddan.

17.

Na rodia yngnghynghor dyn annuwiol,
Na saif yn ffordd pechadur ffromffol;
Nac eiste' i lawr ym mhlith gwatwar-
wyr,
Cilia ym mhell oddiwrth droseddwyr.[K]

18.

Bid dy gyfeillach gyda'r duwiol,
Gras sy' ar wefus dyn synwyrol;
Dilyn ddoeth, ty fyddi ddoethach,[L]
Cwrdd â phits[M] fe 'nurdd[N] dy gadach.

## CLXXXIX.—MALACHI 1. 6.[A]

1.

Os mynn' di Dduw yn Dad i'th helpu,[B]
Cais fel mab ei brudd[C] was'naethu;
Ni bydd Duw yn dad i undyn,
Ond a'i haddolo megis plentyn.

2.

Os Duw yw'th Dad, ble mae'r anrhyd-
A roi, fel mab, i Dad trugaredd? [edd,
Os Arglwydd yw, b'le mae'r ufudd-
A roi fel gwas i'th Feistr hynod? [dod,

3.

Os mynn' di Grist yn Arglwydd iti,
Gwna, fel gwas, oll a fo'n erchi;
Ni bydd Crist i neb yn Arglwydd,
Ond a wnel ei arch[D] yn ebrwydd.

## CXC.—AM GADW'R SABBOTH.

1.

Tro dy droed o'r ffordd gamweddus,
Ar bob Sabboth[A] yn dra charcus:[B]
Ni fynn Duw ddydd Sul[C] it' loetran,[D]
Nac arferu'th ffordd dy hunan.

2.

Edrych ar dy droed cyn sangech,[E]
Gwel dy lwybr cyn y cerddech;
Gwel a gwachael[F] rhag dy faglu,
Os y llwybr drwg arferi.

3.

Cadw'r union lwybr f'enaid,
Tro dy droed o'r llwybr enbaid;[G]
Y mae maglau'r fall yn gynddrwg,
Am dy ferr[H] ac am dy wddwg.

4.

Cadw d'enau ar y Sabboth,
Rhag arferu geiriau annoeth;
Geiriau bryntion sy'n ei 'nurddo,[I]
Fel drwg weithred a'i halogo.

5.

Duw'r nef sy'n gw'ardd ddydd Sul i
Dd'wedyd gair o'i eiriau ei hun; [ddyn
Ond arferu, ar y Suliau,
Eiriau sanctaidd o'r 'Sgrythyrau.

6.

Geiriau grasol, geiriau caruaidd,
Geiriau Canaan, geiriau sanctaidd.
Geiriau gwedi 'ras gyssegru,
Sy' ar y Sabboth ini draethu.

7.

Na âd i'th enau ar y Sabboth,
Dd'wedyd geiriau ofer, annoeth;
Nag un chwedel oflyd[J] aflan,
Ond a ddel o'r 'Sgrythyr allan.

8.

Na âd i'th galon, ar y Suliau,
Gael cyflawni ei thrachwantau;
Duw sy'n gw'ardd i'r galon annoeth
Gael ei phleser ar y Sabboth.

9.

Tro dy galon i fyfyried,
Ac i feddwl, ac i synied,
Am weithredoedd Duw gorucha',
A'i air pur tro'r Sul yn para.

10.

Os y Sabboth a droseddi,
Os yr Arglwydd ni was'naethi,
Pe bait frenhin, pe bait feger,[K]
Duw fynn ddial d'annuwiolder.

[K] Psalm 1. 1. [L] Diar. 13. 20. [M] *Pitch*, pyg. [N] Fe anurdda, fe ddifwyna.

[A] Cyfeiria y Prophwyd Malachi yr ymresymiadau hyn at yr Offeiriaid. [B] *Help*, cynnorthwyo. [C] Dwys, ystyriol. [D] Gorchymyn. Ioan 14. 15.

[A] Esay 58. 13. [B] *Careful*, gofalus. [C] Pan gyfenwodd yr hynafiaid ddyddiau yr wythnos ar enwau y bodau wybrennol, rhoddwyd y dydd cyntaf o'r wythnos i *Sol*, yr haul; ac am hynny y gelwir ef gan y Cymry, yn ddydd Sul. [D] *Loiter*, segura, ofera. [E] Preg. 5. 1. [F] Gochel. [G] Enbydus, peryglus. [H] Coes. [I] Anurddo, diwyno, aflanhau. [J] Llygredig. [K] *Beggar*, cardottyn.

11.

Os wyt ben, fe'th wna di'n gynffon,[L]
Os gŵr cryf, fe dyrr dy galon:
Od wyt fras, fe'th wna di'n gul,
Am ammharchu Duw a'r Sul.

12.

Poeth lygedyn[M] o flaen cawad,
Arwydd blaen[N] o flaen gostyngiad,
Argoel cwymp i bobl annoeth,
Yw gloddesta ar y Sabboth.[O]

13.

Gwelais wŷr a gwragedd grymmus,
Am was'naethu Duw'n esgeulus,
Ar y Sabboth, o dra 'stadau,[P]
Ac yn marw mewn mawr eisiau.

## CXCI.—CYFYNGDER Y FFORDD I FYWYD.

1.

C'OD yn foreu, cerdd yn ddyfal,
N'ad i ddim dy rwystro a'th attal;
Rhaid it' fyn'd tu hwnt i'r lleuad,
Os ceisi fyned at dy Geidwad.

2.

Nid trwy sport,[A] a chwareu, a chysgu,
Nid trwy ddawnsio[B] a difyru;
Ond trwy orchest ac ymwthio,
Y gorfydd myn'd i'r nef i dario.[C]

3.

Mae'n rhaid rhedeg, mae'n rhaid dringad,
Mae'n rhaid ymladd byth â bagad;[D]
Mae'n rhaid myn'd trwy fil o rwystrau,
Cyn cael myn'd i'r nefoedd olau.

4.

Mae'n rhaid ymladd â th'wysogion,
Mae'n rhaid rhedeg am y goron;
Mae'n rhaid gweithio yn y winllan,
Mae'n rhaid dwyn y gwres heb duchan.

5.

Mae'n rhaid myn'd trwy'r môr a'r mynydd,
A'r tân, a'r seirph, a llawer cystudd;
Cyn cael myn'd o'r Aipht i Ganaan,
Lle mae'r llaeth a'r mêl yn dropian.[E]

6.

Mae'n rhaid myn'd trwy boen a thrafel,[F]
A chystudd mawr, a'llawer rhyfel;
Heibio uffern a'i phyrth tanllyd,
Cyn cael myn'd i'r nefoedd hyfryd.

7.

Mae'n rhaid gwylied a gweddïo,
Mae'n rhaid ymolch ac ymdrwsio,
Mae'n rhaid ceisio mil o bethau,
Cyn y gallom ddechreu'r siwrnai.[G]

8.

Cyn yr elech oddi cartre',
Cais bob peth sydd raid i'r siwrnai;
Llwm yw'r ffordd heb le i brofeidio,[H]
I'r dyn nad el a'i gyfraid gantho.

9.

Ni chai di ddroppyn[I] d'wr o'r bronnydd,
Na dim oyl[J] i'th lamp os diffydd;
Na'r hatling[K] fach i gwplo'r ddyled,
Pe rhoit ti'r byd am cyn fychaned.

10.

Gwisg dy armwr[L] cyn ysgogwyd,[M]
Dwg dy gledde' a'th arfau gennyd;
Ym mhob bwlch y mae iti elynion,
Rhyfela'n lew rhag colli'r goron.

11.

Gwedi cael dy arfau yn gyfrdo,[N]
A phob peth sy' raid ei geisio;
Cerdd fel milwr tua'r deyrnas,
A bwrcasiodd[O] y Messias.

12.

Gado Sodom, tynn i Soar,
Dos o'r Aipht i Ganaan hygar:
Câu yn iach i bob rhyw bechod,
Os ceisi fyn'd i lys y Drindod.

13.

Gadael bechu, dilyn rinwedd,
Tro at Dduw oddiwrth anwiredd;
Câu yn iach i'th hen arferion,
Dyna ddechreu'r ffordd yn union.

14.

Cerdda rhagot[P] mewn daioni,
O ddawn i ddawn, heb droi nac oedi;
O ffydd i ffydd, o radd i rinwedd,
Dyna'r ffordd i wlad tangnefedd.

L Yn iaith y prophwydi, wrth ben a chynffon, deallir blaenoriaid a gwehilion y bobl. M Tywyniad tanbaid yr haul. N *Plain*, amlwg. O Byw yn anghymedrol. P *Estates*, etifeddiaethau.

A *Sport*, cellwair. B *Dance*, neidio o lawenydd neu ynfydrwydd. C *Tarry*, trigo, aros. D Llu, llawer. E *Drop*, diferu. F *Travail*, trafferth. G *Journey*, taith. H *Provide*, darparu, parottoi angheurheidiau. I *Drop*, diferyn. J *Oil*, olew. K Y dryll lleiaf o arian. L *Armour*, arfogaeth. M Symmud. N Yn gyflawn. O *Purchase*, prynu. P Yn dy flaen.

15.

Pasia[Q] heibio' bob temtasiwn,[R]
'Rhain y gais dy dynnu i'r dwnsiwn,[S]
N'âd i bechod, na drwg natur,
Dy ŵyrdroi oddiar y llwybyr.

16.

Cerdda rhagot ar y siwrnai,
Na thro yn ol, serch[T] goddef angau;
Mwy yw'th berygl o droi'n d'wrthol,
Na gwraig Lot a wnaed yn siampol.[U]

17.

Dos gan hynny rhagot beunydd,
Gam a cham hyd ben y mynydd;
Bob yn gam heb boen y cerddws
Plentyn bach i ben Olympws.[V]

18.

Cerdd yn gefnog, gochel dramgwydd,
Cynt yw'r dyfal na'r dyn ebrwydd;[W]
Gelli fyn'd i'r nef dan rodio,
Os ai'n ddyfal heb ddiffygio.

19.

Dos gan hynny megis milwr,
Dring yn gefnog, na fydd lwfwr;
Gwel y goron sy'n dy waitan,[X]
Honno bair i wrachen[Y] drottian.[Z]

20.

Pwy ond gwannwr llwfwr llanas,[A]
Na throttianai i gael teyrnas?
Pwy ond slaf,[B] digownt,[C] digalon,
Na ddringadai i gael coron?

21.

Dos a dringa am dy fywyd,
Cymmer boen ni phery ond ennyd;
Yn ol y poen a 'chydig flinder,
Ti gai hiroes o esmwythder.

22.

Dechre'n gynnar, cadw'r llwybyr,
Dos fyth ym mlaen, na fydd yn segur,
Cerdd yn ddyfal, dwg dy gyfraid,
Dilyn hyd y diwedd, f'enaid.

23.

Gado megis Lot dy lyngran,[D]
Dechreu'r ffordd i'r nef yrwan;[E]
Cei dy lanw'th, dos pan fynnech,
Dechreu'r ffordd yn gynta' ag allech.

24.

Mae'r wlad ym mhell tu hwnt i'r
haulwen,
Yn uwch nâ'r ser a'r holl ffurfafen;
Fe ddylai Cristion godi'n foreu,
A fynno fyn'd cyn belled siwrnai.

25.

Mae'r ffordd mor gul, mor serth, mor
ddrainog, ['sgythrog,[F]
Mor llawn o greigiau, tramgwydd
Ac na ddichon gwannwr, rhyngthyn',
Gerdded milldir yn y flwyddyn.

26.

Mae'r byd a'r cnawd, a'r cythraul
yntau,
Yn stoppio'r ffordd[G] a'i rwyd a'i fach-
Fel na ddichon undyn basio,[H] [au;
Heb amcanu ei ddal a'i rwydo.

27.

Er bod y ffordd a'r wlad cyn belled,
Nid oes ond amser byrr i'w cherdded;
Mis i rai, i eraill flwyddyn,
A llawer un heb wythnos iddyn'.

28.

Fel llong dan hwyl, fel saeth ar linyn,
Fel post[I] yn rhedeg dros ei frenhin,
Y rhed ein hoes a'n hamser heibio,
Tra fo llawer yn ymg'weirio.[J]

29.

Pwy gan hynny ag ystyriai, [siwrnai,
Mor flin yw'r ffordd, mor bell yw'r
Mor fach ei rym, mor fyrr ei einioes,
Na ddechreuai'r daith heb aros.

30.

Gan fod amser dyn cyn fyrred,
A'r ffordd mor arw, ac mor belled,
Ni ddylai neb, heb ddadl, oedi
Godi ar ffrwst i fyned iddi.

## CXCII.—YN ERBYN CWYMPO ODDIWRTH RAS.

1.

Gwn na chwympaf byth yn hollol
Oddiwrth Grist fy Ngheidwad nefol,
Am fod Duw yn ddianwadol,[A]
Sydd â'i Ysbryd yn fy nghynnal.

2.

Yr un a garo Duw'r gwirionedd,
Hwnnw gar ef hyd y diwedd,[B]
Yr un a alwo unwaith atto,
Ni chwymp hwnnw byth oddi wrtho.[C]

[Q] Dos, cerdd. [R] *Temptation*, profedigaeth. [S] *Dungeon*, carchar dan y ddaear. [T] Er. [U] *Example*, arwydd coffadwriaeth. [V] *Olympus*, sydd fynydd tra uchel yng ngwlad Groeg. [W] Brysiog, mawr ei ffrwst. [X] *Wait*, disgwyl. [Y] Hen wraig. [Z] *Trot*, rhedeg. [A] Llanastr, diog. [B] *Slave*, caethwas. [C] Digymmeriad. [D] *Linger*, aros, oedi. [E] Yr awrhon. [F] Garw. [G] *Stop*, cau i fynu. [H] *Pass*, myned heibio. [I] *Post*, cenhadwr, negesauwr, cludydd llythyrau. [J] Ymbarottoi.

[A] Mal. 3. 6. [B] Ioan 13. 1. [C] Rhuf. 8. 30.

3.

Cynt y cwymp y byd a'i bethau,
Oddiar ei sylfaen a'i bilerau;[D]
Nag y cwymp un detholedig
Oddiwrth Dduw, â'i ras arbenig.[E]

4.

Er bod miloedd o gythreuliaid,
Yn ceisio 'speilio Crist o'i ddefaid,
Ni all uffern, â'i holl allu,
Ddwyn un ddafad arno er hynny.[F]

5.

Ni all dyn o'i rym ei hunan,
Lai na chwympo, mae mor egwan;[G]
Duw â'i allu sydd yn addo, [wrtho.[H]
Cadw ei blant rhag cwympo oddi-

6.

Crist yw'r Pen, a minnau yw'r aelod,
Pwy gan hynny all fy nattod,
Oddiwrth Grist fy mhen a'm Ceidwad,
Gwedi'm himpio'n yntho'n ddifrad.[I]

7.

Crist yw'r Bugail, minnau ei ddafad,
Crist heb gysgu sydd i'm gwyliad;
Pwy yw'r blaidd all ddwyn o'i eglwys
Un o'r defaid a'i ddewisiwys?[J]

8.

Ni all cythraul ddwyn un mochyn,
Heb gennad Crist,[K] oddiar baganyn:[L]
B'wedd[M] y gall ef ddwyn un ddafad,
O gorlan Crist, heb gael ei gennad?

9.

Duw roes imi ei Lân Ysbryd,
Yn bridd ernes[N] o'r gwir fywyd;
Duw wna naill ai colli ei ernest,
Ai cwpla'i bromeis[O] â mi yn onest.

10.

Duw bromeisiodd imi fywyd,
Duw a'i seliodd im' â'i Ysbryd;
Gwedi selio imi'r fargen.[P]
Gwn na newid Duw drachefen.

11.

Crist sy'n 'Ffeiriad yn dragywydd,
Yn gweddïo drosom beunydd,
Er na ffaelio'n[Q] ffydd un amser:
Nid aiff gweddi Crist yn ofer.

12.

Ni wrthyd Duw mo'r rhai ddewisiwys,[R]
Fe geidw rhai'n tu fewn i'w eglwys;
Fe'u cynnal hwy a'i fraich yn nerthol,
Ni chwymp un oddi wrtho'n hollol.

## CXCIII.—GWEDDI GANOL DYDD.

1.

O GODIAD haul hyd hyn o ddydd,
Yn iach, yn llawn, yn llon, yn rhydd,
Fy Nuw, fy Nerth, fy Ner, ti'm cedw-
Moliant iti, yr hwn a'm nerthaist. [aist,

2.

Ganol dydd, tro'r haul yn gwenu,
Tro 'mol yn llawn, tro ffryns[A] o'm dau-
Y ffollt, y fall, yr haint a'm clwyfa [tu,
Os Duw'r gallu ni'm castella.[B]

3.

Ganol dydd y lladdwyd Amnon,[C]
Ganol dydd y cwympwyd Eglon,[D]
Ganol dydd y syrthiodd Dafydd,[E]
Ganol dydd y daw'r dinystrwydd.

4.

Duw bydd Geidwad arna'i 'n ddiau,
Ganol dydd, fel nos a borau,
N'âd fi i bechu, n'âd fy ngorfod,[F]
Bydd bob amser yn fy ngwarchod.

5.

Dod feddyliau da'n fy nghalon,
C'od fy meddwl uwch dae'rolion;
Par fi weithio yn dy winllan,
Nes i'r hwyr fy hel[G] i hepian.

6.

Felly Arglwydd yn ddiogel,
Gyda Dafydd, gyda Daniel,
Mi'th glodforaf bob canolddydd,
Am dy gymhorth yn dragywydd.

## CXCIV.—DYLEDSWYDD RHIENI.

1.

Os gwnaeth dy Dduw di'n dad i blant,
A rhoi it' eppil wrth dy chwant;
Mae'n rhaid it' ddwyn dy blant i fyn-
ydd,
Yn ofn Duw ac union grefydd.

2.

Meithrina'th blant trwy bur athraw-
iaeth,
Yn ofon Duw a gwir Grist'nogaeth;[A]
Fel y dysgont fyw mewn sobrwydd,
Gwir uniondeb, a sancteiddrwydd.

[D] *Pillars*, colofnau. [E] Mat. 24. 35. [F] Ioan 10. 28. Luc 22. 31, 32. [G] Ioan 15. 5. [H] Judas 24. [I] Rhuf. 8. 38, 39. [J] Rhuf. 8. 31. [K] Marc 5. 12. [L] Un o'r Paganiaid, sef dynion di-Gristionogaeth. [M] Pa fodd. [N] *Earnest*, gwystl, sicrwydd. [O] *Promise*, addewid. [P] *Bargain*, cyttundeb. [Q] *Fail*, diffygio, darfod. [R] Jer. 31. 37.

[A] *Friends*, cyfeillion. [B] Amddiffyn. [C] Mab Dafydd. [D] Brenhin Moab. [E] I bechu gyda Bethseba. [F] Gorchfygu. [G] Gyrru.

[A] Eph. 6. 4.

3.

Tempra'u[B] llestri ar y cynta',
A rhinweddau o'r carueiddia';
Haua had da yn eu meddwl,
Cyn tyfo'r chwynn i lygru'r cwbwl.[C]

4.

Dysg hwy 'nabod Duw a'i ofni,
Dysg hwy'n ddyfal ei addoli; [ffiaidd,
Dysg hwy gredu yng Nghrist yn ber-
A byw yn ol ei 'fengyl sanctaidd.

5.

Dysg hwy 'ddarllain y 'Sgrythyrau,
O'u maboliaeth nos a borau:
Dysg hwy 'nabod pyngciau crefydd,
A myfyrio arnynt beunydd.[D]

6.

Tywallt beunydd bob yn ddefnyn,
Ddysg, a moesau ym mhob plentyn;
Fel y caffo Duw ogoniant,
Hwyntau ras, a thithau ffyniant.

7.

Nid wyt ti'n nes a llanw eu bola,
A bwyd, a diod, o'r danteithia';
Oni bai it' lanw eu pennau,
A dysg, a dawn, a duwiol wersau.

8.

Fe rydd Pagan fwyd i'w blentyn,
Fe rydd faeth i'r march a'r mochyn:
A rydd Cristion i'w blant gwiwlan,
Ond y pethau rotho Pagan?

9.

Rho i'th blentyn dduwiol ddygiad,
Er lleied bwyd, er lleied dillad;
Os rhoi dduwiol ddygiad iddo,
Caiff ei gyfraid, aed lle'r elo.

10.

Mae Duw'n gofyn ar law Cristion,
Ddysgu ei blant trwy grefydd union,[E]
Adnabod Duw a'i gyfraith sanctaidd,
Credu yng Nghrist, a byw'n Grist'nog-
aidd.

## CXCV.—DYLEDSWYDD PENTEULU.

1.

Os wyt ti'n berchen tŷ a thylwyth,
A chwennych byw mewn cyflwr es-
mwyth;
Dysg dy wraig, a'th blant, a'th bobol,
I 'nabod Duw, a'i foli'n ddeddfol.[A]

2.

Duw fynn i'r tad roi dysg i'w eppil,
A'r gwŷr roi'r gwragedd[B] wersau'r
'fengyl,
A meistri ddysgu eu gwas'naethwyr,
Was'naethu Duw wrth eiriau'r 'Sgry-
thyr.

3.

Wrth godi i lawr, wrth fyn'd i gysgu,
Wrth rodio'r ffordd, ac wrth ddifyrru,
Y mynn dy Dduw it' ddysgu'th ddyn-
Adnabod Crist, a'i gyfraith union.[ion[C]

4.

Bid mor brudd dy garc a'th chwant,
Roi dysg i'th was, fel dysg i'th blant;
Felly dysgai Abram ffyddlon,
Ei dŷ a'i dylwyth fel ei feibion.[D]

5.

Oni ddysgi di dy bobol,
Ofni Duw, a byw yn ddeddfol;
Duw a ofyn waed dy deulu,
Ar dy gobyn[E] eisiau'u dysgu.

6.

Os goddefi'th was fyw'n aflan,
Yn ddigrefydd megis Pagan;
Fe'th inffecta,[F] fel gwŷr mawrion
A gai'r pla oddiwrth eu gweision.

7.

Nid wyt nes, er porthi'th dylwyth,
Ag ymborth llawn, a dillad esmwyth;
Oni phorthi eu heneidiau,
A bara'r bywyd o'r 'Sgrythyrau.

8.

Rheitach iti borthi eneidiau
Dy holl dylwyth â'r 'Sgrythyrau,
Nag it' borthi'r cyrph llygredig,
A phob ymborth darfodededig.

9.

Duw a'th wnaeth yn stiward[G] dano,
I ddysgu pawb sydd dan dy ddwylo;
Oni roi i'r rhai'n athrawiaeth,
Ti ai'n euog o'u marwolaeth.[H]

[B] *Temper*, tymheru. [C] Diar. 22. 6. [D] Deut. 6. 7. [E] Deut. 6. 20—25.
[A] Yn ol y gyfraith. [B] 1 Tim. 2. 11, 12. [C] Deut. 11. 19. [D] Gen. 18. 19. [E] Pen. [F] *Infect*, llygru, taro â haint. [G] *Steward*, goruchwyliwr. [H] Ezec. 23. 7, 8.

## CXCVI.—CYNGHOR CYN BWYTTA AC YFED.[A]

1.

Na ddod glun i lawr i eiste',
Na ddod dammaid yn dy enau,
Wrth swpperu na chiniawa,
Nes bendithio'r bwyd yn gynta'.

2.

Ac na chydgam[B] godi un amser
Oddiar ginio nac ar swpper,
Nes rhoi diolch prudd i'r Drindod,
Am dy fwyd, ac am dy ddiod.

3.

Mae pob bwyd a melldith arno,
Er cwymp Adda ;[C] nes bendigo
'R bwyd â gair Duw, ac â gweddi,[D]
Nid cyfreithlon it' ei brofi.

## CXCVII.—YN ERBYN BALCHDER.

1.

Os codwyd di o'r domo'r dwst,[A] [ffrwst;
Yn uwch na'th ffryns, i'r faingc ar
Na âd i'r diawl dy daflu i'r lluwch,
Wrth chwennych dringad byth yn
uwch.

2.

On'd rhyfedd yw fod Duw yn godde'
It' fyw mor frwnt o bryd i brydiau,
Ac heb dy droi i uffern danllyd,
Eisiau gwella dim o'th fywyd ?

## CXCVIII.—Y CYBYDD.

1.

A gadwo'i olud iddo'i hunan,
Heb roi i eraill ddim o'i gyfran,
Tebyg yw i gwlff[A] Iorddonen,
Llwngc yr afon oll yn 'rhummen.[B]

2.

Y gwlff wrth Sodom sydd yn derbyn
Dw'r Iorddonen yn ei chrowyn,[C]
Ac heb adael dropyn[D] allan,
Heb fod lawnach oll ei hunan.

3.

Fel y gwlff y bydd y cybydd,
Yn llwyr lyngcu da'r holl wledydd,
Heb roi cyfran i rai tlotta',
Ac nid llawnach ddim o'i fola.

## CXCIX.—DIWEDD CYFOETH ANGHYFIAWN.

1.

Byth ni ddylai Cristion geisio
Ceiniog na fo cyfion iddo;
Hi hed ymaith fel yr hebog,[A]
Neu wna niwaid i'w pherchennog.

2.

Can's ni fendithia Duw mo'r gwaith,
Na'r peth felldithiodd yn ei gyfraith ;
Ni chair profit[B] byth na phleser[C]
O drysorau anghyfiawnder.

3.

Y maint o olud ag a gasgler,
Yn anghyfiawn trwy ddifieithder,
Medd y 'Sgrythyr, 'r y's yn gosod
Hwn i gyd mewn pwrs heb waelod.[D]

4.

Ni feddianna'r ŵyrion gwirion,
O'r da a gasgler yn anghyfion ;
Treulia'r 'tifedd yn gyffredin,
Oll cyn treulio'r tad mewn ysgrin.[E]

5.

A gasglo'r tad trwy dwyll a ffalstedd,
O dda bydol mewn anwiredd,
Mab afradlon trwy fawr frynti,
Chwip[F] a lwyr wasgara'r rheiny.

6.

Fel y bwyttaodd gwinllan Naboth,
Deyrnas Ahab a'i holl gyfoeth ;
Felly bwytty'r geiniog ddyrus,
Y maint a feddo'r dyn camweddus.[G]

[A] Y mae pennillion o'r un ystyr a'r rhai hyn yn y "Cynghor ynghylch bwytta ac yfed." [B] Rhyfygu. [C] Gen. 3. 17. [D] 1 Tim. 4. 4, 5.

[A] *Dust*, llwch, pridd.

[A] *Gulf*, pwll dwfn, llyngclyn. Meddylir y Môr marw, i'r hwn yr ymarllwysa afon yr Iorddonen. [B] Bola. [C] *Craw*, crombil. [D] *Drop*, diferyn.

[A] Gwalch, math o giryll. Diar. 13. 5. [B] *Profit*, elw. [C] *Pleasure*, hyfrydwch. [D] Haggai 1. 6. [E] Arch, corph marw. [F] Yn fuan. [G] Y mae pennill tebyg iawn i hwn yn y "Rhybudd i'r claf i wneuthur ei ewyllys mewn pryd."

## CC.—Y TLAWD A'R GOLUDOG MEWN BYD ARALL.

1.
IAGO glodfawr, brenhin Drafiaid,
Pentywysog y Venediaid,[A]
A wnaeth wledd i bawb o'i werin,
Boneddigion a chyffredin.

2.
Fe wnaeth i fynu bob danteithion,
A berthynai at y goron,
A gwas'naethu mewn aur ddysglau,
Yn yr hâl[B] ar rial[C] fwrddau.

3.
Ond fe gadwodd bob melusfwyd,
A'r danteithion penna' gafwyd,
Idd eu gosod yn serchoglan,
Yn ei barlwr[D] iddo'i hunan.

4.
Gwedi plaso[E] y gwŷr mawrion,
A'r Arglwyddi a'r Marchogion,
Yn yr hâl bob rai i eiste',
Yn eu rhanc,[F] yn ol ei graddau.

5.
Ond fe alwodd y rhai tlodion,
A'r rhai llyma o'r Crist'nogion,
Atto i'r parlwr yn gyffredin,
I giniawa gyda'r brenhin.

6.
Ac fe wnaeth i blant gwŷr mawrion,
Dendio[G] yn ddyfal ar y tlodion,
A'u gwas'naethu â'r fath waitan,[H]
A'r fath win a yfa 'i hunan.

7.
Yno d'wedai yr Arglwyddi,
Arglwydd frenhin, beth sy'n peri,
Iwch' breffero[I] bobol dlodion,
Ar eich bord o flaen Marchogion?

8.
Yno Iago wych attebai,
Nid wy'n gwneuthur hyn o foethau,
Fel brenhinoedd y byd anghall,
Ond fel Brenhin y byd arall.

9.
'Rhwn sy'n gosod y rhai tlodion,[J]
A rhai glân a phur o galon,[K]
Ogylch gwmpas iddo i eiste',
Yn y nef mewn aur gadeiriau.

10.
'Rwy'n eich perchi chwi, bennaethiaid,
Fel fy mhrinsys[L] 'mhlith y Drafiaid;
'Rwyf fi'n parchu gwael Grist'nogion,
Fel fy ffrynds[M] ym mhlith angylion.

11.
Dyma'r rhai mae Crist yn erchi,
Imi'u swccro[N] a'i cwmfforddi,[O]
A'u dwyn adre' i giniawa,
Ar fy mord, tra fyddwy'n gwledda.[P]

12.
A thra fo imi fwyd a diod,
Mynna'i ar fy mord yn wastod,
Rai o'r tlodion i gydfwytta,
Yn ol arch fy Mhrynnwr penna'.

13.
Dyma'r rhai y fydd gyfeillion
I mi Iago, 'mhlith angylion;
Pan bo chwi, fy holl bennaethiaid,
Yn y pwll ym mhlith Paganiaid.

14.
Dyma'r rhai fydd mawr eu hurddas,[Q]
Ym mhrenhiniaeth y Messias,
A phob un yn gwisgo ei goron,
Megis prinsys a th'wysogion.

15.
Dyma'r rhai y fydd yn eiste',
Yn y nef ar orseddfeingciau,
Gyda Christ a'i wir angylion,
Er eu bod yn awr yn llymion.

16.
Ac os ceisiwch chwi, fy mhobloedd,
Eu cwmpniaeth[R] yn y nefoedd:
Rhowch barch iddynt ar y ddaear,
Er mwyn Crist eich Prynwr hygar.

17.
A derbyniwch hwy i'ch byrddau,
A rhowch iddynt ran o'ch moethau;
Crist a dal am y danteithion,
Yn y nef, â gwledd angylion.

18.
Ni chaf i daliad am eich porthi
Chwi, fy mhrinsys, ond gwenieithu;
Mi gaf wledda gyd' angylion,
Er mwyn Crist, am borthi'r tlodion.

[A] Anhawdd i un, heb fod yn gydnabyddus â'r amgylchiad neillduol y cyfeiria y Ficer atto, wybod pwy a feddylir yma. Yr oedd dwy genedl yn yr hen amser yn myned dan yr enw Veneti, sef trigolion y lluoedd a elwir yn awr Vannes a Venice. [B] *Hall*, neuadd, ystafell ehang. [C] *Royal*, brenhinol. [D] *Parlour*, yr ystafell ardderchog yn nhŷ pendefig. [E] *Place*, gosod, trefnu. [F] *Rank*, rhestr. [G] *Tend*, gweini. [H] *Waiting*, gwasanaeth. [I] *Prefer*, gosod yn flaenaf, cyfrif yn well. [J] Psalm 113. 7, 8. [K] Mat. 5. 8. [L] *Princes*, tywysogion. [M] *Friends*, cyfeillion. [N] *Succour*, ymgeleddu. [O] *Comfort*, diddanu. [P] Luc 14. 13, 14. [Q] Anrhydedd. [R] *Company*, cymdeithas.

19.
Os gwahoddwch y rhai tlodion,
I gael cyfran o'ch danteithion,
Crist sy'n d'wedyd y cewch daliad,
Pan y delo'r adgyfodiad.[S]

20.
Gwedi llosgi'r byd yn burboeth,
A'r maint oll sydd ynddo o gyfoeth,
Chwi gewch gwrdd yng ngwlad goleu-
A'ch cardodau heb eu llosgi.[T] [ni,

21.
Gwedi i Satan a'r Sabeaid
Ddwyn ar Job ei holl 'nifeiliaid;[U]
Nid oedd dyn na diawl a allai,
Ddwyn ar Job un o'i gardodau.[V]

22.
Pan na chaffech, gwedi angau,
Les o'r arian sy'n dy goffrau:
Ti gai les oddiwrth dy gardod,
Wrth dy raid, yn nydd dy drallod.[W]

## CCI.—YN ERBYN CONSURWYR.[A]

1.
Duw, mor dost y pecha Cymry,
Mewn dallineb, trwy gam-gredu,
I ddewiniaeth, swyn-gyfaredd,
Ofer goel, a'r fath anwiredd!

2.
Gynt fe'n chwydodd Duw ni allan,
Fel y bobl o wlad Canaan,[B]
O dir Lloegr yma i'r creigydd,[C]
Am ein gwan-gred a'n gau-grefydd.

3.
Yn awr nid gwell yw crefydd llawer,
Na'n hen deidiau gynt yn Lloeger;
Er bod 'fengyl Crist yn gynghan,[D]
Gan bawb yn ei iaith ei hunan.

4.
Mwy o gred sydd gan Frutaniaid,
Mewn rhyw luoedd, i ddewiniaid,
Ac i'r swynwyr a'r hudolion,
Nag sy' i Grist a'i Apostolion.

5.
Pan ddel dewin neu ryw swynwr,
Och, ni redwn at y twyllwr,
Fel y gwenyn at y gwinwydd,
I roi clust i dad y celwydd.

6.
Beth a dd'wetto hwnnw o'i enau,
Er nad yw ond celwydd golau,
Ni a'i credwn fel y 'fengyl,
Ac a drown at hon ein gwegil.

7.
Beth a dd'wetto Crist yn brysur,
Yn y 'fengyl wenn a'r 'Sgrythyr,
Ni fynn llawer cant o'r Cymry,
Ddim o'i wrando, och, na'i gredu.

8.
Eisiau gwrando'r 'fengyl dirion,
Eisiau credu'r gair yn ffyddlon,
Eisiau 'nabod Duw a'i allu,
Y mae'r wan-gred hon yng Nghymru.

9.
Pe gwrandawem ar y 'Sgrythyr,
Yn condemnio'r[E] fath hudolwyr,
Ni'u herlidiem o'r wlad allan,
Megis Apostolion Satan.

10.
Nid yw swynwyr a dewiniaid,
Ond 'spostolion y cythreuliaid,
Sydd yn hudo pobol egwan,
I butteinio ar ol Satan.

11.
Waith bod swynwyr yn ein tynnu,
Ar ol Satan trwy wan-gredu,
Mae Duw'n erchi yn ddialaeth,
Roi'r holl swynwyr i farwolaeth.

12.
Duw ei hun, yng nghyfraith Mosys,[F]
Sy'm gorchymmyn lladd pob rheibus,
Lladd y dewin, lladd y swynwyr,
A llabyddio'r holl gonsurwyr.

13.
Duw sy'n gw'ardd i neb butteinio,
Ar ol dewin, a rhai'n swyno;
Ac yn bygwth torri'n hollol,
Bawb o'r fath o fysg ei bobol.[G]

14.
O bydd gŵr na gwraig o unfath,
Berchen yspryd o ddewiniaeth, [faen[H]
Lleddwch hwynt medd Duw, a enlog-
A'u gwaed fydd ar eu pennau 'hunain.[I]

[S] Luc 14. 14. [T] Dat. 14. 13. [U] Job 1. 15. [V] Job 31. 16—22. [W] Psalm 41. 1—3.

[A] *Conjuror*, dewiniaid, swynwyr. Argraphwyd wyth pennill o'r Gân hon yn y llyfr o'r blaen, dan yr enw "Rhybudd i'r claf i ochelyd ceisio cymhorth swynwyr a dewiniaid," am hynny gadewir hwynt allan yma. Gwel tu dal. 197. [B] Deut 18. 10—14. [C] Cenedl y Cymry a gyfanneddent yr holl ynys hon cyn dyfodiad y Saesoniaid yma dan deyrnasiad Gwrtheryn. [D] Cysson, amlwg. [E] *Condemn*, collfarnu. [F] Lef. 19. 31. [G] Lef. 20. 6. [H] Carreg fawr arw. [I] Lef. 20. 27

15.
Ni fynn Duw i neb yn ddirgel,
Dynnu eu plant trwy'r tân i'r cythraul,
Nac arferu dim dewiniaeth,
Swyn, na d'rogan, nac hudoliaeth.[J]

16.
Cas gan Dduw medd geiriau'r 'Sgrythyr,
Geisio hyspysrwydd gan gonsurwyr,
Dewin, swynwr, brud, neu hudol,
Ac ymofyn a dyn marwol.[K]

17.
Tynnu'r plentyn trwy bren crwcca,
Neu trwy'r fflam ar nos G'langaua',
A'u rhoi ym mhinn y felin uchel,
Yw offrymmu plant i gythraul.[L]

18.
Gwael yw'r cymhorth yn ei drafael,
A gaiff Cristion gan y cythraul,
Yr hwn sydd nos a dydd heb gysgu,
Bob yr awr yn ceisio'n llyngcu.[M]

19.
Nid yw'r rhain ond rhai sy'n twyllo
Pobol ddeillion i dramgwyddo,
Ac i geisio help [N] y cythraul,
I'w cwmffwrddo [O] yn eu trafael.[P]

20.
Duw sy'n erchi lladd â meini,
Duw sy'n gw'rafun gwlad goleuni,
Duw sy'n taflu i'r tân uffernol,[Q]
Swynwr, dewin, brud, a hudol.[R]

21.
Tro gan hynny swynwr heibio,
Megis un sy'n ceisio mwrddro [S]
Dy enaid bach, wrth roi esmwythder,
I'th gnawd egwan yn ei flinder.

22.
Duw fydd dyst, a witnes [T] cyflym,
Duw fydd farnwr tost ac awchlym,
Ar ddewiniaid ac ar swynwyr,
A'r rhai a'u credant, medd y 'Sgrythyr.[U]

23.
Ni chaiff swynwyr na swyn-ddynion,
Medd Sant Paul,[V] na'r nef na'r goron;
Hwy dormentir,[W] medd Sant Ioan,[X]
Yn y pwll â'r tân a brwmstan.[Y]

24.
Ahazia, brenhin Juda,
A ga's farw mewn mawr boenfa,
Am ei wan-gred gynt yn danfon
At y dewin, gau dduw Ecron.[Z]

25.
Saul am gredu'r wits [A] o Endor,
Ac am fyn'd i geisio ei chynghor,
Ga's ei roi i dost farwolaeth,
A rhoi i Ddafydd ei frenhiniaeth.[B]

26.
Tra fu Saul yn gwrando Samuel,
Ni chai swynwyr drigo'n Israel,
Nac un dewin, nac un hudol,
I ŵyrdroi a thwyllo'r bobol.

27.
A Josias yntau'n rasol,
A lwyr dynnodd bob rhyw hudol,
Swynwyr, dewin, a ffieidd-dra,
A'r cyffelyb o Judea.[C]

28.
Nid oes neb a barchai'r swynwr,
Na dewiniaid, na chonsurwr;
Ond y rhai di-gred, di-grefydd,
Y mae'r diawl yn ddallu beunydd.[D]

29.
Os yng Nghrist ni fynn dyn gredu,
Fe âd Duw i'r diawl ei ddallu,
A'i lwyr dynnu, heb Grist'nogaeth,
I roi cred i bob gau dduwiaeth.

30.
Y dyn fytho Duw yn wrthod,
A rydd ei gred i'r cyfryw ffregod,[E]
Ac a red mewn blinder diriaid,
I swyno ei gorph, i ladd ei enaid.

31.
Nid gwaeth gan y cythraul ddala
Dyn, trwy gredu'r fath ffieidd-dra;
Na phe dalai ddyn trwy fwrddro,
Lladd, a liosgi, a chribddeilio.[F]

32.
Gwachael, gwachael, rwyd y temtwr,
Sy'n dy ladd â gwers y swynwr;
Ac na ddos yn amser clefyd,
At y diawl i geisio iechyd.

[J] Deut. 18. 10, 11. [K] 1 Sam. 28. 7. [L] Y mae cyfeiriad yma at amryw arferion ofergoelus ag ydynt, trwy drugaredd, agos wedi llwyr ddiflanu o'r tir. [M] 1 Petr 5. 8. [N] *Help*, cynnorthwy. [O] *Comfort*, cysuro. [P] *Travail*, adfyd, trallod. [Q] Dat. 21. 8, a 22. 15. [R] Twyllwr. [S] *Murder*, llofruddio. [T] *Witness*, tyst. [U] Mal. 3. 5. [V] Gal. 5. 19—21. [W] *Torment*, poenydio. [X] Dat. 21. 8. [Y] *Brimstone*, defnydd tra hylosg. [Z] 2 Bren. 1. 16, 17. [A] *Witch*, dewines. [B] 1 Sam. pen. 28. [C] 2 Bren. 23. 24. [D] 2 Cor. 4. 4. [E] Ffolineb. [F] Ymddwyn yn anghyfiawn.

33.
Cais gan Dduw leihau dy ddolur,
Yn dy drallod tost a'th wewyr;
Ac na chytgam megis Pagan,
Geisio help trwy swyn gan Satan.

34.
O cenhada Duw i'r cythraul,
Dreio'th ffydd trwy boen a thrafael;
Bydd ddioddefgar, cymmer gysur,
Nes del Duw i laesu'th ddolur.

35.
Er i Dduw genhadu Satan,
Glwyfo Job a dwyn ei arian;
Nid aeth Job at neb o'r swynwyr,[G]
Ond at Dduw i geisio cysur.

36.
At Dduw y rhedod i Hezekias,
Naaman, Tobit, Dafydd, Jonas,
Yn eu blinder i gael swccwr,[H]
Nid at ddewin, nid at swynwr.

37.
Duw sy'n erchi mewn cyfyngdwr,
Alw arno ef am swccwr,[I]
Ac mewn trafael tost a blinder,
I fyn'd at Grist i gael esmwythder.

38.
Dwl yw'r dyn a red at swynwr,
Yn ei flinder, i gael swccwr;
Fel po byddai'r diawl barottach,
Na Duw mawr, i helpu'r afiach.

39.
Nid gwaeth myn'd mewn cyflwr cas,
At y diawl nag at ei was:
Y diawl ei hun sy'n rhoi, fel twyllwr,
Yr help a gaffech gan y swynwr.

40.
Mae Duw weithiau yn cenhadu,
I'r diawl flino rhai sy heb gredu,
A lleihau eu blinder weithiau,
Er amlhau eu didrangc boenau.

41.
Os cenhada'r Arglwydd iddo,
Fe all wasgu, fe all beidio:
Ond heb gennad Duw ni ddichyn,
Satan ladd na chadw mochyn.

42.
Och, na welai pawb o'r Cymry,
Fod y swynwyr yn eu tynnu
Oddiwrth Grist, i fyn'd yn ddirgel
I butteinio ar ol y cythraul!

43.
Och na welent bawb y swynwr,
Dros y diawl yn chwareu'r mwrddrwr;[J]
Ac yn lladd yr enaid gwirion,
Cyn y swynwr o'i ddolurion!

44.
Och na welent fod yr Arglwydd,
Mewn digofaint a llidiogrwydd,
Yn ymwrthod â'r holl ddynion,
Ag a gredo'r fath hudolion![K]

## CCII.—AM DDIODDEFGARWCH MEWN CYSTUDD.

1.
Oni bai fod ein Tad nefol,
Yn gwel'd clefyd yn both rheidiol,
Ac yn gwneuthur mawr lles ini,
Ni chai clefyd byth ein cospi.[A]

2.
Od oes ynot ddim Crist'nogaeth,
Na dim chwant am iachawdwriaeth;
Offrwm d'enaid yn ei ddwylo,[B]
Yn 'wyllysgar pan y'th alwo.

3.
Gwybydd nad yw Duw'n dy daro,
Ag un clefyd i'th dormento;[C]
Ond i'th gospi er dy wella,
Ac i'th gadw rhag Gehenna.[D]

4.
Mae Duw'n cospi'r corph a chlefyd,
Am bechodau'r enaid nychlyd;
Ac wrth gospi'r corph yn ddiriaid,
Mae'n iachau doluriau'r enaid.

5.
Mae'n dy ostwng â chyfyngdra,
Fel y gallo gael dy ddyrcha:[E]
Mae'n dy wasgu gyda'r Iesu,
Fel y gallo d'ogoneddu.[F]

6.
Yn ol y groes ti wisgi'r goron,
Yn ol dy fraw fe god dy galon; [rau,
Yn ol it' hau brydnhawn, mewn dag-
Ti fedi'n llon eu ffrwyth y borau.[G]

[G] Job 1. 22. [H] *Succour*, cymhorth. [I] Psalm 50. 15. [J] *Murderer*, lleiddiad-ddyn. [K] Deut. 18. 10—12.

[A] Rhuf. 8. 28. [B] 1 Petr 3. 19. [C] *Torment*, poeni. [D] Uffern. [E] Dyrchafu. [F] Rhuf. 8. 17. [G] Psalm 30. 5, a 126. 5, 6.

## CCIII.—DIBEN CYSTUDDIAU.

1.
Mae Duw'n croesi dyn fynychaf,
Yn y pethau garo mwyaf:
Am fod dyn yn serchu gormodd,
Yn y pethau gwael a garodd.

2.
Pan ddotto dyn ei serch yn ormodd,
Ar ddyn, neu dda, neu ddim a welodd;
Hwy lwyr fethant' trech [A] di byw,
Am garu 'rheiny fwy na'th Dduw.

3.
Mae Duw cyfiawn yn cystuddio,
Weithiau'n cospi, weithiau'n treio,[B]
Weithiau i ddofi'n drwg naturiaeth,
Weithiau i weithio'n hiachawdwriaeth.

4.
Y tân a bura'r aur o'i sorod,
A'r ffust a dynn yr ŷd o'r callod;[C]
A'r dwfr a ylch y dwylo bryntion,
A'r groes a wella 'nwydau'r Cristion.

5.
Dwg dy groes a'th bwn yn llawen,
Crist ei hun a ddwg y naillben;
Duw fydd gyda thi'n dy drallod,
Byth nis gedy nes eu gorfod.[D]

6.
Os bydd i'th Dduw dy gospi'n drymmach,
Nâ llawer dyn fo'i ffydd yn wannach;
Mae naill a'th bechod di yn fwy,
Neu'th ffydd yn gryfach nâ'u ffydd hwy

7.
Bydd ddioddefgar, gwachael rwgnach,
Ni ddyd Duw dy groes yn drymmach,
Na bo'th nerth a'th naws yn gofyn,
Tu hwnt i'w rym ni lwytha undyn.[E]

8.
Ni esyd Duw, medd Job,[F] yn drym,[G]
O'r groes ar neb yn fwy na'i rym;
Fel na allo undyn achwyn,
I Dduw ormod lwytho'i blentyn.

9.
Wrth farn y cospa Duw ei blant,
Wrth fesur mwyn y ffrwyna'u chwant,
Fel tad trwy serch y cospa'i feibion,
Mewn llid y lladd yr annuwolion.

10.
Ni rydd yr Arglwydd ar d'ysgwyddau
Drymmach pwn nag allech odde';
Ond fe ddengys ryw ddiangfa,
Pan fo'r groes yn gwasgu drymma.[H]

11.
Yn ol dy rym y bydd dy bwn,
Os egwan wyt, ni bydd ond crwn;[I]
Os cryf a dewr, a chlud [J] dy gyflwr,
Fe bynna [K] 'i blant yn ol eu cryfdwr.

12.
Mae Duw'n rhoi'r groes wrth bwys a mesur,
I bawb o'i blant, yn ol eu natur;
Ni faedda neb ond pan fo'n rhaid,
Ond gwella'r beiau, yntau baid.

13.
Nid yw Duw yn cospi ei bobol,
Mor dost, mor drwm, a'r rhai annuwiol;
Mae'n cospi'r naill, mae'n plago'r[L] llall,
Mae'n llwyr ddifetha plant y fall.

14.
Yn ol dy rym, a'th nerth, a'th natur,
Yn ol dy glwyf, wrth bwys a mesur,
Y dyry Crist y groes i'w dwyn;
Dwg hi yn ufudd er ei fwyn.

15.
Ni bydd dy groes un dram [M] yn drymmach,
Ni chai dy'i dwyn hi awr ym mhellach,
Nag y gwelo Duw'n anghenrhaid,
It' ei dwyn, er lles i'th enaid.

16.
Ni phery'r groes, ond ennyd fechan,
Fel cawod drom hi dreulia'n fuan,
Fel niwl hi dawdd pan weno'r haulwen,
Pan archo Crist, hi dry ei chefen.

17.
Er maint dy groes, er cyd y pery,
Er trymmed ddydd a nos yn gwasgu,
Crist a'i llwyr-dry i weithio'r gorau,
Er clod i Dduw, er lles i tithiau.

18.
Mae Duw fel tad yn cospi'n dirion,
Er chwipio'i [N] blant, ni ladd ei feibion;
Trwy gospi dro mae'n cadw'n bywyd,
Rhag poeni byth yn uffern danllyd.[O]

[A] Tra fyddech. [B] *Try*, profi. [C] Cibau. [D] Gorchfygu. [E] Deut. 33. 25. [F] Job 23. 10. [G] Yn drwm. [H] 1 Cor. 10. 13. [I] Bychan. [J] Cysurus. [K] Fe lwytha. [L] *Plague*, taro â haint marwol. [M] *Dram* neu *drachm*, yr wythfed ran o wns. [N] *Whip*, ffaungellu. [O] 1 Cor. 11. 32.

19.

Ni ymryson Duw dros byth â'i bobol,
Hyfryd gantho fod yn rasol;[P]
Er digio dro fe dry drachefen,
Ond gwella'r bai fe sparia'r [Q] wialen.

20.

Nid erys Duw dros fyth yn ddigllon,
Trugarog yw wrth feibion dynion,
Dros ennyd fach enynna ei ddigter,
Dros fyth y pery serch ei fwynder.[R]

21.

Er i'th bechodau ddigio Duw,
Os 'difarhai trugarog yw;
Ond wylo'n athrist trwy'r prydnhawn,
Cwmffwrdd [S] gantho'r bore a gawn.

22.

Byth nac ofna unrhyw drallod,
Oddiwrth Dduw mae hwn yn dyfod;
Ni all dyn, na diawl, heb gennad
Duw dy Dad, rhoi trallod arnad.

23.

Gwialen Duw, ryw bryd, yw'r dryg-
I roi maethgen i'r gwir blentyn; [ddyn
Gwedi rhoi i'r plentyn faethgen,
Yn y fan fe laesa'r wialen.

23.

Nid oes un groes er trymmed yw,
Na bo hi'n dyfod oddiwrth Dduw,
Nac un gosp mewn gwlad a threfi,
Nad Duw ei hun sydd yn ei pheri.

25.

Nid oes plentyn gan Dduw cyfion
Heb ei gospi a thrallodion;
Nid yw hwn wir fab i'r Drindod,
Bastard yw, nid mab o briod.[T]

## CCIV.—GWEDDI'R CYSTUDDIEDIG.

1.

Ai'n dragywydd, Duw, y digi?[A]
Ai'n wastadol y'm cystuddi?
Duw, fy nerth, mae [B] dy drugaredd?
Duw, diddana fi'n y diwedd.

2.

'Rwy'n ymguddiad yn fy 'stafell,
'Rwy'n cau'r drws heb fyn'd yn nep-
'Rwy'n alarus yn och'neidio, [pell;
Nes dad-ddigiech a'm cysuro.

3.

'Rwyf fi'n llefain nos a borau,
'Rwyf fi'n canlyn [C] ar fy ngliniau,
'Rwyf fi'n ceisio cymhorth gennyd,
Dere weithian, llaesa'n [D] 'ngofid.

4.

'Rwyf fi'n gwaeddi'r nos yn irad,[E]
'Rwyf fi'n codi 'nwylaw attad,
Mae nau lygad yn hiraethu,
Am unrhyw ffordd it' fy helpu.

5.

'Rwyt ti'n rasol, 'rwyt ti'n rymmus,
'Rwyt ti'n ddoeth ac yn ddeallus; [iad,
O'th ras a'th rym, o'th ddoeth ragwel-
Rho gymhorth im' sy'n gwaeddi arnad.

6.

Arglwydd gwynn, mae cymmhorth
Rhag pob blinder tost a gofid; [gennyd
Rho ryw gymhorth er mwyn Iesu,
Llaesa'r blinder sy'n fy ngryddfu.[F]

7.

Gorau gwyddost ti pa fodd,
Pa ddull, pa bryd, y rhoi dy rodd;
Dere â chynghor, Arglwydd dere,
Y pryd a'r modd y gwelech oreu.

8.

Nid wyf fi'n pwyntio,[G] Arglwydd mawr
Nâ'r man, na'r modd, na'r dydd, na'r
Ond hir ddisgwyl wrth dy bleser, [awr;
Am dy gymhorth ar ryw amser.

9.

'Rwyt ti'n unig yn rheoli,
Nef, a daear, a'r môr dani,
Dyn, a diawl, a phob creadur;[H]
Duw, rheola boen fy nolur.

10.

Tydi reolaist donnau'r môr,
A'i dymhestl wynt, a'i roch, a'i ror,[I]
A'r whal,[J] a'r llew, a'r lleng gythreul-
Duw, rheola'r penna' o'r ffyliaid. [iaid,

[P] Esay 57. 16. Micah 7. 18. [Q] *Spare*, arbed. [R] Psalm 30. 5. [S] *Comfort*, cysur. [T] Heb. 12. 6—8.
[A] Psalm 79. 5. [B] Pa le y mae. [C] Erfyn yn barhaus. [D] Lleiha. [E] Yn wylofus. [F] Poeni. dolurio. [G] *Appoint*, trefnu, penderfynu. [H] Dan. 4. 35. [I] *Roar*, trwst, rhuad. [J] *Whale*, Morfil. Jonah 2 10.

11.

Ti ddiddanaist (Grist) yn ddiddig
Athrist dad y plentyn lloerig;[K]
Duw, o'th ras diddana finnau,
Sydd mewn cynddrwg cas[L] ag yntau.

12.

Ti wrandewaist gynt yn fuan,
Weddi daer y wraig o Ganaan;[M]
Arglwydd, gwrando 'ngweddi innau,
Sydd mewn cynddrwg cas a hithau.

13.

Gynt ti elwaist fab afradlon,
At ei dad ar liniau ei galon;
Galw attad, ar ei liniau,
Fab afradus megis yntau.

14.

Ti lanheist gynt Fari Fag'len,
O saith yspryd drwg aflawen;[N]
Duw glanha'r fath bobol aflan,
Oddiwrth ruthrau twyllgar Satan.

15.

Ti droist Saul, o ffiaidd gablwr,
I fod iti yn was'naethwr;[O]
Duw tro eraill i'th was'naethu,
A fu er's dyddiau yn dy gablu.

16.

Gwnaethost gynt i Beder wylo,
A 'difarhau, wrth edrych arno;[P]
Rho ar eraill y fath olwg,
Nes repento[Q] am eu mawrddrwg.

17.

Tydi wnaethost i Fanasses,
Wylo'n dost trwy irad[R] gyffes;[S]
Duw, gwna i eraill megis yntau,
Wylo, a gado eu troseddau.

18.

Ti dyneraist galon ddiriaid
Y rhai gwaethaf o'r Ninefiaid;[T]
Duw, tynera galed galon
Y ffieiddiaf o'r rhai meddwon.

## CCV.—GWEDDI GWRAIG WRTH ESGOR.

1.

Unig helpwr[A] gwŷr a gwragedd,
Cymhorth grymmus gwan di'mgeledd;
Nawdd parodol mewn cyfyngdwr,
Moes im' gymhorth, help, a swccwr.[B]

2.

'Rw'i mewn gwewyr, 'rw'i mewn gwasgfa,
'Rw'i mewn perygl a chyfyngdra;
Llaesa 'ngwewyr, rho im' rydd-did,
Cŵyn fy nghalon, cadw 'mywyd.

3.

Yn fy mlinder, nid wy'n ceisio
Help gan Fair,[C] na nerth gan Juno:[D]
Ond dy gymhorth di dy hunan,
Dduw trugarog, wy'n ei fegan.

4.

Tydi'n unig all fy helpu,
A'm rhyddhau, a'm dibryderu;[E]
Cymhorth Arglwydd, cadw f'enaid,
Rho im' rydd-did, cadw 'nghrothaid.

5.

Gwna fi'n llawen fam ar fyrder,
Cadw 'mhlentyn yn ddibryder;
Dwg e'n berffaith im' heb anaf,
Er mwyn Iesu, Dad goruchaf.

6.

Felly mi glodforaf d'enw,
Yn dragywydd, am ein cadw;
Ac a'th folaf nos a dydd,
Am roi imi wregys rhydd.

## CCVI.—DIOLCH AM WAREDIGAETH.

1.

O boen di-drangc,[A] o fraw di-drai,
O wasgfa dost, er Mawrth, er Mai,
Yn awr yn Awst, Duw ti'm gwaredaist,
Moliant iti 'rhwn a'm helpaist.

2.

Gwewyr, gwasgfa, a'm dilynodd,
Angau ac uffern a'm cwmpasodd,[B]
Dyn a da ni allent helpu,[C]
Pan ddaeth f' Arglwydd i'm gwaredu.

[K] Mat. 17. 14—18. [L] *Case*, cyflwr. [M] Mat. 15. 28. [N] Marc 16. 9. [O] 1 Tim 1. 13. [P] Luc 22. 61, 62. [Q] *Repent*, edifarhau. [R] Galarus. [S] 2 Chron. 33. 12. [T] Trigolion Ninefeh. Jonah 3. 5.

[A] *Helper*, cynnorthwywr. [B] *Succour*, ymgeledd. [C] Yn ol arferiad y Pabyddion. [D] Enw y dduwies y gelwai y Paganiaid arni yn bennaf yn yr amgylchiad dan sylw. [E] Gwaredu o ddychryn.

[A] Parhaus. [B] *Compass*, amgylchynu. [C] *Help*, cynnorthwyo.

3.

Nid oedd rhyngwyf a'r glas angau,
Led edefyn, 'rwy'n cyfadde',
Pan y daethost, Grist â swccwr,[D]
I'm gwaredu o'm cyfyngdwr.

4.

Fe fu'r angau glas anghynnes,
Dri mis hirion yn fy mynwes;
Nes i ti ei yrru allan,
A'm rhyddhau o'm poen a'm hofan.[E]

5.

O pa ddyled mawr sydd arnaf,
I'th foliannu, Dduw goruchaf,
Am fy achub o byrth angau,
Pan y syrthiais yn ei rwydau!

6.

Diolch dyfal, mawl diddiwedd,
Gallu, mawrglod, ac anrhydedd,
A fo'n wastad i'm Hiachawdwr,
Am fy nhynnu o'm cyfyngdwr.

## CCVII.—AM ANGEU.

1.

FE ordeiniodd Duw, i holl blant dynion,
O ba raddau bynna' y byddon',
Am eu pechod farw unwaith,
A chodi o'r bedd i'r barr[A] yr ailwaith.[B]

2.

Nid oes na brenhin mawr, na beger,[C]
Na'r lleia' ei barch, na'i mwya' ei bwer,[D]
Na'r call, na'r ffol, na'r gwych, na'r
gwaela',
Na symmud fyd i fyn'd oddiyma.

3.

Fe orfydd gado'r tai a'r tiroedd,
Y golud mawr, a'r holl bwrcasoedd,[E]
A thynnu'n llwyr bob rai oddiyma,
I'r bedd, i'r barr, o flaen Jehofah.

4.

Ni cheir aros yma ond amser,
Er maint o'r grym, a'r nerth, a'r pwer;
Ni cheir trigo yn dragywydd,
Ond hafotta[F] dros ddiwedydd.[G]

5.

I ble'r aeth Selyfn[H] a'i holl synwyr?
I ble'r aeth Samson gryf, a'i filwyr?
I ble'r aeth Nimrod wych, a Pharo?
Aeth angau glas â'r cwbwl gantho.

6.

I b'le'r aeth Herod falch a Philat?
Ym mh'le mae Cai'phas, Archoffeiriad?
Ym mh'le mae Ffelics, 'm'hle mae
Aeth y rhai'n i gyd i'r ddaear. [Cæsar?[I]

7.

Nid oes ar glawr[J] na Monarc[K] Persia,[L]
Na brenhin Groeg, na Phen Assyria,
Na Phompey fawr, na dewrwych Scip-
Heb i angau eu concwerio.[M] [io,

8.

Mae fel Herod yn distrywio,
Hen ac ieuangc, heb eu spario,[N]
Gwŷr a gwragedd, meibion, merched,
Cryf a gwan heb fedru eu harbed.

9.

Fe orfydd myn'd i ffordd yr hollfyd,
O'r gwely gwych i'r bedd lludylyd;
Fe orfydd cwympo dan draed angau,
A dodi'n gwarr dan fin ei gleddau.

10.

Nid oes gwân[O] yn awr, lle gweler,
Rhwng y brenhin mawr a'r beger,[P]
Nid oes ods[Q] rhwng Pab a phobydd,
Na rhwng marchog a melinydd.

11.

Y mae'r llyffaint yn llettya
Ym mhenglogau'r emprwyr[R] mwya';
Y mae'r chwilod yn lle eu ffroenau,
A'u tom wedi llenwi eu safnau.

12.

Y mae'r gwan, a'r tlawd, a'r truan,
Oedd yn crynu gynt gan ofan,
'Nawr yn sengyd ar eu boliau,
Ac yn tramwy dros eu beddau.

13.

Y mae'r pryfed gwedi bwytta
Y cnawd purwyn am y cynta',
Y mae'r ddaear wedi eu mhallu,
A throi'u hesgyrn oll yn lludy.[S]

14.

Nid oes gwân rhwng 'sgorbwd march-
Yn y bedd mewn cist gyfoethog, [og,
A rhyw 'sgorbwd hen gardottyn,
Fai yn ei fedd heb un edefyn.

[D] *Succour*, cymhorth. [E] Ofn.

[A] *Bar*, lle y carcharor yn llys barn. [B] Heb. 9. 27. [C] *Beggar*, cardottyn. [D] *Power*, gallu. [E] *Purchases*, meddiannau prynedig. [F] Trigo mewn lluest. [G] Prydnhawn. [H] Solomon. [I] *Cæsar*, oedd gyfenw cyffredin ar ymerawdwyr Rhufain; ond yma, ond odid, meddylir Julius Cæsar. [J] I'w cael yn bresennol. [K] *Monarch*, Brenhin annymddibynol. [L] Wrth hwn, a'r enwau canlynol yn y pennill, yn ol eu trefn, deallir Cyrus, Alexander Fawr, Sennacherib, a dau ryfelwr clodfawr o genedl y Rhufeiniaid. [M] *Conquer*, gorchfygu. [N] *Spare*, arbed. [O] Gwahaniaeth. [P] *Beggar*, cardottyn. [Q] *Odds*, gwahaniaeth. [R] *Emperors*, penaethiaid uwchlaw brenhinoedd. [S] Llydw.

15.
Fe wylai dyn yn hallt, pe gwypai.
Na byddai ond deuddydd rhyngddo ac angau;
Pa'm y chwardda hwn mor siriol,
Lle na fedd un dydd sertennol?[T]

16.
Arglwydd, pa'm na feddwl dynion,
Am eu dechrau, a'r lle daethon',
A'r modd y mae yn rhaid 'ynt fyned,
Bawb i'r bedd, i borthi'r pryfed!

## CCVIII.—ANSICRWYDD BYWYD.[A]

1.
Gynt ti dreuliaist lawer blwyddyn,
Mewn oferedd bob yn ronyn; [rwydd,
Treulia flwyddyn mewn santeidd-
Cyn y'th farner gan yr Arglwydd.

2.
Rhag na chaffech ond y leni,
Treulia hon yn ddeddfol[B] trwyddi;
Pwy fydd yma'r flwyddyn nesaf,
Nis gŵyr neb ond Duw goruchaf.

3.
Rhag na chaffech hon yn gyfan,
Dechreu heddyw ar ddydd Calan;
Fe aiff llawer cyn gŵyl Iago,[C]
O flaen Crist i'r barr,[D] i ympyrio.[E]

4.
Pwy aiff gynta' i gyfri 'i feiau,
Nis gwn i, nis gwyddost tithau;
Yr ammharottaf byth ond odid,
Aiff yn flaena' i gael ei ferdid.[F]

5.
Byddwn bawb gan hynny'n barod,
I fyn'd i'n barnu bob diwrnod;
Ar yr awr y bo'm ni'n cysgu,
Y daw'r angau glas i'n cyrchu.[G]

## CCIX.—GWAHODDIAD I FOLI CRIST.[A]

1 Dowch holl feibion Adda,
A holl ferched Efa,
Dowch bawb am y cynta'
I'r cyntedd yn hy;
I roddi i'r Gorucha',
Foliant o'r mwya',
Am roddi'r Messia i'n prynu.

2 Rhown foliant o'r mwyaf,
I Dduw'r Tad yn gyntaf,
Am roi'i Fab anwylaf
Yn nwylaw Mair,
I gym'ryd ein natur,
A'n dyled a'n dolur,
I'n gwared o'n gwewyr anniwair.

3 Pa ddiolch, pa daliad,
Pa fawr-glod, pa gariad,
A rown i'r uchel-Dad
Am gariad mor gu?
Pe rhoem ar ein gliniau,
Yn hwyr ac yn forau,
Fawr foliant yn ddiau fe'i dyly.[B]

4 Fe gymmerth ein natur,
Fe'n gwnaeth iddo'n frodyr,
Fe ddygodd ein dolur,
Gan oddef yn dost;
Fe wnaeth heddwch rhyngom
A'i Dad a ddigiasom,
Fe lwyr dalodd drosom y fawrgost.

5 Yn ddyn fe ddioddefwys,
Yn Dduw fe orchfygwys,
Yn Geidwad fe gadwys
Ein heneidiau i gyd,
Fe dalodd ein dyled,
Recyfrodd[C] ein colled,
Ni chawn ni mwy glywed o'n gofid.

6 Fe anrheithiodd y gelyn,
Fe sigodd ei gobyn,[D]
Fe dynnodd ei golyn,
Fe 'nillodd y gol,[E]
Fe dorrodd ei rwydau,
Fe ddygodd ei arfau,
Fe roes iddo glwyfau oedd farwol.

[T] *Certain*, sicr.—Efelychiad yw hwn o'r ddwy linell Ladin,—

"Fleres, si scires unum tua tempora mensem,
Rides, cum non sit forsitan una dies."

[A] Gwelir fod y Gan hon wedi ei bwriadu yn neillduol i'w hystyried ar ddydd Calan. [B] Yn ol y gyfraith. [C] Gorphenaf 25. [D] Lle y carcharor yn y llys. [E] *Appear*, ymddangos. [F] *Verdict*, barn. [G] Mat. 24. 44.

[A] Gadawyd chwech pennill allan o'r Gân, am eu bod wedi eu gosod i mewn eisioes, ar ddiwedd Cân XIV. [B] Fe ddylai ei gael. [C] *Recover*, adferu. [D] Pen. [E] *Goal*, pen draw yr yrfa,—ennillodd y gamp.

7 Rhag melldith yr Arglwydd,
A'i ddidrangc lidiogrwydd,
Rhag brad a dwrngasrwydd
Y digasog ŵr,
Rhag angau trag'wyddol,
A phoenau uffernol,
Fe'n cadwodd ein grasol Iachawdwr.

8 Fe'n gwnaeth ni, blant dynion,
Yn ferched, yn feibion,
I'w Dad yn 'tifeddion
O'r 'tifeddiaeth fry,[F]
I fyw yn dreiwmphant,[G]
Mewn nefol ogoniant,
Er mawrglod a moliant i'r Iesu.

9 A chyda'r angylion
I ganu'r carolion,[H]
Pan ganed Duw cyfion
A'n ceidwad cu,
Rhown iddo ogoniant,
Mewn heddwch a llwyddiant,
Sef pob rhai a gredant i'r Iesu.

10 Ac fel y gwŷr doethion,
Rhown iddo anrhegion,[I]
Ar liniau y galon,
A'r genau ar g'oedd,
Sef gwir edifeirwch,
A ffydd trwy ddiddanwch,
A diolch am heddwch ei bobloedd.

11 Mae achos cyfreithlon,
I bawb godi ei galon,
I foli'r Oen tirion,
Os 'styriwn ei les;
Fe gadwodd ein bywyd,
Fe'n tynnodd o'n gofid,
Fe'n rhwystrodd i'r danllyd boeth ffwrnes.

12 Gwahoddwch y tlodion,
A'r clwyfus a'r cleifion,
A'r gweiniaid a'r gweddwon,
I gael rhan o'ch gwledd,
O barch i'r Messias,
A'n dwg ni i'w deyrnas,
I gadw hir Gristmas[J] heb ddiwedd.

13 Cyd-dramwy i'r temlau,
Gyd-ganu pêr salmau,
Ymddiddan am wyrthiau
A doniau Duw'r Gair,
A ddylem yn flysig.[K]
Ar ddyddiau Nadolig,
A'u cadw'n barchedig heb anair.

14 Sanctaidd yw'n Ceidwad,
A sanctaidd ei 'mddygiad,
A'i fywyd a'i fwriad
Wrth farw,
A sanctaidd ei wyliau,
A sanctaidd a ddylai
Pob rhai 'honom ninnau eu cadw.

15 Wrth eistedd i 'mdwymo,
Rhowch hen chwedlau heibio,
Dechreuwch ymresno,[L]
Am rysiant[M] y byd,
A'n cwdwm yn Adda,
A'n colled o'r mwya'
A'n codiad yn ail Adda hyfryd.

16 Chwedleuwch am Adda,
A'i dreson[N] a'i draha,
A'r penyd, a'r poenfa
Ddwg ef ar ein pen;
Chwedleuwch am Iesu,
Na allai'n gwaredu,
Nes gorfod ein prynu ar grogpren.

17 Hynny bai'r ini
I wel'd ein gofidi,
A dyall ein didri,[O]
Ond adrodd ein cas,[P]
A bod yn ddiolchgar,
I Dduw am ei ffafar,[Q]
I'n gwared o garchar mor atgas.

18 Hynny bair hefyd,
Yn ol gwel'd ein gofid,
In' ddyfod yn esgud,[R]
I'n hysgafnhau,
O'n blinder a'n gofid,
At Brynwr yr hollfyd,
A chadw yn hyfryd ei wyliau.

19 A chanfod yn eglur, fod cwmffwrdd[S] a chysur,
I ni ac i'n brodyr, oddiwrth Grist ein Brawd;
A phardwn[T] a heddwch, a nefol ddiddanwch,
Ac ymwared o'n d'ryswch a'n hanffawd.[U]

[F] Dat. 1. 6. [G] *Triumphant*, gorfoleddus. [H] *Carols*, cerddi o orfoledd. [I] Mat. 2. 11. [J] *Christmas*, y Nadolig. Gwyl genedigaeth Crist. [K] Yn awyddus, gyda blas. [L] *Reason*, ymresymmu. [M] Afradlonedd, anghymmedroldeb. [N] *Treason*, brad yn erbyn llywodraeth, trosedd. [O] Cyfyngder, dyryswch. [P] *Case*, cyflwr. [Q] *Favour*, caredigrwydd. [R] Bywiog, buan. [S] *Comfort*, diddanwch. [T] *Pardon*, maddeuant. [U] Aflwydd.

## CCX.—AM GREADIGAETH Y BYD.[A]

1.
Pwyswch Gymry mwyn caredig,
Atta'i wrando cerdd blethedig,
Yr hon sy'n traethu pethau hynod,
Am waith Duw mewn chwech diwrnod.

2.
Cyn dechreuad y byd yma,
Nid oedd dim ond Duw Goruchaf';
Yn ol ei 'wyllys a'i weithredoedd,
Cyntaf peth e' wnaeth y nefoedd.

3.
Yn ol gwneud y nefoedd hawddgar,
Nesa' peth fe wnaeth y ddaear;
Môr a thir oedd wrth ei feddwl,
A thywyllwch dros y cwbl.

4.
Ar ddydd Llun fe wnaeth yn eglur,
Haul a lloer, a ser ac awyr;
Fel y gallai'r Brenin mawrddoeth
Wel'd ei waith yn eglur drannoeth.

5.
Ar ddydd Mawrth fe wnaeth yn gyn-
Fôr, a thir, a choedydd daear, [nar
A'r ffynnonau dw'r trwy'r cerrig,
I ddiodi pob sychedig.

6.
Ar ddydd Mercher gwnaeth yn barod,
Bob rhyw adar, a phob rhyw bysgod,
Trwy fôr a thir, rhodd siars yn helaeth
Amlhau y byd â phob rhywogaeth.

7.
Ar ddydd Iau fe wnaeth 'nifeiliaid,
Mawr a bychain, gwyllt a dofiaid;
Ac archodd ef trwy lawn orchymmyn,
Was'naethu'r byd bob rhyw o honyn'.

8.
Ar ddydd Gwener fe wnaeth Adda,
O bridd a dw'r yn ddyn o'r glana',
A'i gydmares Efa dirion,
Wnaed o'r asen nesa'i galon.

9.
Ar ddydd Sadwrn fe fendigodd,
Yr holl waith yr hwn a greodd:
A'r seithfed dydd fe 'mrows i aros,
Yn ol ei waith ar hyd yr wythnos.

10.
A'r seithfed dydd fe orchymmynwys,
Was'naethu ef, a myn'd i'r eglwys,
Gan orphwyso a gweddïo, [gofio.
Waith hwn yw'r dydd sydd raid ei

11.
O saith rhyw ddefnydd gwnaeth Duw
Ar ei lun a'i ddelw'n gysson, [Gristion
A'r rhai hyn chwi gewch eu clywed,
O na fyddwn byth mor falched.

12.
O'r pridd y'th wnaed, ddyn peraidd, purwyn,
O'r cerrig nadd y gwnaed dy esgyrn,
O'r môr dy waed, o'r haul dy galon,
O'r Yspryd Glân dy enaid gwirion.

13.
O'r wybren las y gwnaed dy synwyr,
A'th ymadroddion mwynion eglur;
O'r gwynt dy anadl peraroglau,
Pwy yw'r dyn a ddichon ameu?

14.
O'r pridd y'th wnaed, ddyn peraidd,
Ac i'r pridd etto y dychweli; [heini,
Cais ymbar'toi, a gâd dy faswedd,
Dyfal feddwl am dy ddiwedd.

15.
Er maint yw'n beiau, a'n holl frynti,
Er maint ein balchder a'n holl wegi,
Cyn y delo dydd ein diwedd,
Cymmer arnom ni drugaredd.

16.
Meddwl ddyn, pan fyddost falchaf,
O ba beth y'th wnaed di gyntaf,
Ac er maint dy wegi a'th faswedd,
Pa le yr âi di yn y diwedd.

17.
Maddeu i bobl Llanymddyfri,
Eu holl bechod a'u drygioni,
Eu camsynied a'u hoferedd,
A chymmer arnynt hwy drugaredd.

18.
Dyro i'w hathraw rad a iechyd,
I bregethu'r 'fengyl hyfryd;
A llwydda'i waith o'th fawr drugaredd,
A dwg e' i'r nefoedd yn y diwedd.

[A] Y Gân hon a gafwyd o enau hen wraig, a ddysgodd hi gan ei mam, a fuasai yn gwasanaethu gynt gan yr hen Ficer yn Llanymddyfri.

O ARGLWYDD grasol, yr hwn yn dy Air Sanctaidd wyt yn erchi i ni alw arnat yn mhob cyfyngder; ac yn addaw ein gwrando, a'n gwaredu, ond galw arnat mewn ffydd ac edifeirwch; yr ydym yn deisyf arnat, o'th anfeidrol drugaredd, roddi gras a grym i ni graffu ar dy addewidion, a dal gafael arnynt, fel y gallom lefain arnat am gynnorthwy ym mhob achos, a chael ein nerthu yn ol dy addewid.

A chan na fedr neb o honom weddïo arnat fel y dirper (dylem) heb gyfnerth dy Ysbryd, yr ydym yn canlyn arnat, er mwyn dy fab Iesu Grist, roddi i ni dy nefawl Ysbryd, (ac na phallech ddim ag a geisiom,) i gynnorthwyo ein gwendid, ac i gyfarwyddo ein gweddïau, ac i ymbil drosom âg ocheneidiau annhraethadwy, fel y gallom geisio yr hyn wyt yn ei erchi, a derbyn yr hyn wyt yn ei addaw, ac nad elo ein gweddïau un amser yn ofer; ac i barrotoi ein calonnau, i agoryd ein geneuau, i gyfarwyddo ein tafodau, i sefydlu ein meddyliau, ac i hogi ein hawch, fel y gallom alw arnat yn brudd mewn Ysbryd a gwirionedd, a cheisio gennyt yr hyn wyt yn ei addaw. A chan fod Satan bob amser yn ceisio ein hattal i weddïo, ac yn taflu trawsfeddyliau i'n calonnau pan fyddom yn chwennych galw arnat; yr ydym yn deisyf arnat er mwyn Crist ei geryddu, a rhoddi gras i ninnau i'w wrthwynebu, mewn astudrwydd a bywiol ffydd, fel y gallom wneuthur dy waith yn brudd o ddyfnder calon, a chael gennyt Arglwydd, wrando ein gweddi a chynnorthwyo ein gwendid. Ac lle yr wyt yn erchi i ni o flaen pob dim wrth weddïo, geisio dy deyrnas, a'th gyfiawnder; yr ydym yn erfyn arnat roddi gras i ni ddilyn dy orchymmyn; ac o flaen pob peth, ym mhob achos, geisio dy ogoniant, a sancteiddiad dy enw mawr.

Arglwydd, deued dy deyrnas i'n plith, fel y gallech di fel Brenhin reoli ein calonnau â'th Air â'th Ysbryd nefol; a ninnau fel deiliaid ufudd yn cymmeryd ein rheoli gennyt. Fydd di yn Dduw i ni, a gâd i ninnau fod yn bobl i tithau; bydd di yn Dad a ninnau yn blant, tydi yn Arglwydd a ninnau yn weision, tydi yn erchi a ninnau yn ufuddhau, tydi yn gwahardd, a ninnau yn ymgadw, fel y gwnelom dy ewyllys ar y ddaear fel y mae'r angylion yn gwneuthur yn y nef; nid dros un peth ond ym mhob peth, nid dros dro ond yn dragywydd, nid yn ddiog ond yn ewyllysgar, fel y gogonedder dy enw ar y ddaear fel yr ydys yn ei ogoneddu yn y nef.

Yn nesaf at dy ogoniant dy hun, yr ydym yn deisyf arnat y pethau a perthynant at iechydwriaeth ein heneidiau, dy heddwch di a'th dangnefedd, yn dy Fab Iesu, i'n cymmodi â thi, a'n cymmeradwyo yn ei waed ef trwy dy Ysbryd Sanctaidd, a'n hadgenhedlu, a'n gwneuthur yn blant i ti trwy fabwysiad a gras, a ffydd fywiol, i ddal gafael am iechydwriaeth yn haeddedigaethau Crist, a gras i ymddwyn yn Gristionogaidd yn ein galwad, fel y gweddai i'th blant di, gan ddisgleirio mewn gweithredoedd da, ac ymddygiad duwiol, fel y gogonedder dy enw o'n parthed.

Na âd i ni, mewn enw yn unig, ein galw ein hunain yn blant i ti, ac ymddwyn ein hunain megis plant y byd hwn; eithr pâr i ni ddisgleirio megis ser ym mhlith cenhedlaeth anghyfiawn, a dwyn dy lun a'th ddelw yn ein talcenau, gan ymddwyn yn sobr, ac yn union fel plant i ti. A chan na'd oes gennym mo'r bara ond y gaffom gennyt, ac na wna ymborth les nes bendithiech di ef, yr ydym yn deisyf arnat, o'th dragywyddol ddaioni, roi i ni ein bara beunyddiol, a phob peth sydd angenrheidiol i'n cynhaliaeth yn ein galwad i'th anrhydedd di, fel y caffom rym a gras, modd a medr, i'th wasanaethu yn ein galwad yn ffyddlon holl ddyddiau ein bywyd, fel pan ddelom ger dy fron i roddi cyfrif o'n goruchwyliaeth, y gallom ei wneuthur gyda chydwybod esmwyth. Amen.

[A] Y weddi hon a gafwyd gan Rhys Thomas, ymhlith ysgrifau y Ficer.

# HANES BYWYD

# Y Parch. Rhys Prichard, A.M.

## GYNT FICER LLANYMDDYFRI.

---

DYGWYD Cristionogaeth i Brydain yn fuan iawn ar ol goresgyniad yr Ynys gan y Rhufeiniaid buddugoliaethus; ac er i'r trigolion gael eu dwyn yn gaeth dan iau estronol, gwnaed y golled i fynu drwy sefydliad cyffredinol crefydd bur a sanctaidd yn y wlad. Ond wedi i dymhor y llywodraeth Rufeinig ddarfod, anrheithiwyd y wlad hon yn olynol gan y Pictiaid, y Scotiaid, y Saeson, a'r Daniaid, y rhai yn ddiwahaniaeth a sathrent ar freiniau a chrefydd y Brython. O flaen y llifeiriant mawr hwn o adfyd, enciliodd y brodorion i fynyddoedd Cymru, lle y cadwyd y ffydd am oesoedd, yn wyneb rhuthrau cryfion cyfeiliornadau ac erledigaeth Eglwys Rhufain.

Er, yn y seithfed canrif ein bod yn canfod yr Eglwys Gymreig yn gwrthdystio yn erbyn cymmundeb â'r Pab; eto, o herwydd diffyg o'r Ysgrythyrau yn yr iaith gyffredin, ymlusgodd llygredigaeth i'r ganghen hon o'r Eglwys Apostolaidd; ac yr oedd ymrysonau y Tywysogion Cymreig, yn gystal a gorthrymder y gelynion, yn tueddu i feithrin y llygriad hwn.

Parhaodd ymdrechiadau cyfrwys y Pabyddion i lygru a gwenwyno ffynhonell gwybodaeth ac addysg y Dywysogaeth, fel y darfu i'r Cymry, dan lywodraeth y Normaniaid, gael eu sicrhau yng nghyffion tywyllwch a choel-grefydd. Er hyny, yn oes y caddug hwn, yr oedd rhai tystion ffyddlon a gadwent yn fyw farwor y tân sanctaidd hwnnw, a dorodd allan yn fflam ddisglaer yn amser y Diwygiad. Rhwystrwyd ymdaeniad y goleu hwn am ennyd gan erledigaeth dost; ond erbyn ei fod, dan amgylchiadau gwell, newydd ddechreu llewyrchu ar y Dywysogaeth, gwelodd yr Hollalluog yn dda i godi iddo ei hun weision ffyddlon, i lafurus gariad y rhai y mae Cymru yn rhwymedig am gyfieithiad o'r Ysgrythyrau i'w hen iaith; ac am bregethiad o'r athrawiaeth iachus a gynnwysir ynddynt. O'r llafurwyr diwyd hyn, a fynegent i'w cydwladwyr ffordd iechydwriaeth, ni chyrhaeddodd un fwy o enwogrwydd yn ei wlad na'r Parch. REES PRICHARD, neu, fel y gelwir ef yn fwyaf cyffredin, "Hen Ficer duwiol Llanymddyfri." Er hynny, nid oes nemawr un y soniwyd mwy yn ei gylch, ac yr ydys yn gwybod cyn lleied am dano yn yr oes hon.

Tra y derbynia Mr. Prichard oddiwrth ei genedl barch braidd hyd eilun-addoliaeth, ymdrechir taflu dirmyg ar le ei enedigaeth, a'r lle hefyd y gweinidogaethai ynddo, drwy haeru nad ydyw y trigolion wedi cadw ond ychydig goffadwriaeth o ŵr yr oedd eu hynafiaid dan gymmaint rhwymedigaeth iddo. Amcan yr Hanes presennol yw symmud ymaith y gwarthrudd hwn, cyn belled ag y mae yn awr yn ddichonadwy. Y mae amryw hyspysiaethau profadwy wedi aros hyd yma, gyda golwg ar y gŵr enwog hwn, er holl esgeulusdod yr oesoedd a aethant heibio; ac er eu bod yn fwy perthynasol i Hynafiaethydd nag i Hanesydd bywyd etto, hyderir na ystyrir unrhyw hyspysiaeth gwirioneddol, ym mhen cymmaint o amser, yn annheilwng o dderbyniad. Gan hyny, gobeithia ysgrifenydd y Cofiant hwn, y caiff yr adgofion canlynol ynghyd â'r casgliadau a dynnir oddi wrthynt, eu derbyn yn roesawgar; ac y tueddant mewn rhyw radd at ogoniant yr Hwn a fu yn arweinydd i'w was yn ei daith o ddefnyddioldeb.

Yr unig gofiant rheolaidd am y Parch. Rhys Prichard, yw yr un a elwir gan rai yn "Ysgerbwd Hanes Anthony Wood," yn yr hwn yr ydym yn cael i Mr. Prichard gael ei eni yn Llanymddyfri, yn swydd Gaerfyrddin, yn neu yn nghylch y flwyddyn 1579, sef y 21 o deyrnasiad y Frenhines Elizabeth. Am ei hynafiaid nid oes nemmawr o hanes, heblaw bod lle i feddwl bod ei dad yn berchen cryn feddiannau yn y gymmydogaeth, ac mai ei enw ydoedd Dafydd ap Richard ap Dafydd ap Rhys ap Dafydd. Ymddengys fod testun y Cofiant hwn yn hynaf o amryw blant, oblegid y mae tri, a ddynodir yn frodyr iddo, wedi ei enwi fel cymmun dderbynwyr yn ei Ewyllys ddiweddaf; ond y mae cryn ddyryswch gyda golwg ar ei enw ei hun; oblegid, er yr argrephir ef yn gyffredin yn Gymraeg *Rhys*, ac yn Saesonaeg *Rees* Prichard, mewn dwy o dair ysgrif o'i eiddo ei hun, ag ydynt etto ar glawr, ysgrifenir ef *Rice*, ac yn y drydedd *Riceus*. Y mae wedi ei enwi mewn hen ysgrifeniadau yn *Rees Prichard*, ac yn *Rice ap Richard;* ond yr oedd anghyssondeb o fath hwn yn beth tra chyffredin hyd yn lled ddiweddar.

Mewn perthynas i febyd Mr. Prichard, ni adroddir dim nodedig, oddieithr un hanesyn; yr hwn, os ydyw yn wir, a ellid ei ystyried fel enghraifft ychwanegol o ymddygiad grasof Duw at ei bobl, ac a ddangosai y gall ef, pan y mynno, wneuthur y rhai mwyaf anystyriol a halogedig eu bywyd yn llestri trugaredd, ac yn weinidogion cymhwys y Testament Newydd, a hynny trwy ffordd neillduol o'i eiddo ei hun. Yn ol y crybwylliad hwn, cafodd gweithred mewn meddw-dod ei goruwch-lywodraethu gan Ragluniaeth ddoeth, er troi Mr. Prichard, o ffyrdd pechod a Satan, i fod yn ddilynwr ffyddlon i Grist. Pan yn ieuangc, dywedir ei fod yn dra chwannog i bechod cyffredinol yr oes, sef meddwdod, ac iddo gael ei waredu rhag y drwg hwn drwy offeryndod bwch gafr, yr hwn a arferai ei ganlyn i anneddau afradlondeb a chynnen, y rhai a ddarlunir ganddo mor rhagorol yn ei "Gân ynghylch y Diawl a'r meddwon." Rhyw dro, cafodd gan ei gydymaith direswm gydyfed âg ef nes y meddwodd. Ar ol y digwyddiad hwn, nis gallai byth gael gan y bwch ddyfod i dafarn drachefn, na phrofi diferyn o'r gwlybwr meddwol. Yr amgylchiad hwn, er mor ddibwys y gallai ymddangos i rai, a fendithiwyd gan yr Yspryd Glân mewn modd arbennig fel y dygwyd Mr. Prichard i'r fath ystyriaeth o'i gyflwr isel a cholledig ei hun, nes y darfu iddo, nid yn unig adael ei arfer annuwiol o yfed i ormodedd, ond cael ei wneuthur yn greadur newydd, ac ymroddi i wasanaeth Duw.

Nid oes, fel y crybwyllwyd yn yr argraphiad blaenorol o Hanes y Ficer, hollol sicrwydd ynghylch yr amgylchiad hwn yn ei gyssylltiad â'r Ficer Prichard: rhoddir yr hanes fel y cyhoeddwyd ef gan ei fywgraphydd, Mr. Rhys Thomas, yn y flwyddyn 1770. Yr oedd y chwedl y pryd hynny yn ddieithr ac anghredadwy i henafgwŷr tre' Llanymddyfri, llawer o ba rai fuont yn ymddiddan a phersonau, tadau pa rai oeddynt yn cydoesi â'r hen Ficer. Galwyd ein sylw gan Thomas Watts, Ysw., Llyfrgellydd yn y "British Museum," at hanes tebyg iawn i chwedl yr Afr, a'r hyn a gymmerodd le tua chan' mlynedd cyn amser yr hen Ficer, ond nid oedd yn cofio yn mha lyfr yr oedd yr hanes. Ar ol hynny, digwyddodd llyfr bychan dd'od i'n llaw, a elwir "An account of the Parish of Aberystruth, Monmouthshire, by Edmund Jones," argraphedig yn Nhrefecca, yn y flwyddyn 1779, yn yr hwn y rhoddir yr hanes canlynol, yn Saesonaeg; ac nid anhebygol mai hwn yw gwreiddyn y chwedl, ac os felly, y mae yn symud ymaith y gwaradwydd o anghymmedrolder a meddwdod oddiar ysgwyddau y Ficer Protestanaidd, a'i osod yn ol ar ben Syr Philip, y Curad Pabaidd.

"Rhyw ysbaid o amser ar ol adeiladu Eglwys Aberystruth, a chyn y Diwygiad, yr oedd un Syr Philip—nid oes rhagor o'i enw ar gôf—efe oedd Curad y Plwyf; ac o herwydd nad oedd caniatâad i Offeiriaid Pabaidd ymbriodi, yr oedd yn trigo wrtho ei hun, mewn tŷ a elwid y Tŷ Llwyd, nid ym mhell oddiwrth yr Eglwys. Derbyniodd Syr Philip, fel y tybir, fynn yn lle degwm, a chan fod unigolrwydd yn ymddangos yn hirfaith a blinedig, ac nid yn wastadol yn dyddanus i un fath o greadur, chwaithach i un o ddynolryw, efe a ddifyrai ei hun â'r mynn, ac a'i magodd ef i fynu, hyd oni phrifiodd yn Fwch Gafr, a gadawai ef i orwedd ar redyn neu wellt yn yr un ystafell ag ef ei hun; efallai, mewn rhan, i leihau ei ofn y nos: oddiwrth yr hyn nid yw y dysgedigion na'r mawrion yn wastadol yn rhydd. Caniad iii. 7 ac 8. '*Wele, ei wely ef, sef yr eiddo Solomon; y mae tri ugain o gedyrn o'i amgylch, sef o gedyrn Israel. Hwynt oll a ddalient gleddyf, wedi eu dysgu i ryfel, pob un â'i gleddyf ar ei glun, rhag ofn liw nos.*' Nid oedd yr anifail yn anniolchgar idd ei noddwr, fel y mae dynion i'w creawdwr a'u cynhaliwr. Esay i. 3. '*Yr ŷch a edwyn ei feddiannydd, â'r asyn breseb ei berchennog: ond Israel nid edwyn, fy mhobl ni ddeall.*' Ond yr oedd ganddo hoffder mawr tuag atto, ac yr oedd yn ymhyfrydu i'w ddilyn i ba le bynag yr elai, hyd y nod i'r Eglwys ar y Suliau. O herwydd nad oedd caniatâad iddo fyned i mewn i'r Eglwys, arosai yn y porth, gan gnoi ei gil, hyd oni therfynai ei Feistr, ac wedi hyny efe dilynai ef i'r Tafarndy gerllaw. Ond ar un achlysur, yn absennoldeb Syr Philip, bu rhai o'r cwmpeini mor ddrygionus a gorfodi'r Bwch Gafr i yfed hyd oni feddwodd; ac wrth fyned tua chartref cwympodd oddiar y bontbren oedd rhyngddo a thŷ Syr Philip, i'r afon, lle yr oedd mewn perygl o foddi, neu gael ei friwio ar y cerrig. Ar ol y digwyddiad hwn, ni elai i'r Tafarndy fel o'r blaen mewn un modd, ond gorweddai i lawr ar ochr arall yr heol, pa un oedd yn myned heibio y Tŷ yn ngolwg y drws, i weled ei Feistr pan y delai allan, fel y gallai ei ddilyn ef tua chartref.

"Yr oedd yma wers o gymmedroldeb yn cael ei hamlygu i'r holl blwyf, ac i'r Curad ei hunan, ac i bawb, yn erbyn meddwdod, gan anifail y ddaear, hyd ddiwedd amser. Yn ddiammeu chwedleuwyd llawer yn ei gylch yn mhell ac yn agos; a gwnaed Syr Philip yn fwy enwog gan y Bwch Gafr, nac a fuasai mewn un modd arall. Ond ni wyddom pa un a daliwyd sylw yn ymarferol ar y wers neu peidio: os na ddo, hi fydd yn dyst yn erbyn y sawl a glywsant am dano, ac a weithredasant i'r gwrthwyneb iddo, yn y diwrnod pan "*datguddiant y nefoedd ei anwiredd ef, a'r ddaear a gyfyd yn ei erbyn ef mewn barn.*" Job xx. 27.

"Danfonwyd hanes yr amgylchiad hynod hwn i Lundain, gyda ychydig o amrywiaethiad yn y desgrifiad, ac argraphwyd ef yn y 'Royal Magazine,' am 1761. Llyma yr oedd peth hynod iawn, haeddianol o'i gyhoeddi ym mhob plwyf, ac yn yr holl fyd; ac i ddal sylw yn ymarferol arno gan bawb, yn enwedig gan bob gweinidog, sef yr hyn a gymerodd le yn mhlwy' Aberystruth."

Felly dywed y Parchedig Edmund Jones, yr hwn er ei fod yn ddyn lled ofergoelus, etto oedd wr geirwir a duwiol; a gellir sylwi bod yr hanes wedi ymddangos yn Saesonaeg yn y 'Royal Magazine,' *naw mlynedd* cyn i Rhys Thomas ei dadogi a'i daflu ar gefn yr hen Ficer.

Y mae yn drueni o'r mwyaf bod y fath chwedl dda a chymmeradwy yn cael ei distrywio, yn enwedig pan ystyrir bod y chwedl wedi cael ei thraddodi gannoedd, os nid miloedd o weithiau gydag effaith rhagorol o ddefnyddioldeb, trwy y Deyrnas o ben bwy gilydd, ar gân, ac mewn rhyddiaith, gan darlithwyr ac ysgrifenwyr ar Ddirwest a Chymmedroldeb; o herwydd rhaid dal sylw, nad oedd y canlyniad o droedigaeth, edifeirwch, a'r llwyr ymwrthodiad a briodolir i'r hen Ficer, ynghyd a'i dduwioldeb anwadadwy, a'i fri goruchel, i'w gweled ynghyflwr Syr Philip, yr hwn, y mae lle i ofni, ni dderbyniodd un lles ymarferol oddiwrth y digwyddiad hynod. "Y gwir yn erbyn y Byd," ddylai fod yn arwyddair pob Hanesydd; ac y mae yn dda gennym gael y cyfleu hwn o lanhau cymmeriad y Ficer Prichard, pan oedd yn ddyn ieuangc.

Annichonadwy penderfynu ym mha le y derbyniodd Mr. Prichard ei ddysg. Wood, wedi crybwyll am le ei enedigaeth, a ddywed iddo gael ei ddwyn i fynu "yn y parthau hyny;" yr hwn ddarluniad sydd ddigon ehang i gynnwys holl Ddeheubarth Cymru. Ond tebygol iddo gael ei egwyddori mewn Lladin a Groeg yn Ysgol Ieithadurol Aberhonddu; oblegid yr un yng Nghaerfyrddin a gafodd ei sylfaenu gan ei gyfaill a'i gyd-oesydd yr Esgob Owen, o Landaf; ac nid yw yn ymddangos, am gan' mlynedd wedi hyn, fod unrhyw Ysgolion sefydledig yn y rhan hon o'r wlad, heblaw y ddwy a nodwyd. Cyfeiria Mr. Prichard ei hun at y diffyg hwn o addysg yn ei "Rybudd i'r claf i wneuthur ei ewyllys," efe a ddywed,—

"Adael ysgol rydd yn Nghymru,
Lle mae eisiau; dysg sy'n pallu."

Pan oedd Mr. Prichard ynghylch deunaw oed, efe a anfonwyd, yn y flwyddyn 1597, i Goleg Iesu, yn Rhydychen, yr hwn y pryd hynny oedd newydd ei sefydlu, er addasu ei hun i waith y weinidogaeth. Am ei helynt yn y Brif-Ysgol, ni sonir dim gan Wood, na chan neb arall. Dywedwyd gan rai, er na ellir profi gwirionedd yr haeriad, mae aelod ydoedd o Goleg St. Ioan, ac nid o Goleg Iesu. Ond y mae hyn yn dra anhygoel; oblegid tystia y Coflyfrau Cyhoeddus yn Rhydychen, mai yn aelod o Goleg Iesu y bu, pan y graddwyd ef yn Wyryf yn y Celfyddydau, Mehefin 26, 1602. Cyn yr amser hwn, yr oedd Mr. Prichard wedi cymmeryd arno yn gyflawn ddyledswyddau ei alwad oruchel. Cymmerodd ei urddiad le, yn ol yr hanes a roddir, yn Wittham, neu Wytham, yn Essex, lle yr urddwyd ef yn Offeiriad, gan John, Is-Esgob Colchester,* ar ddydd Sul, Ebrill 25, 1602. Rhy anhawdd yn awr yw cael allan, drwy ba drefniad o eiddo rhagluniaeth yr arweiniwyd Mr. Prichard i'r rhan honno o'r wlad; ond gan nad pa un ai o herwydd ei dduwioldeb, ei dalentau, neu gyfryngaeth ei gyfeillion y bu hyn, y mae yn amlwg fod rhyw reswm dros afreoleiddiwch ei urddiad, cyn cael ei raddio yn Rhydychen, yn gystal a'i ddyrchafiadau cyflym; oblegid dywedir wrthym, ddarfod i fywioliaeth Llanymddyfri gael ei rhoddi iddo ar y chweched o Awst, yn yr un flwyddyn, gan y Dr. Anthony Rudd, Esgob Tŷ-Ddewi. Y fywioliaeth hon, a llefaru yn briodol, oedd Ficeriaeth Llandingad, ynglŷn wrth yr hon y mae Capeliaeth blwyfol Llanfairarybryn. Bu y rhoddiad hwn yn foddion i'w sefydlu yn ei blwyf genedigol, ac yn nghanol ei feddiannau: a hyn yw yr achos iddo gael ei alw yn gyffredin "Ficer *Llanymddyfri*," yr hon fel y gŵyr y rhan fwyaf o'r darllenwyr, sydd dref ym mhlwyf Llandingad.

Er bod tir ac annedd gysurus yn perthyn i'r fywioliaeth, ymddengys na bu Mr. Prich-

* Oddiar y dyb na fu Colchester erioed yn sefyllfa Esgobaeth, mewn rhai argraphiadau o'r hanes a dynwyd allan o waith Anthony Wood enwir *Rochester* yn ei le, ond dylid ystyried nad yw Colchester na Witham yn Esgobaeth Rochester, ond yn un Llundain; a bod Colchester drwy ddeddf yn amser Harri VIII. wedi ei gwneuthur yn *Is-Esgobaeth*. Nid yw yn awr, er hynny, ond Archddiaconiaeth yn Esgobaeth Llundain.

ard yn preswylio yn y Ficerdy, ond mewn tŷ o'i eiddo ei hun, yn yr Heol Uchaf, yn Llanymddyfri; ac, wrth ddull yr adeilad, gellir barnu i'r tŷ hwn gael ei gyfodi yn ei amser ef. Y mae yr annedd hon etto yn aros, ac yn ei henaint dengys ei bod wedi ei harddu tu hwnt i un adeilad diweddarach a gyfodwyd yn y dref. Yn amser y Ficer, adweinid y lle hwn wrth yr enw "Y Neuadd Newydd," a hynny, y mae yn debyg, o herwydd mai efe ei hun a'i hadeiladodd. Parhaodd y tŷ hwn i fod yn drigfa i rai o hiliogaeth y Ficer hyd o fewn cof llawer sydd yn fyw yn awr; ond pan wasgarwyd y meddiannu, diflannodd ei wychder yn fuan, ac y mae yn awr wedi ei rannu yn anneddau pobl gyffredin. Yn perthyn i'r lle hwn yr oedd tyddyn helaeth, a elwid "Tir y Neuadd," a dwy felin; ac y mae gennym lawn sicrwydd fod y Ficer yn berchen ar ddigon o diroedd heblaw hwn, i beri iddo gael ei gyfrif yn mhlith boneddigion pennaf y gymmydogaeth. Gan ei fod fel hyn yn feddiannol ar gyfoeth mawr, gallwn gasglu, oddiwrth rhediad a thuedd ei ysgrifeniadau, fod Mr. Prichard yn rhagori mewn gweithredoedd o haelioni a charedigrwydd Cristionogol, ac adroddir yn barchus rai traddodiadau am ei ymddygiad, a ddangosant nad oedd efe yn un o'r rhai hyny a ennillant glod drwy gyfranu rhywfaint o'u gweddill er lles i eraill, heb wneuthur dim anghyfleusdra na niwed iddynt eu hunain. Yr oedd haelioni y Ficer o natur fwy goruchel, gan nad ystyriai un aberth yn ormod i'w wneuthur, nac un perygl yn ormod i'w wynebu, tra yn dilyn camrai Crist wrth fyned oddi amgylch gan wneuthur daioni.

Yn y flwyddyn 1610, yr ydym yn cael enw Mr. Prichard, (wedi ei ysgrifenu "*Riceus* Prichard,) fel Ynad dros swydd Gaerfyrddin, gydag eiddo Rowland Gwynne, Ysw., o Glanbrân, wrth rol treth ar Randiroedd y Fforest, Telych, ac Ystrad Fynys ym mhlwyf Llandingad. Yn yr un rol, y mae yr enw Rees ap Richard, i'w ganfod bedair gwaith mewn gwahanol fannau; ond er y gellir profi bod y Ficer yn trin llawer o dir, nis gellir penderfynu pa faint o'r tyddynod hyn a berthynent iddo ef, gan ein bod yn cael, yn ei Ewyllys, fod ganddo gyd-oeswr o'r enw Rees Prichard, Uchelwr.

Un o blwyfolion mwyaf nodedig y Ficer oedd Syr George Devereux, Marchog, yr hwn oedd yn byw yn Llwynybrain, yn agos i Lanymddyfri. Efe oedd ewythr frawd ei dad i'r enwog Iarll Essex, yr hwn oedd mewn cymmaint cymmeradwyaeth gan y Frenhines Elizabeth; a phan dorrwyd pen hwnnw, yn 1601, daeth ef yn warcheidwad naturiol i'w fab, y Iarll ieuangc, yr hwn hefyd oedd ei etifedd wrth y gyfraith. Syr George Devereux a briododd Joan, merch Syr John Price, Marchog, o Aberhonddu, a gweddw Thomas ap Rhys ap William ap Thomas, Ysw., o Ystradffin; ac wedi marwolaeth ei hail wr, hi a briododd drachefn â Thomas Jones, Ysw., o'r Fountain Gate, gerllaw Tregaron—yr enwog *Twm Shon Catti*. Drwy y Syr George Devereux hwn, yn ddiammeu, y daeth y Ficer yn gydnabyddus âg Iarll ieuangc Essex, ac y cafodd ei bennodi yn Gaplan iddo; yr hyn a'i galluogodd ef i dderbyn Rectoriaeth Llanedi, swydd Gaerfyrddin, yr hon a gyflawnwyd iddo gan y Brenin Iago I. Ar y 28 o Hydref, 1613, rhoddwyd caniattad gan y Dr. Abbot, Archesgob Caergaint, yr hwn y dydd canlynol a gadarnhawyd â'r Sel Fawr, yn ei awdurdodi ef, fel Caplan Pendefig, i fwynhau bywioliaethau Llandingad a Llanedi. Mewn canlyniad i hyn, rhoddwyd ef mewn meddiant o'r fywioliaeth newydd, ar y 19 o Dachwedd, yn yr un flwyddyn. Yn y modd hwn helaethwyd cylch ei ddefnyddioldeb i radd fawr. Gellir canfod llaw Rhagluniaeth yn amlwg yn y gorchwyl hwn, sef rhoddi y buddioldeb o weinidogaeth rymmus Mr. Prichard i eraill, ar ol i drigolion ei dref enedigol wrando arno am un flynedd ar ddeg, gyda'r fath galedrwydd a difatterwch mawr ag a ddarlunia efe mor ddwys yn ei "Achwyniad" arnynt. Pan elai y Ficer i Lanedi, dywedir bod trigolion y plwyf gwledig hwnnw yn gwrando arno gyda'r fath awydd a hyfrydwch, fel yr oedd yn gorfod pregethu allan ar y fynwent, o herwydd bod yr Eglwys lawer yn rhy fach i gynnwys y lluoedd a dyrrent yno i'w glywed.

"Dinas ar fryn nis gellir ei chuddio;" ac felly hefyd, nis gellir cuddio ffrwythau gwir a bywiol ffydd yn y Gwaredwr bendigedig rhag llygaid y werin, llai o lawer rhag y rhai a osodwyd gan Dduw yn fugeiliaid a golygwyr ar y weinidogaeth. Nis gallai y Dr. Anthony Rudd, Esgob Tŷ Ddewi, lai na gogoneddu Duw, wrth weled goleuni Ficer Llanymddyfri yn llewyrchu mor danbaid ger bron dynion, ac a gymmerodd y cyfleusdra cyntaf i'w wobrwyo am ei ddiwydrwydd a'i lafur, drwy roddi iddo, ar y 17 o Fai, 1614, Berigloriaeth neu Brebendariaeth yn Eglwys Golegawl Aberhonddu. Nid oedd y sefyllfa hon yn ychwanegu nemmawr at ei ddyledswyddau; ond tra yr oedd yn dwyn iddo ragor o gyfoeth ac enwogrwydd, nid oedd yn ei rwystro i ofalu am ei blwyfoedd, a'u gwasanaethu fel o'r blaen.

Gan mai hwn yw y dyrchafiad diweddaf, a'r arwydd olaf o gymmeradwyaeth, a gyfranwyd i Mr. Prichard gan yr Esgob Rudd, fe allai mai nid anghymmwys fyddai rhoddi yma hanes byr am y gwr hwnnw. Ganwyd ef yn swydd Gaerefrog, er ei fod yn perthyn i deulu uchel o'r un enw yn Neheubarth Cymru. Efe a ddygwyd i fynu yn Nghaergrawnt; a bu yn aelod o Goleg y Drindod yn y Brif-Ysgol honno. Wedi hyny gwnaed ef yn Ddeon Caerloyw, yn yr hon sefyllfa y parhaodd am naw mlynedd; ac ar farwolaeth y Dr. Middleton, yn 1594, efe a'i dilynodd ef yn Esgobaeth Tŷ-Ddewi. Adroddir am dano ef, iddo roddi tramgwydd mawr i'r Frenhines Elizabeth, yn un o'r pregethau a draddododd o'i blaen yn y flwyddyn 1596, yn

yr hon, fel Gweinidog ffyddlon, y dygodd i'w chof ei bod yn heneiddio. Maddeuodd y Frenhines iddo yn fuan am yr awgrym hwn; ond nid cyn iddi gael cyfle i borthi ei balchder, drwy ddangos iddo nad oedd fawr o arwyddion henaint i'w gweled arni, wrth ddarllen cerfiad ar sêl, ag oedd yn rhy fân i neb o'r cymdeithion graffu arno â'r llygaid noeth. Efe oedd wr o ddeall cryf a duwioldeb nodedig, yn llawn hynawsedd a charedigrwydd Cristionogol at y rhai a wahaniaethent oddi wrtho ynghylch pethau nad ydynt yn hanfodol i grefydd; a'i brif hoffder oedd gweled Cristionogion yn trigo ynghyd mewn heddwch ac undeb. Yr oedd yn bregethwr doniol a dwys, ac yn gyfaill gwresog i bawb a ymdebygent i Ficer Llanymddyfri mewn ymroddiad i wasanaeth yr Arglwydd. Prynodd yr Esgob Rudd dŷ a thiroedd Aberglasney, yn swydd Gaerfyrddin; ac yno yr arferai fyw yn gyffredin hyd amser ei farwolaeth, yn y flwyddyn 1615, pryd y canlynwyd ef yn yr Esgobaeth gan y Dr. Richard Milborne.

Ynghylch yr amser hwn yr oedd agwedd y wlad yn myned yn lled gymmylog, ac ni roddid ond ychydig barch a chefnogaeth i wir grefydd. Yr oedd hen lefain Pabyddiaeth yn gweithio o hyd yn y deyrnas; a llawer o'r rhai a gymmerent arnynt enw Protestaniaid a hiraethent am ryddid i ymbleseru mewn difyrwch a gwagedd ar y Sabboth, yr hyn a ganiatteir i drigolion gwledydd Pabaidd. Wrth ddychwelyd o'r Alban, yn y flwyddyn 1617, darfu i'r Brenhin Iago I. er mwyn boddio rhai o Babyddion swydd Lancaster, ac hefyd ar yr un pryd i ddiwallu ei awydd ei hun am ddifyrwch gwageddus, anfon Gorchymmyn allan, na byddai i'r bobl, ar derfyn Gwasanaeth Dwyfol ar y Sabbothau, gael eu hanghefnogi na'u lluddias rhag unrhyw ymarferiadau cyfreithlon er difyrru eu hunain; megis dawnsio, saethu â bwa, neidio, chwareu pel, taflu barr, a chynnal cwrwau bach, neu unrhyw ddigrifwch o'r cyffelyb. Cafodd y Gorchymmyn hwn wedi hynny ei alw yn "Llyfr y Chwariaethau;" ac yr oedd amryw weinidogion cnawdol a chanolig eu buchedd yn cynnorthwyo y Brenhin yna i ymosodiad annuwiol ar sancteiddrwydd y Sabboth; ond darfu i'r Dr. Abbot, Archesgob Caergaint, drwy ddwedyd yn bendant na chai byth ei ddarllen yn ei Eglwys ef, fod yn foddion i wneuthur i'r Brenhin beidio cadarnhau deddf ar fod i'r llyfr hwn gael ei ddarllen ym mhob Eglwys yn y deyrnas. Ar ol cael cefnogrwydd brenhinol yn y wedd hon, yr oedd y werin yn awchus am ymdreiglo yn y pechod o dorri y Sabboth; ac yn mynwent Llandingad, fel y draddodiad yn coffhau, nid yn unig yr oeddynt yn chwareu pel, &c., ar ol diwedd yr addoliad, ond hefyd ar amser y Gwasanaeth. Yr oedd arferion o'r fath hyn yn arswydus yn ngolwg y Ficer; ond nid oedd wiw iddo droi am gymhorth at gyfreithiau y tir, ac ni wnai y bobl un sylw o'i geryddon na'i gynghorion. O herwydd hyn efe a gyfansoddai Gerddi duwiol i'w canu yn yr Eglwys, yr hyn a ddenai y dynion ieuaingc i adael eu campiau, 'ac ymgymmysgu â'r gynulleidfa er mwyn clywed y canu. Felly darfu i'r cynnyg hwn lwyddo er cyflawn atteb ei weddïau a'i ddisgwyliadau, a bu ei bregethiad effeithiol yn foddion i attal parhad y troseddiad gwarthus hwn ar y pedwerydd gorchymmyn. At yr amgylchiadau a noddwyd y cyfeiria amryw o'r canau yn y llyfr hwn, yn enwedig y rhai ynghylch y Sabboth, yn y rhai y rhydd efe ddarluniad alaethus o'r modd ddychrynllyd o annuwiol y treulid y Sabboth gan drigolion Cymru:—

"Dydd i feddwi, dydd i fowlian,
Dydd i ddawnsio, dydd i loetran,
Dydd i hwrian a gwylhersu,
Yw'r dydd Sabboth gan y Cymry.

Gellir meddwl i effaith ddaionus Hymnau cyntaf y Ficer, ei galonogi i gyfansoddi rhagor; ac yr oedd amgylchiadau a chyflwr y wlad yn dra manteisiol er eu llwyddiant. Ymddengys, pa fodd bynag, fod ei Garolau Plygain gyda'r blaenaf o'i weithiau prydyddol; oblegid y foreuaf o'i Ganau, yr enwir amser ei chyfansoddiad ynddi, yw y Garol Nadolig yn y flwyddyn 1616. Fel yr oedd yn ddoethaf iddo, defnyddiodd ddull rhwydd ag eglur o ysgrifenu, yn iaith sathredig y wlad, gan ochelyd yn ofalus bob cywreinrwydd a gorchestion cynghaneddol, a arferid yn gyffredin gan y Beirdd, rhag ofn colli y synwyr a'r amcan wrth eu dilyn, yr hyn sydd wedi digwyddo lawer tro. Y mae y Ficer ei hun, yn ei Lythyr at y Darllenydd, yn rhoddi rhesymmau pwysig dros ysgrifenu mewn dull rhydd a dealladwy, o herwydd ei fod yn gweled pa mor lleied defnydd a wneid o'r Cyfieithiad cynghaneddol ardderchog o Salmau Dafydd i'r Gymraeg gan y Cadben William Middleton, (Gwilym Ganoldref), yr hwn a orphenwyd ganddo, pan ar y môr yng ngwasanaeth ei wlad, yn y flwyddyn 1595; a'r hwn, ar ol ei farwolaeth ef, a gyhoeddwyd gan Mr. Thomas Salisbury; o herwydd yr hyn y geilw y Ficer ef, "Dwfn-waith enwog Salsbri." Ac yn ei ragymadrodd i Gatechism yr Eglwys ar Gân, y mae yn rhoddi yr unrhyw resymau:—

"Ni cheisiais ddim cywreinwaith,
Ond mesur esmwyth perffaith,
Hawdd i'w ddysgu ar fyr dro,
Gan bawb a'i clywo deirgwaith.

Yr oedd Mr. Prichard bob amser a'i fryd ar wneuthur y defnydd goreu o bob amgylchiad a ddigwyddai yn y gymmydogaeth, er dyrchafu gogoniant yr Arglwydd; a thrwy ei gydymdeimlad tyner â dioddefiadau rhai eraill, a'r cynghorion duwiol a buddiol a roddai iddynt, efe mewn graddau mawr a ysgafnhai flinderau pobl ei ofal. Hyspysa traddodiad i ni, mai yr achos o gyfansoddi y Gân ragorol a elwir "Cynghor i wraig beidio tristhau gormod ar ol marwolaeth plentyn,'

ydoedd i wraig dduwiol a fu un amser yn gwasanaethu yn nheulu y Ficer, ond wedi hynny yn byw mewn bwthyn, a elwid Llwyncelyn, wrth y fan y mae y bont groged-ig newydd dros yr afon Tywi, golli ei hunig blentyn drwy glefyd disymmwth, yr hyn a'i gyrrodd agos yn wallgof; fond dywedir i Gân serchiadol a thoddedig Mr. Prichard gael y fath effaith ar ei meddwl, nes ei dwyn i ymostwng i ewyllys Duw, ac ymdawelu dan y wialen geryddol.

Rhaid bod Mr. Prichard wedi priodi yn fuan ar ol iddo ddyfod i fyw yn Llanym-ddyfri, gan ein bod yn canfod wrth y Llythyr canlynol, fod ei fab yn fyfyriwr yn Rhyd-ychen yn y flwyddyn 1623. Gyda golwg ar gydmares bywyd y Ficer, nid oes modd gwybod rhagor nag a hyspysir i ni yn ei Ewyllys; sef mai ei henw ydoedd Gwenllian, ac iddi fyw ar ei ol ef. Nid yw ar gof a chadw fod ganddynt ragor nag un plentyn, enw yr hwn oedd Samuel, ac ymddengys ei fod, fel Samuel gynt, wedi ei gyssegru gan-ddynt o'r groth i'r Arglwydd. Ond er bod yn hawdd profi y gofal a gymmerwyd ganddynt i addysgu y mab hwn yn dduwiol, nis gellir llai na sylwi iddo ganlyn ffordd hollol wahanol i'r prophwyd enwog o'r un enw âg ef yn Israel. Pan oedd ei fab yn ddeng mlwydd oed, cyfansoddodd ei dad iddo y weddi a welir yn y Llyfr hwn, yn yr hon y mae yn cyfeirio at fuchedd Samuel gynt, ac yn erfyn am ras iddo yntau ddilyn ei gamrau. Gellir canfod hefyd, yn y Gân hon, pa mor llwyr yr oedd ei dad yn bwriadu ei gyssegru i wasanaeth yr Arglwydd. Y mae yn y Llyfr hefyd Gân arall, yr hon sydd un o'i gyfansoddiadau mwyaf ardderchog a chyffrous, yn yr hon y mae y tad duwiol yn tywallt allan ei deimladau tyneraf a serchoc-caf, mewn dull rhwydd a syml, wrth wasgu ar ei fab ieuangc y cynhyrfiadau cryfaf i arwain buchedd sanctaidd, pan yr oedd yn absennol oddiwrth ei deulu. Dangosir gofal mawr Mr. Prichard drachefn at wneuthur lles ysprydol i'w fab, yn y cynghor iachusol i reoli ei ymddygiad a welir yn canlyn y Gân a nodwyd; mewn gair, y mae yn amlwg nad oedd efe yn esgeuluso un cyfleusdra i wasgu ar ei fab yr angenrheidrwydd o arwain bywyd duwiol, mewn ymddibyniad ar gy-mhorth y nef; ond er yr holl ofal a'r ymdrech, ymddangosodd ffrwythau calon lygredig yn ymddygiad y gwr ieuangc, yr hyn a dynnodd ar ei ben geryddon llymion y Ficer; mewn canlyniad i'r rhai yr oedd y mab yn cyfaddef ei feiau, ac yn addaw gwella ei fuchedd, fel y gwelir wrth y llythyr hwn:—

"Deare father

Whatsoeuer my letters haue promised, myself shall performe, and though my præcipitant courses haue causde soe many stormes of vexation, Yet I trust in god my reformed Life shall moue such cheerfullness of mind, that those gray haires shall reobtain theire former lustre, and what in your letters you haue alledged I Ingeniously confess, but my resolued reformation shall (as I hopefully belieue) recouer your former perfection. You haue not written since I came (untill now) which hath caused me to fall into a iealous susspition, but since the happy receit of this my senees are recreated, and those wholesome præcepts therein prescribed I shall studie with all Indeavours to performe, My sinns I doe bewaile and with dayly prayer I will crave the almightie to forgiue,—I will be loyall and obedient to my tutors and gouenors, and will conforme my life vnto theire desire. All the: præcepts thero written in your letters I will carefvlly (with y^e helpe of god) Indeavour to practise. Mr. Bowen was in such haste that I coulde not answer euery point in particular but in the next you shall finde me to answer euery point againe. I haue receined x^s token from the bearer and those bookes which you haue written for, my tutor and I haue bēn seeking In all our bookebinders shoppes and could not haue one of them, but against the next time it was promised my tutor to haue them, and soe with my prayers to the almightie for your prosperity, I end and rest

Your obedient Sonn,

SAMUELL PRICHARD.

from oxon, the 5th
June, an: do: 1623."

Yr oedd y llythyr yma, yn llaw-ysgrifen Samuel Prichard, fel yr anfonodd ef at ei dad, ym meddiant yr Hynafiaethydd enwog y diweddar Barch. J. M. Traherne, M.A., F.S.A. &c., o Goedriglan, gerllaw Caerdydd; ac ar gefn y llythyr hwn y mae pennillion, wedi eu hysgrifenu gan y Ficer ei hun, y rhai a nodir allan yng nghorph y gwaith, tu dal. 206.

Yr oedd moesoldeb yn dra isel yn y wlad yn gyffredin yn yr amser hwn; ac y mae lle i ofni i Mr. Samuel Prichard gael ei gludo ymaith ym mhell gan y ffrwd gref o lygredigaeth, er y cynghorion dwysion a rydd ei dad, yn y Gân sydd yn dywedyd wrtho;—

"Na phampra'r corph i ladd yr enaid,
Na ddigia Dduw i blesio diawliaid:
Na werth y nef i brynu daear,
Na phecha mwy rhag bod yn 'difar.

Wrth y rhannau eraill o'r Gân hon, gellir casglu fod anlladrwydd, glythineb, a balchder yn bechodau parod i amgylchu Mr. Samuel Prichard, a'r pechodau hyn yn y diwedd a fuant yn foddion i dynnu dinystr ar ei ben.

Ymbriododd Mr. S. Prichard â Frances, merch i un Mr. Harding, o Rhydychen. Rhaid bod yr undeb hwn wedi ei wneuthur pan yr oedd efe yn lled ieuangc, fe allai pan yr oedd yn fyfyriwr yn y Brif-Ysgol. Yr oedd ef yn Offeiriad; a chan nad oes gennym hanes iddo fod yn byw yn un man ond Llanymddyfri, gallwn gasglu ar sail dda mai Curad i'w dad ydoedd. Arweinir ni yn naturiol i feddwl i'r Ficer, gan fod ganddo gymmaint o ofal am ei fab, ganiattau iddo gymmeryd urddau, ar ei ymddangosiad o edifeirwch, a'i addewid i wellhau ei foesau; ac iddo ei gadw o hyd iddo, fel, trwy iddo fod dan ei sylw uniongyrchol, ac yn byw yn ei dŷ, y gallai cael cyfle i lethu unrhyw dueddiad a welai ynddo i ddychwelyd i'r ffyrdd drygionus y bu yn eu cerdded yn ei ieuengctid.

Nid heb achos yr oedd y Ficer yn edrych â llygad manwl ac eiddigus ar weinidogaeth ei fab, pan yr oedd cynnifer o hudoliaethau ar ei ffordd, i'w ddenu oddiwrth gyflawniad ffyddlon o'i ddyledswyddau cyssegredig, a phan yr oedd y fath anghefnogrwydd yn cael ei roddi gan rai mewn sefyllfaoedd uchel i weinidogion onest a bregethent rai o wirioneddau hanfodol Cristionogaeth, yr ymrysonid yn eu cylch y pryd hwnnw. Tua'r amser hwn, yr oedd cyflwr crefydd y fath, fel yr oedd y Brenhin ffol ac anystyriol, Iago I. yr hwn a lywodraethid gan swyddog anfoesol a diegwyddor, sef Duc Buckingham, yn barnu fod ganddo ef hawl i benderfynu ar ba destunau y dylai yr Offeiriaid bregethu. Y rhai hynny a awyddent am anrhydedd a gogoniant Duw, a safent yn wrol dros yr Ysgrythyrau, ac ystyr lythyrenol Erthyglau ein Heglwys, tra yr oedd y lleill, a ddygent fwy o zel dros bethau allanol a gweledig crefydd, yn ymlithro o'u bodd gyda'r ffrwd a ddygai iddynt ddyrchafiad ac anrhydedd bydol.

Nid oedd Mr. Rhys Prichard yn un o'r fath a ddarluniwyd olaf, er fod ganddo gydnabyddiaeth a chyfeillion nad oeddynt yn meddu ar ffydd mor wresog âg ef, a'r rhai a gawsent eu dyrchafu gan y personau ag oeddynt yr amser hwnnw mewn awdurdod. Ym mhlith y cyfryw yr oedd y Parch. Morgan Owen, o Lasallt, ger Llanymddyfri, yr hwn oedd yn iau nag ef o rai blynyddau, ond a ddygwyd i fynu yn yr un Coleg âg yntau yn Rhydychen, ym mhen blynyddau wedi i'r Ficer ddyfod i fyw i Llanymddyfri. Gwnaed ef yn Gaplan y Coleg Newydd yn Rhydychen, yn 1613. Yn 1616, graddwyd ef yn Athraw y Celfyddydau, pan yn Aelod o Hart Hall, a chafodd Eglwys yn ei wlad enedigol, lle y dywed Anthony Wood ei fod yn ŵr tra defnyddiol. Pan ddyrchafwyd Dr. Laud, i Esgobaeth Tŷ-Ddewi, drwy offerynoliaeth yr Esgob Williams, wedi hynny Arglwydd Ceidwad y Seliau, tynnodd Mr. Owen sylw ei Esgob, yr hwn a'i gwnaeth ef yn un o Ganoniaid Eglwys Gadeiriol Tŷ-Ddewi, yn 1622, fel gwobr am ei zel dros yr Eglwys.

Un arall o gyfeillion mynwesol y Ficer oedd y Parch. Robert Powel, Offeiriad Llangattwg, ger Castellnedd, yn swydd Forganwg, yr hon fywioliaeth a gyflwynwyd iddo yn 1620. Yr oedd ef yn bregethwr diwyd, duwiol, a doniol; a dywedir ei fod ef a'r Ficer yn gynnorthwyol iawn i'w gilydd i ddwyn yr achos goreu ym mlaen. Nid yw yn annhebyg mai i'r cyfeillgarwch hwn rhwng y ddau yr ydym yn ddyledus am gadwraeth yr Ysgrif o amryw o Ganiadau y Ficer, oedd ym meddiant y diweddar Mr. Taliesin Williams, *(Ab Iolo,)* o Ferthyr Tydfil, at yr hwn y cyfeirir yn fynych yng nghorph y llyfr hwn.

Darfu i'r Brenhin Iago I., o herwydd ei fod wedi gwastraffu llawer o'i gyfoeth, ffurfio cynllun i wellhau ei amgylchiadau, drwy gael Tywysoges yr Yspaen yn wraig i'w fab, Tywysog Cymru, er mwyn ei gwaddol, heb ystyried y gorchymmyn ysgrythyrol, "Na ieuer chwi yn anghymarus gyda'r rhai digred—Canys pa gydfod sydd rhwng teml Dduw ac eilunod?" a dangosodd ei wendid a'i ffolineb yn fawr, trwy ganiattau iddo ei hun a'i deulu gael ei lywodraethu gan Ddug annuwiol Buckingham, yn neillduol yn ei waith yn goddef i'r Tywysog fyned drosodd i'r Yspaen, i ymddiddan â'r Dywysoges yn bersonol. Edrychai y genhedl yn eiddigus ar y gorchwyl hwn; ac yn enwedig ni allai carwyr y grefydd Brotestanaidd lai na rhagweled y drygai aneirif a ddygid i mewn drwy gyssylltiad mor agos a llys Pabaidd. Aeth y Tywysog, a Duc Buckingham gydag ef o Loegr ym mis Chwefror, a dychwelasant adref ym mis Hydref, 1623, heb gyrhaedd yr amcan oedd ganddynt mewn golwg; pryd y darfu i'r wlad egluro ei llawenydd, drwy bob math o orfoledd cyhoeddus, am ddychweliad diogel y Tywysog, ac yn bennaf am y waredigaeth ddymunol rhag y niweidiau a ofnid oddiwrth y fath gyfathrach â Phabyddion. Yr oedd y Ficer gyda'r blaenaf i ddangos ei

deimladau gwladgarol ar yr achlysur yma, fel y gellir canfod wrth y Gân a welir yn tu dal. 258 o'r llyfr hwn; yr hon a gyfansoddwyd ganddo, yn ol dull yr oes, ar gynllun cerddi y Beirdd paganaidd. Yn y Gân hon, ym mhlith rhai pennillion tra rhagorol, y mae yn cymmeryd y cyfleusdra i ddangos ei barch i rai enwogion genedigol o'r Dywysogaeth.* Ar ol cymhell pob graddau i ddangos llonder eu calonnau drwy bob math o arwyddion gweledig,† y mae yn crybwyll yn wylaidd am ei benderfyniad ei hun, ac yn roddi esiampl, yr hon sydd bob amser yn fwy effeithiol na chynghor, pan y mae yn dywedyd y byddai iddo ef a'i deulu wasanaethu yr Arglwydd, dan deimlad diolchgar am ddychweliad diogel.

Tywysog:—

"Minnau a'm tylwyth, nos a borau,
A rof ddiolch ar fy ngliniau,
I'r gwir Dduw, am ddwyn o ddeutu,
Yn iach lawen, Brins y Cymry."

Y mae ei weddi am lwyddiant dyfodol y Tywysog, yn tarddu oddiar y teimladau dwys o dduwioldeb, a welir mor amlwg yn ei holl gyfansoddiadau. Gwyddai trwy bwy y mae Brenhinoedd a Thywysogion yn rheoli; ac am hynny dymuna,—

"Crist â'i esgyll a'i hadeinio,
Crist â'i Ysbryd a'i cyfrwyddo,
Crist â'i ras a fyddo 'n nerthu,
Ym mhob achos Brins y Cymry."

Ym mhen ychydig ddiwrnodau wedi marwolaeth y Brenhin Iago I., yr hyn a ddigwyddodd ar y 28ain o Fawrth, 1625, ymwelwyd â Lloegr a'r fflangell frawychus honno o eiddo yr Hollalluog, y pla, yr hwn a dorrodd allan yn Whitechapel, Llundain; a thra yr oedd hwn yn difrodi trigolion y ddinas, darfu i'r Brenhin Charles I. siommi gobeithion pleidwyr gwresoccaf Protestaniaeth, drwy briodi chwaer Brenhin Ffraingc, yr hon oedd Babyddes drwyadl; a chyn i'r Frenhines fod dair wythnos yn Lloegr, gweinyddid gwasanaeth eilun-addolgar yr Offeren ym Mhalas y Brenhin, yn Whitehall. Gwnaeth hyn i'r bobl yn gyffredin gashau y Frenhines; ac o herwydd bod y pla yn myned yn fwy dychrynllyd o ddydd i ddydd, edrychai y Puritaniaid arno fel barn uniongyrchol ar y wlad am droi yn ol at ddelw-addoliaeth. Yr oedd y Ficer Prichard, pa fodd bynnag, yn gweled ym mhellach i lygredigaeth calon dyn, fel nad ystyriai y pla yn gerydd am un bai pennodol; oblegid hynny y mae efe, yn ei Ganau ar yr achlysur pruddaidd hwn, (gwel tu dal. 182,) yn son am dano fel ymweliad Duw digllon am liosogrwydd o droseddau, y rhai a nodir ganddo yn eglur ac heb dderbyn wyneb. Mewn canlyniad i hyn, y mae efe yn rhybuddio preswylwyr y Dywysogaeth yn ddwys, i edifarhau mewn llwch a lludw, cyn i'r wialen drom gyrhaedd eu gwlad, ac i weddïo yn daer am gadw yr haint niweidiol ym mhell oddi wrthynt. Wedi hyn, y mae yn rhoddi darluniad alaethus a thorr-calonnus o ddioddefiad trigolion Llundain; o resynoldeb y rhai y mae traddodiad ei fod ef ei hun yn llygad-dyst, gan ei fod wedi myned i'r brif-ddinas, i'r diben o weini cysur ysprydol i'r rhai a syrthient i afael y clefyd arswydus; a dywedir ei fod yn ddiwyd iawn yn ymweled â'r cleifion, gan eu hannog i edifeirwch a gweddïo gyda hwynt yn feunyddiol.

Er bod y Ficer yng nghanol yr afiechyd heintus, o drugaredd yr Arglwydd caniattawyd iddo ddychwelyd adref yn ddiogel at ei dylwyth a'i braidd. Y mae wedi gadael ar ei ol Gân, a elwir "Gweddi Eglwyswr wrth ymweled â'r cleifion yn amser y Chwarren;"

* Arglwydd Ceidwad y Seliau, sef yr Archesgob Williams; a William Herbert, Iarll Penfro. Y blaenaf o'r ddau hyn a anwyd yn Aberconwy, yn y flwyddyn 1582, ac a gafodd ei ddysg yn Ysgol Ruthin, ac wedi hynny yng Ngholeg St. Ioan, yng Nghaergrawnt. Efe a urddwyd yn 1609, yn swydd Northampton. Drwy gymhorth Arglwydd Ellesmere, y Canghellwr, cafodd ddyrchafiad cyflym. Yn 1619, gwnaed ef yn Ddeon Salisbury; yr hon swydd a roddodd i fynu drachefn, er bod yn Ddeon Westminster. Ei gynneddfau oeddynt ragorol, ond buont yn fagl iddo; oblegid, pan roddodd Arglwydd Bacon y swydd i fynu, gwnaed ef yn Geidwad y Seliau, yr hon sefyllfa oedd yn rhwystr mawr i gyflawniad ei ddyledswyddau crefyddol. Ei gam nesaf o godiad oedd i Esgobaeth Lincoln: ond arosai yn bennaf yn y llys, dros deyrnasiad Iago I., ac ar ei gais ef, mewn cyssylltiad â Dug Buckingham, y cafodd yr enwog Dr. Laud ei wneuthur yn Esgob Ty-Ddewi. Ond anghofiodd yr Esgob Laud y caredigrwydd hwn; a bu iddo ef, ynghyd ag eraill, fod yn foddlon i ddwyn yr Esgob Williams i'r fath anmharch, fel y gyrrwyd ef i fyw ar ei Esgobaeth. Adferwyd ef drachefn i gymmeradwyaeth, a gwnaed ef yn Archesgob Caerefrog, yn 1641; ond darfu i'r trallodau mawrion, a ddaethant yn fuan ar y deyrnas, beri i'r Archesgob gilio i'w wlad enedigol; ac wedi cyfarfod âg amryw siomedigaethau, a throi o blaid gelynion ei Frenhin, bu farw yn Ngloddaeth, gerllaw Aberconwy, yn y flwyddyn 1650.

† Fel prawf o helaethrwydd y gorfoledd a ddangosid gan y genedl ar ddychweliad y Tywysog, gellir coffhau geiriau un ag oedd yn byw yr amser hwnnw, sef James Howell, Ysw.; yr hwn, ar ol crybwyll am y coelcerthi a gynnenid ar y brynlau, a ddywed,—"Ond mwy o lawer, a llawer mwy anghenddol oedd y fflamiau tufewnol hynny o lawenydd, a losgent ac a lewyrchent yng nghalonnau pawb wrth weled eu Charles drachefn. Yr oedd pob genau yn llawn digrifwch; a phethau difywyd, megis clochdau a muriau, a siglent o orfoledd; ie, hyd yn nod yr heolydd a'r cwtteri a yfent iechyd da iddo ar ei ddychweliad."—*Dodona's Grove*, (1645,) p. 100. Y Mr. Howell hwn oedd fab i Offeiriad Abernant, swydd Gaerfyrddin, ac a ddygwyd i fynu yng Ngoleg Iesu, Rhydychen; ac wedi amryw helbulon, aeth yn Aelod o'r senedd dros Richmond, ac yn 1640 yn Ysgrifenydd y Cynghor. Yr oedd yn awdwr amryw lyfrau, ac yn frawd i'r Parch. Thomas Howell, Esgob Caerodor.

yn yr hon y dengys fod ei holl ymddiried yn yr Hwn a fedrai ei amddiffyn rhag pob peryglon :—

" Duw, 'rhwn a gedwaist Aaron
Yn iach yn mhlith y cleifion,
Cadw finnau 'n rasol rhag
Yr haint a'r plâg echryslon."

Y mae yn dra thebygol i'r Ficer gyfansoddi y Gân hon cyn cychwyn ar ei daith beryglus i Lundain, neu yn amser ei arosiad yno.

Tystia hanesyddiaeth, i'r pla hwn fod yn achos i'r Senedd ymgynnull yn Rhydychen, yn lle Llundain, ac i fwy na phumtheg mil ar hugain o ddynion syrthio yn ebyrth i'w gynddaredd ddifaol; a chyda phriodoldeb y dywedai y Ficer,—

" Maen hwy 'n meirw yn ddiaros,
Wrth y miloedd yn yr wythnos."

Nid anaddas fyddai sylwi fod yr holl bläau a goffheir mewn hanes, wedi ymweled â Phrydain ar dymhorau nodedig am annuwioldeb gwladol a phersonol. Gall yr anystyriol edrych ar hyn fel ddigwyddiad hynod; ond nid oes modd i'r gwir Gristion lai na chanfod llaw Duw, yn ei waith fel hyn yn tywallt allan phioleidiau ei ddigofaint am bechodau y genedl; ac yn y goleu hwn yr edrychai y Ficer ar y pla dan sylw, oblegid dywed,—

" Hyn a barodd ein hen draha,
A'n gloddineb, a'n putteindra,
A'n gau-dduwiaeth, a'n cas feddwdod,
A dirmygu 'r gair yn wastod."

Tra yr oedd y pla yn ei lawn rwysg yn Llundain, cymmerodd yr Esgob Laud y cyfleusdra i ymweled âg Esgobaeth Tŷ-Ddewi, am yr ail waith, ym mis Awst, 1625; wrth yr hwn y gallwn feddwl ei fod ef yn ystyried dau dro mewn pedair blynedd yn ddigon mynych i Esgob Saesonig ymweled âg Esgobeth Gymreig, yn enwedig os byddai yn y cyfamser yn cael ymdrafod â matterion y llys. Ni arosodd ond dau fis yng Nghymru. Pan ddarfu i'r Brenhin Charles, er mwyn distewi y bobl yn erbyn cynnydd Pabyddiaeth, yrru gorchymmyn allan i ddirwyo yr holl Babyddion, yr hyn a wneid gan yr awdurdodau mewn modd tra hannerog ac anghyfiawn; anfonodd yr Esgob Laud gyfarwyddiadau at swyddogion Eglwysig Tŷ-Ddewi, i geryddu pawb ag oeddynt yn anghydffurfwyr â'r Eglwys, neu yn Babyddion proffesedig. Cafodd llechres o'r cyfryw, yn swyddi Caerfyrddin a Phenfro, ei hanfon iddo yn fuan gan ei Ganghellwr, Richard Bailie, B.D., yr hwn a gawsai ei ddysg yn yr un Coleg â'r Esgob Laud, ac oedd hefyd wedi ymgyfathrachu âg ef drwy briodi ei nith. Effeithiai y weithred hon ar y Puritaniaid yn gystal a'r Pabyddion; a thebygol mai hi oedd yr olaf o eiddo Mr. Bailie, oblegid rhoddodd y Ganghellwriaeth i fynu yn fuan wedi hyn, a chanlynwyd ef ynddi gan Ficer Llanymddyfri, yr hwn o'r blaen oedd wedi cymmeryd ei raddau yn Athraw y Celfyddydau, ar gais ei Esgob, Dr. Laud, i sylw yr hwn y mae yn debyg iddo gael ei ddwyn gan ei gyfaill Morgan Owen, o Lasallt. Er hyspysiaeth i'r Darllenydd, nid anfuddiol fyddai crybwyll fod Canghellwr Tŷ-Ddewi yn ail swyddog yn yr Esgobaeth, er nad oedd hynny yn ol y drefn ddechreuol, ond yn ol trefniad newydd a wnaeth yr Esgob Beck yn y flwyddyn 1287.

Yn ol Coflyfrau Eglwys Gadeiriol Tŷ-Ddewi, gwnaed Mr. Prichard yn Ganghellwr ym mis Hydref, 1626; ond rhaid ei fod wedi ei bennodi i'r swydd anrhydeddus yn gynnar yn y flwyddyn honno, gan i Dr. Laud gael ei symmud i Esgobaeth Bath a Wells ar yr unfed ar bymtheg o Awst, 1626. Dengys y Llythyr canlynol, oddiwrth Syr Marmaduke Lloyd, o Faesyfelin, gerllaw Llanbedr, Ceredigion, yr hwn sydd wedi ei ddyddio Mawrth 21, yn yr un flwyddyn, bod y Ficer wedi cael ei bennodi i'r swydd cyn hynny.

" To the worth:th my very woorthy frende, mr.
Rees Pricharde, Chauncellor of the
Cathedrall churche of St d'ds. & canon
resident, at his house in Llanymdovery
this be d'd speedily.

Worthy mr. Chauncellor.

---

I receiued a letter from you this terme in annswere whereof (Si Scriban carpes, si non scribam triumphabis : At scribam :) I will write an annswere, if but to lett you knowe, howe often I reade it (iterum atque iterum) affectinge the sweete style, & wonderinge at the intention of the penman; when I was a scholler, I wondered at those epistles of Tully, the famous Orator of Rome, at Seneca's Epistles, at rare Manuscripts, but to this letter & Epistle of yours, I must plainly say, they are base rudiments, euen the very fragments of learninge; so doe you admirably one way (movere) perswade & another way like a true divine (monere) admonishe a Judge so grauely, that euery letter thereof shall be to me a præcept leaste I err, (in via pedum, aut in via morum) I must confesse among all the (species) of men, none have more neede of direction then Judges, who doe (portare onera reipublicæ) & amonge that honorable fraternity, none needs wise direction more than myself, a yonge Judge; and without good direction, I may be like Bartimæus, blinde, or like Mephiboshethe lame, & unable to vse the scepter, like the man withe the withered hande: A heuy burden is layde upon me. I finde it rather to be (onus) then (honus) god grant I may discharge my duty in my place to

the glory of god, & the good of my countrey, w$^{ch}$ as you gratiously direct me to doe, so I shall seriously indevour, and to those prayses and favourable graces you bestowe on me, I must plede (non cul:) no Judge deserves lesse than myself, and for goodness w$^{ch}$ becomes all men, & especially a Judge, I must say with good Augustine, Boni si quid habeo, a deo sumpsi, non a me præsumpsi, nec in eo quod adhuc non donauit, incredulus, nec ineo quod jam donauit, ingratus: I blesse God for his goodness & hartily wishe that o$^{r}$ churche nowe (in senio mundi) when the light of the gospell is growne dimme, may shine gloriously with suche lights, as yourselfe, who are to the people of those parts, A lanterne to their feete, & a light to their paths, yo$^{r}$ good life, & true doctrine so agreeinge, that (quicquid agis, aut loqueris est doctrina populorum) tyme nor my occasions will permitt me to write muche to you; and to giue you an elegant annswere to yo$^{r}$ eloquent letter, I cannot (vicisti galilæe) yo$^{r}$ golden pen hathe gotten the victory, and I must say (victus), besides in familiar letters, I holde it the beste rhetoricke to use no rhetoricke, (carere figuris figurat epistolam :) to write more plainly (more meo) & as all lawyers vse to doe: Had I come home this vacation I had called on you at Llandovery, and given you personall thanks for your many curtesies, for w$^{ch}$ you must nowe take literall; with my kinde salutation to yo$^{r}$solfe & yo$^{r}$ hopeful Son, (tibi, et suis habe me commendatum) & I beseeche you number me amonge those whome you call frends: so

MARMADUKE LLOYDE.

Ludlowe castell, the 21 of Marche, 1626:"

Yr oedd y llythyr uchod, fel yr anfonwyd ef, ym meddiant y diweddar Mr. D. R. Rees, ac y mae yn awr yn llyfrgell y Tonn, Llanymddyfri. Er gadael fod cyfeillgarwch yn cynhyrfu yr ysgrifenydd i roddi canmoliaeth helaeth, etto y mae yn taflu goleu parchus ar dduwioldeb, dysg, a dawn y Ficer; a gellir casglu, oddiwrth y llythyr ei hun, fod yr ohebiaeth a fu yn achos o hono ryw beth yn debyg i'r Gân ynghylch "Dyledswydd Barnwr;" ac fe allai na byddai yn ormod i ni gasglu i'r Gân honno gael ei hanfon gan y Ficer at Syr Marmaduke Lloyd.

Cynelid prif lys barn dros gyffindiroedd Cymru y pryd hwn yn Llwydlo, ac yr oedd Syr Marmaduke Lloyd yn Farnwr ynddo. Ei dad ydoedd Thomas Lloyd, Trysorydd Eglwys Gadeiriol Tŷ-Ddewi, yr hwn oedd frawd i Dr. Griffith Lloyd, Prif-Athraw Coleg Iesu, Rhydychen, a'i fam oedd ferch i'r Dr. Marmaduke Middleton, Esgob Tŷ-Ddewi o'r flwyddyn 1561 hyd 1592. Dygwyd Syr Marmaduke Lloyd i fynu yn ŵr wrth gyfraith; yn 1617 gwnaed ef yn Gofiadur Bwrdeisdref Aberhonddu, yr hon swydd a roddodd i fynu pan bennodwyd ef yn un o'r Barnwyr ar Gylchdaith Brycheiniog. Ymbriododd â Mary, merch John Gwyn Stedman, Ysw., o'r Fanachlog Fawr, (Ystrad Fflur,) yn sir Aberteifi, o'r hon y cafodd dri mab a phum' merch. Ei fab henaf oedd Syr Francis Lloyd o Faesyfelin. Ymunodd ei ferched mewn priodas â rhai o'r teulnoedd pennaf yn y wlad. Priododd Jane â Thomas Lloyd, o Lanfair; Margaret â John Vaughan; Anne â Nicholas Williams, o Rydodyn; Lettice â Phillip Vaughan, o Trimsaran; a Phenelope â Richard Herbert, o Gwrt Henry. Yr oedd Syr Marmaduke Lloyd yn fyw ar y pedwerydd ar ddeg o Orphenaf, 1640; oblegid y mae ammodweithred a wnaed iddo ef ar ddegymmau Llanbedr-pont-Stephan, gan un o Swyddogion Eglwys Gadeiriol Tŷ-Ddewi, wedi ei harwyddo ar y dydd hwnnw.

Preswyliai ei fab hynaf, Syr Francis Lloyd, ym Maesyfelin, tra yr oedd ei dad yn fyw. Dywed traddodiad fod cyfeillgarwch mawr rhyngddo ef a'r Parch. Samuel Prichard; yr hwn anwyldeb, pa fodd bynnag, a derfynodd mewn rhyw amgylchiadau a ddygasant fab y Ficer i'w drange; oblegid, yn ol pob hanes, efe a gyfarfu a'i ddihenydd yn y lle hwnnw. Adroddir gan rai, mai yr achos o'i ddiwedd anamserol oedd anfoddlonrwydd atto am ei fod yn cynnyg caru un o'r merched; tra y dywed eraill, mai o herwydd rhyw ymddygiadau anniwair y cyflawnwyd y gyflafan. Pa fodd bynnag, cyttuna y ddwy blaid mai o achos rhyw fath o garwriaeth y bu hyn; ac os felly, rhaid eu bod o natur anghyfreithlon; oblegid ymddengys, wrth Ewyllys y Ficer, fod ei fab Samuel yn ŵr priod, ac i'w wraig fyw ar ei ol ef; o ganlyniad rhaid ei bod yn fyw yr amser y cafodd ef ei lofruddio. Gyda golwg ar gyflawniad y gorchwyl erchyll hwn, dywedir iddo gael ei fogi rhwng dau wely pluf; ac yna i'w gorph yn y dillad y daethai ynddynt oddi cartref, gael ei osod mewn sach, yr hon a lanwyd â rhyw bethau eraill, fel y gallesid ei chymmeryd yn lle sach o wlan. Yna gosodwyd ef yn groes i'w geffyl ei hun, a throsglwyddwyd ef yn y nos ar hyd y ffordd a arweiniai i Llanymddyfri. Yn yr amser hwnnw, yr oedd pont gerrig gul dros yr afon Towy, rhwng y lle y mae y bont grogedig yn awr a Nantyrhogfaen. Yma y cymmerwyd y corph o'r sach, a thaflwyd ef i'r afon, a gadawyd i'r ceffyl ddychwelyd adref heb ei farchog, er mwyn i ddynion feddwl i Mr. Prichard syrthio i'r afon dros ganllaw y bont, a boddi yno. Adroddir ym mhellach, pan arosodd ceffyl Mr. S. Prichard wrth ddrws ei dad heb neb yn ei farchogaeth, i'r hen Ficer, gan ei fod yn ofni yn barhaus y digwyddai rhyw ddrwg i'w fab oddiwrth ei gysylltiad â Maesyfelin, dorri allan yn y pennill hwn;—

"Melldith Duw fo ar Maesyfelin,
Ar bob carreg a phob gwreiddyn,
Am dawlu blodau Tre' Llan'ddyfri
Ar ei ben i Dowy i foddi!"

Y fath yw y traddodiad, fel yr adroddid yr hanes yn Llanymddyfri, yn yr oes a aeth

heibio. Yr oedd yr un traddodiad hefyd yn rhugl yn Llanbedr; ond yn unig eu bod yn dywedyd yno, mai yr afon y taflwyd Mr. S. Prichard iddi oedd Teifi, ac nid Towy; ac yn ol y dyb hynny yr adroddent hwy y pennill.* Er hynny, yr oedd rhai hen bobl yn Llanymddyfri yn cymmeryd arnynt wybod yn fanylach am y peth, ac yn arfer dywedyd, i ddyn a gyfarfu â'r ceffyl a'r pwn, mewn ffordd gul gerllaw y Gwinten, fferm ynghylch tair milldir o Lanymddyfri, ofyn i'r gyrrwr pa beth oedd ganddo; ac iddo yntau ddywedyd mai sachaid o wlan; ac i'r dyn roddi ergyd iddi â'i law, a theimlo rhyw beth yn ei bigo; a bernid mewn canlyniad, mai yr yspardun ar sawdl y gelain ydoedd hwn.

Gall yr hanes hwn fod yn wir gyda golwg ar y prif amgylchiadau, er nad ydyw ond traddodiad o ben i ben. Anhawdd gennym briodoli i Syr Marmaduke Lloyd unrhyw gyfranogiad yn y weithred aethus, gan nad beth oedd yr annogaeth i'w chyflawni: ond nid ydym mor barod i ryddhau ei fab, Syr Francis Lloyd; oblegid ymddengys ei fod ef wedi ei drwytho yn annuwioldeb yr oes. Er ei fod wedi priodi â merch i John, Iarll Carberry, yr oedd yn byw mewn godineb cyhoedd gydag un Bridget, merch Mr. Leigh, o Gaerfyrddin; o'r hon y cafodd amryw blant. Yr oedd ef yn Aelod o'r Senedd Hir, hyd 1643; pryd y darfu iddo, o herwydd ei bleidgarwch i'r Brenhin, gilio o Dŷ y Cyffredin, er byw yn esmwyth gartref; am yr hyn y dirwywyd ef yn Goldsmith's Hall. Fel y soniwyd yn barod, yr oedd ei bum' chwaer wedi priodi, a gadael Maesyfelin; o ganlyniad, gallwn gasglu nad oedd a wnelai Mr. Samuel Prichard ag un o honynt hwy. O herwydd hynny, y mae yn fwy tebygol mai yr ordderchwraig a nodwyd oedd gwrthddrych ei serch halogedig; oblegid yr oedd hi eisioes wedi sathru ar foesoldeb a chrefydd, ac yn arwain bywyd gwaradwyddus, yn groes i gyfreithiau Duw a dyn. Nid oes un achos ryfeddu, fod y Ficer yn ddrwgdybus, ac yn ofni y gwaethaf, pan yr oedd yn gweled ei unig fab wedi cael ei ddenu i ymgyfeillachu âg un a rodiai yn ol chwantau ei galon lygredig, gan ei fod yn gwybod fod "Melldith yr Arglwydd yn nhŷ yr annuwiol," a bod "dilyn drygioni yn tywys i angau."

Wrth ddilyn hynt Mr. Samuel Prichard i'w ddiwedd truenus, yr ydym wedi crwydro ym mhell, o ran trefn amser, o'r man y troisom o'r ffordd; am hynny y mae yn rhaid dychwelyd. Gadawsom y Ficer mewn llawn feddiant o bob dyrchafiad a roddwyd iddo yn ei oes. Nid oedd ef yn gwenieitho yn rhagrithiol i'r mawrion, er mwyn codiad yn y byd; ymddengys mai gogoniant Duw oedd prif wrthrych ei ymgais; ond fel yr oedd gwaethaf y modd, nid dyna egwyddor amryw o Offeiriaid yr oes, y rhai yn ei żel dros eu llywiawdwr gwladol, yr hwn a chwennychai gael arian oddiwrth yr Eglwyswyr er dwyn ym mlaen gynlluniau na chymmeradwyid gan y Senedd, a anghofiasant derfynau priodol gallu Brenhin Lloegr yn ol ffurflywodraeth y wlad, ac a aethant ym mhell o'u lle, drwy geisio profi hawl ddwyfol brenhinoedd i lywodraeth ben-arglwyddiaethol, gan osod bywydau a meddiannau y deiliaid yn ngallu un dyn, a hwnnw yn anghyfrifol i gyfreithiai y wlad. Yn amser brawdlys y gwanwyn, yn 1627, traddododd Offeiriad o'r enw Mainwaring, ei bregeth nodedig, a adwaenir wrth yr enw "Ufudd-dod Apostolaidd," yr hon oblegid yr egwyddorion a gynnwysai, a'u tuedd i gyfyngu ar ryddid y deiliaid, a fu yn achos o gynhwrf mawr yn y deyrnas, ond yn fwy neillduol ym mhlith y Puritaniaid, y rhai a hoffent yn fawr gael achos i achwyn yn erbyn y brenhin a'i gynghorwyr, ym mhlith y rhai yr oedd Dr. Laud, yr hwn nid yn unig a gymmeradwyai yr athrawiaethau a ddysgid gan Mainwaring, ond a adolygodd y bregeth cyn ei chyhoeddi, ac a ofynodd gan yr Archesgob Abbot, am ganiattad i'w hargraphu; yr hyn a ommeddwyd gan y gŵr hynaws a chymmedrol hwnnw, am yr hyn y difeddiannwyd ef gan y Brenhin o'i swydd oruchel. Ar ol hynny trowyd at Dr. Montaigne, Esgob Llundain; ac efe a roddodd ganiattad i argraphu y bregeth. Yn y flwyddyn ganlynol, pan ymgynnullodd y Senedd, darfu i Dŷ y Cyffredin wneuthur cyfraith dra thraws-awdurdodol yn erbyn Mainwaring, yr hwn a ddirwywyd yn drwm, am bregethu a chyhoeddi y bregeth. Y gweithrediadau hyn a gynhyrfasant y Brenhin; ac er dangos ei anfoddlonrwydd, nid yn unig rhoddodd faddeuant i Mainwar-

* Mewn canlyniad i lafariad y pennill uchod gan y Ficer, credir yn gyffredin fod y felldith wedi disgyn yn ffrwd ar Faesyfelin; er prawf o'r hyn coffheir i'r tŷ a'r tylwyth syrthio i dinystr buan; a phan dynnwyd tŷ Maesyfelin i lawr, ac y cymmerwyd peth o'r defnyddiau i adeiladu palas Ffynonbedr gerllaw Llanbedr, i'r defnyddiau hyn ddwyn y felldith ar y lle hwnnw hefyd, (i berchennog yr hwn yr oedd treftadaeth Maesyfelin wedi disgyn,) o herwydd i'r tŷ hwnnw syrthio yn ebrwydd i adfeilion; ac hyd y dydd hwn y mae yn garnedd, yn cyflawn atteb i ddarluniad y Beirdd,—

"Drain ac ysgall mall a'i medd,
Mieri lle bu mawredd."—
Ieuan Brydydd Hir, i lys Ifor Hael.

"A mynych yr ych o'r iau
A bawr lawr ei barlyrau."
D. Davies, Castellhywel, "Cwymp Ffynnonbedr.

ing, ond hefyd cyflwynodd iddo fywiolaeth werthfawr Stamford Rivers, yn Essex. Yr ymrafael hwn, rhwng gwŷr y Llys a'r Puritaniaid, a wnaed yn waeth drwy zel gyfeiliornus y ddwy blaid, y rhai oeddynt yn barod i ddefnyddio pob moddion cnawdol er dwyn ym mlaen eu hamcanion eu hunain. Yr oedd lefain Pabyddiaeth o hyd yn gweithio yn eu calonnau mewn un ffordd neu'r llall. Yr ysbryd gorthrymmus hwn a ymdaenai hefyd drwy y wlad; ac ni ddihangodd hyd yn nod Ficer Llanymddyfri rhag ei effeithiau. Dywedir i ni gan Mr. Fenton, yn hanes ei daith drwy Syr Benfro, yr arferai y Ficer fyw ar brydiau yn St. Kenox, pan yr oedd yn Ganghellwr Tŷ-Ddewi, a bod y llannerch gyfagos i'r tŷ, yr hwn wedi hynny a arferid fel llawr nithio, wedi bod yn fynych yn lle iddo bregethu i gynulleidfaoedd rhy liosog i Eglwys gyffredin eu cynnwys; oblegid cymmaint oedd ei boblogrwydd, ac mor ddwys oedd ei ddull yn pregethu, fel pan ddeuai i aros yn Nhŷ Ddewi, yr oedd dan yr angenrheidrwydd o gael pwlpud symmudadwy yn y fynwent, gan fod corph yr Eglwys Gadeiriol, er mor eang ydyw, yn rhy gyfyng i'r cynnulleidfaoedd lliosog; am yr hyn, o herwydd penboethni yr amseroedd, achwynwyd arno yn y Llys Eglwysig. Dywed Mr. Fenton iddo gael yr hanesyn uchod gan orwyr i un o wrandawyr y Ficer, ym mhlith papyrau yr hwn y cafwyd yr amgylchiad wedi ei goffhau. Ar yr achlysur o draddodiad un o'i bregethau rhagorol, cyfansoddwyd y pennill canlynol, yr hwn y pryd hynny a adroddid braidd gan bawb ;—

"Y Ficer o Llanddyfri,
Wnaeth bregeth yn Nhŷ-Ddewi,
Na fu 'n y byd erioed ei gwell:
Hi aeth ym mhell trwy Gymru."

Y mae yr hanes am erlyniad y Ficer yn y Llys Eglwysig, yn cael ei gadarnhau gan rai o'i Ganau; y rhai, heb ystyried hynny, y byddai yn anhawdd deall yr achos o'u cyfansoddiad. Yn y Gân a elwir "Gweddi mewn cyfyngder," tu dalen 162, y mae yn dywedyd, gyda chyfeiriad amlwg at ei fod yn cael ei erlid gan ryw rai heb fod o'i gymmydogaeth ei hun,—

"Ti ro'ist gennad i estroniaid,
Lwyr amcanu difa f'enaid,
A'r sawl nid wy'n nabod etto
Lwyr amcanu fy anrheithio.

Rhai na wn o b'le eu henyn,
Rhai na wnaetho i ddim i'w herbyn,
Rhai na chanfu erioed fy llygaid,
Sy'n amcanu difa f'enaid."

Er y cwbl, rhodiai y Ficer mewn cymmundeb agos â Duw, ac ynddo ef yn unig yr ymddiriedau am waredigaeth o'i drallodion; ac er y gallasai yn hawdd oblegid hefyd ei sefyllfa uchel yn yr Eglwys ac yn y byd, gael ei gynnorthwyo gan lawer, etto, fel y mae nodwydd y morwyr wedi ei chyffro yn dychwelyd yn fuan, ac yn cyfeirio at y gogledd, felly yn ei ofid troai Mr. Prichard at ei Waredwr am gymhorth :—

"Nid wy'n ceisio help gwŷr mawrion,
Na phenaethiaid, na th'wysogion,
Ond yn unig cymmorth difrad
Gennyt ti, fy Nuw, a'm Ceidwad."

Ac ni chafodd ei siommi ychwaith yn y Graig ar yr hon y pwysai ; oblegid yr ydym yn cael, yn y Canau nesaf, ei fod wedi cael cysur arbenig oddi uchod yn ei drafferth, yr hyn a grybwyllyr ganddo mewn iaith dra barddonol:—

"Helodd angel i'm dad-ddrysu,
Rhoes ei Yspryd i'm diddanu ;
Tannodd droswy'i aden hyfryd,
Ac fe'm tynnodd o'm holl ofid."

Darlunia ei erlidwyr fel "gwŷr digrefydd, a gwragedd gwaedlyd," rhag dichellion a bradwriaeth y rhai yr oedd efe wedi diangc; ac yna y mae yn priodoli i Dduw yn unig y gorchwyl o ddatguddio ac aflwyddo eu bwriadau drygionus, ac yn rhoddi clod i'w euw gyda gwresogrwydd duwiol,—

"Clod, a gallu, diolch, moliant,
Gwir anrhydedd, a gogoniant,
A fo nos a dydd i'r Drindod,
Am fy nhynnu maes o drallod."

Oddiwrth rai o'r amgylchiadau a nodwyd y mae y Parch. John Bulmer, yn ei Ragymadrodd i'w Waith Saesonaeg, "The Beauties of the Vicar of Llandovery," wedi galw Mr. Prichard yn "Fardd *Puritanaidd* Cymru." Os meddylir, wrth yr enw Puritan, ddyn o *burdeb* neillduol mewn buchedd ac athrawiaeth, y mae Mr. Bulmer wedi talu y parch uchaf a allai i Mr. Prichard; ond gan y defnyddir y gair yn gyffredin i arwyddo *Anghydffurfiwr*, rhaid iddo faddeu i'r ysgrifenydd presennol am gynnyg dangos fod Mr. Prichard yn Eglwyswr cysson, mor belled ag y gwyddai efe am bleidiau eglwysig. Ac er profi hyn, gellir cyfeirio y darllenydd at dystiolaeth un ag oedd yn sier o fod yn gwybod yn fanylach am y Ficer nag y gall Mr. Bulmer, na neb arall yn yr oes hon; sef ei gydoeswr, Mr. Stephen Hughes, yr hwn a gyhoeddodd Waith y Ficer gyntaf. Yn y pennillion a gyfenwa efe "Cynghor i'r Llyfr," yn mae yn dywedyd,

"Gwir Gonfformist oedd dy feistyr."

Er fod Mr. Hughes yn Anghydffurfiwr ei

hun, y mae yn gobeithio na anghymmeradwyid y Llyfr oblegid hynny. Yna y mae yn myned ym mlaen i brofi cydffurfiad y Ficer â'r Eglwys, yn y pyngciau hynny a wrthwynebid gan yr Ymneillduwyr;

"'Rwyt ti 'n crio fynu 'r Gwyliau,
'Rwyt ti 'n dala Ffurf Weddiau,
'Rwyt ti 'n gwa'wdd rhai i'r Eglwysydd,
'Rwyt ti 'n lwo Tadau Bedydd."

Rhaid ystyried tystiolaeth o fath hon yn eithaf cadarn dros ymlyniad diysgog y Ficer wrth yr Eglwys Sefydledig a'i Gwasanaeth; ac fe allai, trwy ein bod wedi cyffwrdd â'r matter hwn, na byddai yn ammhriodol dwyn ger bron syniadau y Ficer ei hun am y rhai hynny a grynhoent gynnulleidfaoedd i'w gwrando ei hunain mewn gwrthwynebiad i'r Eglwys, oblegid eu bod yn groes i rai pethau yn ei dysgyblaeth a'i gwasanaeth. Gyda golwg ar y cyfryw, dywed,—

"Dos i'th Eglwys blwyf y Suliau,
A'th holl dylwyth wrth dy sodlau."

"Ar y Sabboth n'âd hwy i'r Pebyll
Lle mae'r deillion yn ymgynnull."

Fel gwir gredinwr yng Nghrist, yr oedd Mr. Prichard dros gadw undeb yr Yspryd yng nghwlwm tangnefedd; a chan ei fod yn ystyried Crist fel canolbwngc yr undeb, dymunai ymgadw oddiwrth yr athrawon hynny a ymddeolent o gorlan Apostolaidd Eglwys Crist; a diau ei fod o gydwybod yn dal y dylai sefydliadau crefyddol, er na byddent o osodiad dwyfol, gael eu parchu, os na byddent yn wrthwyneb i Air Duw; ac wrth wneuthur hyn yr oedd yn dilyn esiampl ei Arglwydd a'i Feistr, yr hwn a aeth i'r gyssegr-ŵyl* yn Jerusalem, er bod honno o sefydliad dynol. Hefyd, yr oedd yn barod i geryddu ac argyhoeddi ei frodyr yn y weinidogaeth, ag oeddynt yn esmwyth arnynt yn Sïon, ac yn caru eu hesmwythder a'u cysur tymhorol eu hunain, o flaen lles ysprydol y wladwriaeth. Dywed traddodiad, mai yr achos o gyfansoddi y llinellau,—

"Fe wneir peth â chrochan tyllog,
Ni wneir dim a 'ffeiriad diog,"

ydoedd i'r Ficer geisio gan Offeiriad cymmydogaethol weinyddu yn ei le ef, pan yr oedd yn analluog, o herwydd afiechyd neu ryw rwystr rhagluniaethol arall, i gyflawni y gwaith ei hun; ond i'r cais gael ei ommedd, yr hyn a barodd i Mr. Prichard adrodd y geiriau uchod yn ddifyfyr, y rhai ynghyd â phennillion eraill o'r un natur, a wnant i fynu y Gân ragorol ar Ddyledswydd Gweinidogion, (tu dal. 247,) yr hon a ddengys, gan nad pa mor gadarn yr oedd y Ficer o blaid yr Eglwys a'i threfniadau, nad oedd heb sylwi ar feiau rhai o'i Gweinidogion a aethant i'r swydd gyda dibenion bydol ac anheilwng; oblegid ni arbedai eu hymddygiad, ond ceryddai hwynt yn ddidderbynwyneb. Er hynny, nid yw efe yn cynghori plwyfolion yr Offeiriaid diog ac anfucheddol hynny i adael yr Eglwys, a dilyn yr athrawon a ymadawent â hi, ond yn eu cymhell i ddal yr athrawiaethau a ddysgid yn ei Gwasanaeth, eithr ar yr un pryd i ochelyd drwg arferion eu bugeiliaid.

Lliosogrwydd o bechodau personol a chwyddant yn fuan yn bechodau gwladol, ac fel y cyfryw a dynnant i lawr ddial y nef ar y genedl yn gyffredinol, ac nid ar bersonnau neillduol yn unig; ac felly y mae y drwg yn goddef gyda'r da, tra y mae yr Hollalluog yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn. Y flwyddyn 1629 oedd yn nodedig, oblegid y trallod anarferol a achoswyd gan y gwlawogydd trymion, y rhai a ddinystriasant gnwd y ddaear, nes oedd prinder hyd ar fin newyn yn y wlad. Heblaw hyn darfu i fawredd y genedl gael ei ddarostwng o herwydd ffolineb a dichellion Dug Buckingham; yr hwn, er mwyn boddio Pabyddion Ffraingc, a drodd yr arfau Prydeinaidd yn erbyn y Protestaniaid Ffrengig, lle y cawsant yn gyfiawn eu gorchfygu a'u hammarchu, er bod y rhan fwyaf a ymladdent wedi eu gyrru yno yn erbyn eu hewyllys. Parodd y trallod a'r aflwyddiant gwladol hyn gryn anfoddlonrwydd yn y wlad; ac yr oedd un blaid yn beio y llall fel achos y drygfyd; ond y Ficer, yr hwn a edrychai ar weithredoedd dynion, ac a'u pwysai wrth oleu ac yng nglorian yr Ysgrythyrau Sanctaidd, a ymdrechai hyd eithaf ei allu i dawelu yr aflonyddwch, ac yn ddiarswyd cyhoeddai mai pechodau y bobl oedd gwir achos y trallodau mawrion a syrthient ar y genedl; oblegid yr oedd y trigolion wedi dychwelyd yn awyddus at eu hen halogedigaeth, ar ol dangos peth diwygiad yn amser y pla a fuasai yn y wlad ychydig cyn hynny; amcanai yntau ddangos mai mewn canlyniad i hyn yr oedd yr Arglwydd yn cospi troseddwyr ei gyfreithiau â'r newyn a'r cleddyf. Y mae y Canau a gyfansoddodd efe ar yr amser hwn, (gwel tu dal. 175,) yn arddangos darlun alaethus, ond rhy wir, fel y mae lle i gredu, o'r anfoesoldeb a ffynnai i raddau helaeth ym mysg pob graddau; cyhuddai ei gydwladwyr mewn modd arbennig o ymollwng i bellder brawychus gyda'r pechodau o lythineb a meddwdod. Yn y Canau dan sylw y mae Mr. Prichard, mewn modd tra dwys, yn dangos yr anghenrheidrwydd o edifeirwch trwyadl,

*Ioan 10. 22, 23. "Ac yr oedd y gyssegr-ŵyl yn Jerusalem, a'r gauaf oedd hi. Ac yr oedd yr Iesu yn rhodio yn y deml, ym mhorth Solomon." Gwelir hanes sefydliad yr ŵyl hon yn 1 Maccab. 4. 59.

ac ymostyngiad ger bron y Creawdwr digllon; ond hyd ag y gellir casglu, ychydig iawn o effaith a gafodd ei gynghorion a'i rybyddion, oblegid yn yr amser hwnnw yr oedd crefydd yn dra isel yn y wlad; er hynny, yn y flwyddyn ganlynol torrodd gwawr newydd a gogoneddus o oleuni ysprydol ar y Dywysogaeth, a hon oedd y ffynnon bur a nefol, o'r hon y tynnai y Ficer yr hyfforddiadau moesol a chrefyddol a gynnwysir yn ei Ganau. Daeth y fendith fawr hon o'r diwedd i bob Cymro, drwy gyhoeddiad y Bibl yn yr iaith Gymraeg, am bris mor isel, fel y gallasai y rhan fwyaf o'r werin ei brynu. Dygwyd hyn oddi amgylch drwy haelioni a gwladgarwch Syr Thomas Middleton,* a Rowland Heylin, y rhai ar y pryd oeddynt yn ddau o Henuriaid Llundain, ac a fuant yn y draul o ddwyn allan argraphiad helaeth o'r Bibl Cymraeg i'w gwerthu am bum' swllt yr un. Y rhodd werthfawr hon, a gafodd y Cymry yn anrheg gan eu dau gydwladwr urddasol, a roesawid gydag hyfrydwch calon gan y Ficer: a'r amgylchiad hwn fel y mae yn eglur, a barodd iddo gyfansoddi ei Gân ynghylch dysgu darllen gair Duw. Cyn hyn yr oedd y Bibl, o herwydd ei faint a'i bris, ym mron bod yn llyfr seliedig i'r Cymry, oblegid nid oedd ond dau argraphiad wedi eu cyhoeddi cyn yr amser hwn, y cyntaf o ba rai a ddaethai allan yn nghylch pedair blynedd ar ddeg cyn i Mr. Prichard gael Ficeriaeth Llanymddyfri, a'r ail yn y flwyddyn 1620; ac nid oedd y ddau argraphiad ond prin ddigon i ddiwallu yr Eglwysi Cymreig; ac er mwyn gwneuthur y diffyg hwn i fynu mewn rhyw raddau y cyfansoddodd y Ficer lawer o'i Ganau, y rhai a gynnwysant gymmaint o hanesyddiaeth ysgrythyrol, addysgiadau moesol, a duwinyddiaeth athrawiaethol ac ymarferol, fel y dywedwyd yn dra phriodol gan un ag oedd yn llafurio yn y winllan ym mhen mwy na chan' mlynedd ar ei ol,† eu bod yn cynnwys *hufen* y Bibl.

Gan fod yspryd plaid yn parhau i gynnyddu yn y deyrnas i radd uchel, nid yw yn achos syndod mawr i lawer gael eu dallu gan ragfarn, a'u tueddu gan gynhyrfiadau cnawdol i fod yn gyfranogion mewn gweithredoedd, y rhai yn ddiammeu y buasent yn eu ffieiddio o'u calon, pe buasent yn gweddio am gyfarwyddyd yr Yspryd Glân i'w cydmaru â Gair Duw: ond, ysywaeth, tymherau dynol a phenboethni a gawsant y llaw drechaf, fel y darfu i'r Dr. Laud, o ran eiddigedd oblegid iddo dybied fod un o'r barnwyr wedi troseddu ar hawl y brenhin, a breiniau y Llys Eglwysig, mewn pwngc a berthynai i fanylach sancteiddiad o'r Sabboth gyduno âg eraill i ail gyhoeddi Llyfr y Chwareuyddiaethau, yn 1633; ond er hynny addefir i'r Dr. Laud osod gorchymmyn y brenhin mewn gweithrediad gyda llawer o diriondeb, yn neillduol yn ei Esgobaeth ei hun. Yr oedd llawer o weision ffyddlon yr Arglwydd a ystyrient y gwnaethent fwy o barch i'w llywiawdwr gwladol, drwy esgeuluso yn hytrach nag ufuddhau ei orchymmyn; Offeiriaid eraill a ddarllenent y Cyhoeddiad, fel y gorchymmynid, ac yn uniongyrchol ar ei ol darllenent y pedwerydd gorchymmyn, gan ychwanegu, "Felly clywsoch yr hyn a ddywed dyn, a'r hyn a orchymmyna Duw. Arglwydd, trugarha wrthym, a gostwng ein calonau i gadw'r gyfraith hon;" a rhai eraill a adawsant yr Eglwys, ac a ymunasant â'r Puritaniaid. Nid oes gennym goffadwriaeth bendant pa fodd yr ymddygodd y Ficer ar yr achlysur hwn; ond nid yw yn annhebyg i'w Esgob, Dr. Field, yr hwn oedd yn wladgarwr enwog, ac yn ddyn crefyddol a chyfiawn, beidio rhoddi gorchymmyn caeth ar fod i'r Cyhoeddiad brenhinol gael ei ddarllen yn ei Esgobaeth; eithr gallwn fod yn lled sicr fod ymddygiad y Ficer yn gydunol â'i arafwch cyffredin, a'i barch i orchymmynion Duw, gan fod gennym ddigon o amlygder nad oedd neb yn fwy eiddigus nag ef dros sancteiddiad y Sabboth, fel y mae ei gyfansoddiadau yn tystio, yn y rhai y mae yn dywedyd wrth y rhai a fynnent chwareu, am "Chwareu drannoeth," ac nid ar ddydd yr Arglwydd. Pa fodd bynnag, darfu i wall-drefn, Gweinidogion y llywodraeth, a phoethder pleidiol y Puritaniaid (nifer y rhai erbyn hyn oedd wedi ei ychwanegu yn fawr gan ddynion a gymmerent arnynt fod yn dra chrefyddol, ac a wnaent ymddangosiad gor-sancteiddiol, er mwyn cuddio eu drwg-ewyllys i'r brenhin) beri cryn fraw ym meddyliau y rhai a chwennychent weled heddwch yn y wladwriaeth; ond mor lleied oedd yr arwydd am gymmodi a ddangoswyd gan bob un o'r pleidiau, fel y gwelid y rhwyg yn helaethach ar ddiwedd pob blwyddyn; a phell oddiwrth dawelu yr

* Syr Thomas Middleton oedd drydydd mab i Richard Middleton, llywydd Castell Dinbych, dan deyrnasiad Edward VI., Mary, ac Elizabeth. Yr oedd ef yn un o dri brawd a fuant yn addurniadau nodedig i'r Dywysogaeth, am un o ba rai, yr hwn a alwai ei hun Gwilym Ganoldref, y mae son yn tu dal. 303 o'r Llyfr hwn. Y brawd arall oedd y tra adnabyddus Syr Hugh Middleton, yr hwn a ddygodd yr afon newydd i Pentonville, yn Llundain, yn y flwyddyn 1613, ar yr un diwrnod ag y dewiswyd Syr Thomas Middleton yn Arglwydd Maer y ddinas. Nid yw yn annhebyg i'r Ficer ddyfod yn gydnabyddus â Syr Thomas, pan fu yn Llundain yn amser y pla. Y boneddig arall, Mr. Rowland Heylin, oedd enedigol o Bentref Heylin, yn swydd Drefaldwyn. Bu Syr Thomas Middleton farw yn y flwyddyn 1666, yn bedwar ugain mlwydd oed.

† Y Parch. Peter Williams, M.A., Awdwr yr Esboniad ar y Bibl, yr hwn a fu farw yn 1796, yn 75 mlwydd oed.

ymryson yn y parthau hyn, yn 1635, oedd y gwaith o bennodi y rhagddywededig Roger Mainwaring i Esgobaeth Tŷ-Ddewi. Etto darfu i'r amgylchiad hwn fod yn foddion i ddwyn ym mlaen gydnabyddiaeth rhwng teulu yr Esgob newydd ac eiddo y Ficer, yr hon aeth yn gyfathrach, drwy briodas Mr. Thomas Mainwaring, mab i'r Esgob, âg Elizabeth, merch Mr. Samuel Prichard. Nid yw yn ammhosibl fod Mr. Samuel Prichard, dihenydd echrydus yr hwn a goffawyd yn barod, yn fyw y pryd hwnnw, gan ein bod yn cael ei enw wrth weithred a ysgrifenwyd ynghylch tair blynedd cyn dyrchafiad Dr. Mainwaring i Esgobaeth Tŷ-Ddewi. Wrth swn ei lythyr at ei dad, yr hwn a roddwyd yn tu dalen 304, y mae yn debyg nad oedd yr amser hwnnw wedi priodi; ond, a gadael ei fod wedi ymuno mewn priodas â Miss Harding yn fuan ar ol ysgrifenu y llythyr hwnnw yn 1623, a chaniattau dwy flynedd ar bymtheg cyn y byddai yn debyg i'w ferch briodi, dygid priodas Mr. Mainwaring âg Elizabeth Prichard mor ddiweddar a'r flwyddyn 1640 o leiaf, yr hon oedd flwyddyn dra phwysig i'r Esgob Mainwaring; oblegid y mae Walker, yn ei lyfr a elwir "Sufferings of the Clergy," yn dywedyd am dano fel hyn:—"Ond nid oedd y blaid Seneddol yn anghofus o hono; ac yn 1640 ail-ddechreuwyd ei ofidiau yn y Senedd; ac er mae yr hen dramgwydd oedd sail yr erledigaeth hon, etto dygasant yn ei erbyn gyhuddiadau newyddion, ynghylch Ymarferiadau Pabaidd, cyfeillachu â Phabyddion, a bod yn rhy gymdeithasgar a llawen." O herwydd yr hyn, fel y dywed Lloyd, awdwr hanes ei fywyd, "daliwyd ef yn ddisymmwth, carcharwyd ef yn greulon, dirwywyd ef yn drwm, yspeiliwyd ef yn ormesol, ac ymlidiwyd ef o le i le yn ddibaid." Y Senedd hon, a fu yn achos o'r trallodion hyn i'r Esgob Mainwaring, oedd yr un nodedig a elwir y Senedd Hir, trwy weithredoedd melldigedig yr hon y darfu i'r cymmylau o anfoddlonrwydd, y rhai am flynyddau oeddynt wedi bod yn rhag-arwyddo drwg i'r Eglwys a'r frenhiniaeth, ymdewychu a duo, fel yr oeddynt yn dangos dynesiad tymhestl a gynhyrfai'r genedl trwyddi. Pethau nad ymddangosent ar y dechreu ond ysgafn, wrth edrych arnynt trwy ddrych rhagfarn, a welid yn ddrygau aruthrol, nad oedd dim llai na gwaed a wnai iawn am danynt.

Ar ollyngiad y Senedd cyn hon, ym mis Mai, 1640, darfu i Gymanfa yr Offeiriaid eistedd dros fis yn hwy, a phleidleisiwyd dros roddi cymmorth i'r brenhin er gostegu y terfysg a dorrasai allan ym mhlith ei ddeiliaid Albanaidd. Er nad oedd y weithred hon yn rhwymiadol ar y wlad yn gyffredin, yr oedd i raddau yn rhwymo yr Offeiriaid; a thebygol iddi gael ei hystyried felly gan y Ficer Prichard. Gollyngwyd y Senedd a nodwyd, heb ganiattau dim at wasanaeth y deyrnas, fel y byddid yn arferol o wneuthur, fel yr oedd yn rhaid i'r brenhin ymddibynu ar yr hyn a roddid ac a echwynid iddo gan ei gyfeillion, er cynnal ei ail ymgyrch yn erbyn yr Alban. Digofaint personol, siomedigaeth, a drwg-anwydau eraill a darddant o galon dyn lygredig, a liosogent y blaid honno o ddynion anghymmodlon o wahanol dueddiadau, a unid â'u gilydd dan rwymyn casineb at y llywodraeth mewn Eglwys a Gwladwriaeth. Yn y modd hwn, hyd yn nod hen gyfaill y Ficer, Iarll Essex, ar ol bod unwaith yn llywyddu byddin y brenhin, gan ystyried ei fod yn cael ei iselhau, yn y lle cyntaf, drwy na chawsai ei bennodi yn swyddog ar y fyddin grybwylledig a anfonwyd i'r Alban, ac wedi hynny drwy arwyddion eraill o anghof ac esgeulusdod, a dueddwyd i gymmeryd blaenoriaeth lluoedd y Senedd yn erbyn ei frenhin, er nad oedd o ran egwyddorion yn groes i'r grefydd Sefydledig na'r frenhiniaeth, fel yr hyspysir i ni gan ei gydoeswr, Arglwydd Clarendon. Meddai ef "Yr oedd y digofaint rhwng Iarll Essex a'r Archesgob (Laud) a rhai eraill o'r Esgobion, yn hytrach o natur bersonnol nag o gasineb cyffredinol at Weinidogion yr Eglwys; ond at eraill o honynt dangosai barch ac anwyldeb mawr, megis yr Esgob Moreton, Esgob Hall, a rhai Esgobion eraill ag oedd yn llai dros ffurfiau; ac yr oedd hefyd mor bleidiol ag un dyn i'r Llyfr Gweddi Gyffredinol, a phob amser yn gorchymmyn i'w weision wrando arno gydag ef pan fyddid yn ei ddarllen; ac yn wastad byddai ei Gaplan teuluaidd yn Gydffurfiwr trwyadl, ac yn ysgolhaig da."

Dywed Arglwydd Clarendon hefyd, i gyfeillion y brenhin, yn nechreu y rhyfel roddi iddo anrhegion lawer, gan obeithio y byddai iddynt drwy ymegniadau anghyffredinol, lethu holl hyder y blaid Seneddol am oruchafiaeth. Crybwyllir hefyd yn barchus am haelioni cyffredinol Tywysogaeth Cymru, gan yr un hanesydd. Y gorchymmyn cyntaf am godi lluoedd ac arian at achos y brenhin, a wnaed rhwng Mai 15ed a Gorphenaf 15ed, 1642. Gwasgodd hyn yn drwm ar yr Offeiriaid a gyfrannasent eisioes yn helaeth at anghenrheidiau y brenhin. Rhaid bod y llythyr canlynol, yr hwn sydd etto ar glawr yn ysgrifenlaw yr Ficer, wedi ei ysgrifenu yn agos i'r amser a nodwyd; ond ni ellir gwybod pa mor agos, gan nad yw y dydd na'r flwyddyn wrtho; er hynny y mae yn profi gyda pha blaid yr oedd y Ficer o gydwybod yn ochri.

Cafwyd yr ysgrifen wreiddiol o'r llythyr, rai blynyddau yn ol, yng Nglantowy, ym mhlwyf Myddfai, ym mha le y bu un o hiliogaeth y Ficer yn byw gynt, ac y mae yn awr ym mherchennogaeth yr ysgrifenydd, i'r hwn, o garedigrwydd, y rhoddwyd ef gan y Parch. D. W. Jeffreys, Periglor, Eglwys Taliaris. Oddiwrth y llythyr hwn, gwelir yn eglur fod y Ficer Prichard mor ffyddlon gŵr dros ei frenhin a neb yn y deyrnas; oblegid yr ydym yn canfod ei fod wedi rhoddi y rhan fwyaf o'r hyn a dderbyniodd am dair blynedd i gynnorthwyo yr achos brenhinol, ac y buasai yn dda

"To the Right woor$^{th}$:
his much Honored—
frind, Doctor Olyver
Lloyd, Advocat to his
May. Prince at Carmar:
then, present
these

Noble Doctor,

my Service remembered with many thanks for all favours whereas I am so far over Rated in the taxations ymposed vpon me, that all the meanes I haue in ij$^o$ years to come are not able to discharge my Taxations for this yeare p$^e$sent I am to desire you to shew me so much favour, (in regards my lame leg will not p'mitt me to come in p'son,) as to p$^e$sent this my Petition to the Commissioners of Aray and to desire them to ponder my Greevances therein expressed: and so to Qualifie those excessiue Rates proportionable to my Abilitie and agreeable to the Rates that is assessed vpon others that are my Equalls in the countie.

The most of all my Meanes is in Deiries or little farmes, from whence I gett no moneys, but Corne and Catell, which I haue freely spent theese three years in entertayning the King's partie and wish I had more for them, I Received not in moneys one hundred pounds these ij$^o$ years of all the meanes I haue yet my taxations this yeare comes to more than 200£, I am willing to pay as much as any of my rank, And desire that I be not overcharged above my Abilitie, I receiued not these ij$^e$ last years from my Spirituall meanes as much as payd my Curats wages: nor from my temporall estat as much as payd the third p't of my Contributions, but was fayne to shift and borow, Therefore I humbly desire that these things may be considered, and that my taxations be proportionable to the taxations of those that are of my abilitie, So craving your kind furtherance herein, I humbly take leave and ever rest

Your Humble Seruant,

RICE PRICHARD.*

ganddo pe meddasai ragor i'w roddi i'r un diben. Er y cwbl, yn ofer y bu iddo ef ac eraill o Weinidogion ffyddlon yr Eglwys, am heddychlondeb a duwioldeb y rhai nis gall fod un amheuaeth, ymdrechu rhwystro ffrwd ddinystriol gwrthryfel; ac yn llwyr ofer y darfu i rai eraill, a gyffroid gan zel uwchlaw y gwybodaeth, osod i fynu ddisgyblaeth ry lem, er cynnal seremoniau a ffurfiau yn fanylach nag erioed, a hynny, fel y golygent hwy, i'r diben o attal cynnydd y terfysg; oblegid, er y cyfan, myned yn fwy, yn llettach, ac yn gryfach yr oedd y llifeiriant, gan dynnu iddo ei hun ffrydiau halogrwydd ac annuwioldeb y wlad, nes y torrodd holl rwymau cymdeithas, ac y llanwodd y tir o alar, griddfan, a gwae; ac ni orphenwyd gwaith dinystr, nes dinoethi seiliau yr Eglwys, a thaflu y Grefydd Sefydledig a'r Orsedd i'r un pentwr o adfail.

Y tro olaf yr aeth y Ficer i Dŷ-Ddewi, oedd ar yr ail o Awst, 1643; pryd yr aeth ei gyfaill, yr Esgob Owen o Lasallt, gydag ef. Ond cyn hyn yr oedd y Dywysogaeth wedi cael teimlo chwerwder y Rhyfel Gwladol; oblegid yr oedd byddin y Senedd, dan lywyddiaeth y Milwriad Langharne, wedi gorchfygu plaid y Brenhin yn swydd Benfro, ac wedi cymmeryd llawer yn garcharorion, ym mhlith y rhai yr oedd un o gyd-swyddwyr y Ficer yn Nhŷ-Ddewi, sef yr Arch-ddiacon Rudd, yr hwn, yn llechres y carcharorion, a ddynodir fel "*Malignant Priest*," yr hyn a ddengys y teimladau a goleddid gan y Puritaniaid at flaenoriaid yr Eglwys. Gwelir syniadau y Ficer am y terfysgwyr hyn, yn ei Gân am y Gwrthryfel, tu dal. 265; ac ar ol iddynt trwy ragrith a thwyll, ymgodi yn blaid wladol, yr oedd yntau o herwydd ei sefyllfa eglwysig, yn ofni syrthio yn aberth i'w dialedd a'u gwange. Y mae yn eithaf tebyg, mai oddiar ddychryn rhag y byddai i'r Gwrthryfelwyr gymmeryd gafael yn ei feddiannau y darfu iddo arwyddo Gweithred, er rhoddi y rhan fwyaf o'i gyfoeth i'w ŵyr, Rice Prichard, yr hwn oedd fab i Mr. Samuel Prichard, ac ar yr amser hwnnw yn byw yn Stroudwater, yn swydd Gaerloyw. Ni cheir

* Y mae'r llythyr yn bresennol yn Llyfrgell y Tonn, ger Llanymddyfri.

unrhyw grybwylliad am dano ond yn y Weithred dan sylw, yr hon a ddyddiwyd Hydref 19, 1643, ac a gofrestrwyd ar yr 24 o'r un mis, o flaen Syr Henry Jones, Marchog a Barwnig; David Gwyn, Yswain; a John Lloyd, Uchelwr; yn Abermarlais, Swydd Gaerfyrddin. Tystia y Weithred fod Mr. Prichard, o herwydd y serch a'r cariad naturiol oedd ganddo at ei ŵyr, a'i etifedd mewn ymddangosiad, "Rice ap Richard, o Stroudwater, yn swydd Gaerloyw, Uchelwr," yn rhoddi iddo amryw diroedd a enwir ynddi, ac a wnaent i fynu y rhan fwyaf o dda bydol y Ficer. Rhaid casglu i'r ŵyr hwn yn fuan farw yn ddiblant; oblegid, ym mhen tua blwyddyn ar ol hyn, yr ydym yn cael yr un tiroedd yn cael eu rhoddi mewn ewyllys gan y Ficer ei hun; rhwng amryw bersonau a pherthynasau eraill, a chan ei fod yn debyg mai yr Ewyllys hon yw y Weithred ddiweddaf a arwyddwyd gan y Ficer cyn ei farwolaeth, rhoddwn gyfieithiad talfyrredig o honi, gan gadw yn ofalus at y dull gwreiddiol o ysgrifenu enwau y personau a'r lleoedd.

"Yn enw Duw. Amen. Yr ail ddydd o Ragfyr, ym mlwyddyn ein Harglwydd 1644. Myfi, Rees Prich^d. o dref Llanymddyfri, yn swydd Gaerfyrddin, ac o Esgobaeth Tŷ-Ddewi, Offeiriad, yn glaf o gorph, ac o gof iach a pherffaith, (clod a mawl a fyddo i'r Hollalluog Dduw,) wyf yn gwneuthur fy Ewyllys ddiweddaf yn y dull a'r modd a ganlyn:

Yn gyntaf yr wyf yn cyflwyno fy enaid i'r Hollalluog Dduw, fy Nghreawdwr a'm Prynwr, a'm corph i'w gladdu yn Gristionogol. Hefyd, yr wyf yn rhoddi ac yn gadael at adgyweirio Eglwys Gadeiriol Tŷ-Ddewi, 8p. 8s.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi ac yn gadael i Gwenllian Prichard, fy ngwraig briod, fy holl dyddyn a elwir Tyr y Maes Llydan, yn awr neu yn ddiweddar yn llaw Rees David Pritchard; ac hefyd yr holl dyddyn arall yn awr yn llaw Ritherch Howell, ynghyd â'm dwy felin falu, a'r ddau darn o dir sydd wrth y melinau hynny; yn gystal a'r holl diroedd a sicrhawyd iddi o'r blaen fel ei chyfran, o herwydd ei phriodas a mi; ynghyd â'r cwbl a berthynent i'r cyfryw diroedd, o fewn tref Llanymddyfri, a phlwyf Llanddingad, yn swydd Gaerfyrddin, o fewn y ffiniau a'r terfynau oedd iddynt gynt ac yn bresennol, i'w meddiannu gan fy rhag-ddywededig wraig dros ei bywyd yn unig; ac yn uniongyrchol ar ol ei marwolaeth i fyned i Roger Maynwaring, mab Thomas Maynwaring, Uchelwr, yn unig dros ei fywyd; ac wedi ei farwolaeth, i'w etifeddion o'i gorph, wedi eu cenhedlu yn gyfreithlon, dros byth; ac yn niffyg y cyfryw etifeddion i etifeddion Eliz. Manwaring ei fam, wedi eu cenhedlu yn gyfreithlon dros byth; ac yn niffyg y cyfryw etifeddion, i'm hetifeddion cyfreithlon i dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi ac yn gadael i'r dywededig Roger Maynwaring, yr holl dir a elwir Allt Tingad, yn ddiweddar yn llaw Jocas Morgans; ynghyd â'r holl gaeau, neu leiniau o dir, a adnabyddir wrth yr amrywiol enwau, Y Crofft, Ystang y Gwydde, Kae Evan Hen, Kae Wm. By,—Park y Vallen, Kae pen y bont, y Kae Glaisione, Ddwy Erw Vawr, Kae John Thomas, yr Estang Vach, Kae brenhin, Kae Pedwar Derwen, Tyr y Paul, Close Shenkin, a Kae Penvayne, ynghyd â'r holl dai, yr Ysgyboriau, a'r cwbl a berthynent iddynt, yn nhref, neu o fewn cyffiniau Llanymddyfri, yn ol ei terfynau; i'w meddiannu gan y rhag-grybwylledig Roger Manwaring, dros ei fywyd yn unig; ac ar ol ei farwolaeth, i'w etifeddion o'i gorph, wedi eu cenhedlu yn gyfreithlon, dros byth, &c.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi ac yn gadael i'r dywededig Roger Manwaring, yr holl dyddyn a'r ddau gae a berthynent iddo, yn ddiweddar yn cael ei ddal gan Nicholas Williams, a Hugh Rees, ynghyd, a'r holl dai, a'r cwbl eraill a berthynant iddynt, yn nhref neu ar gyffiniau Llanymddyfri, ac ym mhlwyf Llandingad, mor gyflawn ag y prynais i hwynt gan y dywededig Nicholas Williams; i'w mwynhau gan y dywededig Roger Manwaring, dros ei fywyd yn unig; ac ar ei farwolaeth, i'w etifeddion o'i gorph, wedi eu cenhedlu yn gyfreithlon, dros byth; ac yn niffyg y cyfryw etifeddion, i etifeddion Eliz. Manwaring, ei fam, wedi eu cenhedlu yn gyfreithlon, dros byth; ac yn niffyg y cyfryw etifeddion, i'm hetifeddion cyfreithlon i dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi ac yn gadael i Elizabeth Manwaring, yr holl ddau dyddyn, a adwaenir wrth yr enwau Tyr Llwyn Jack, a Thyr Nantyrhogfaen, a'r hyn oll a berthyn iddynt, ym mhlwyf Llandingad, mor gyflawn ag y prynais i hwynt gan John Rees, a Rees Lloyd, i'w mwynhau gan y rhag-ddywededig Elizabeth a'i hetifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r ddywededig Elizabeth Manwaring, y pum' tyddyn a ddelir yn awr gan Evan Jones, Offeiriad, Tho: ap Ridderch, David John Bedw, Rich^d. Howell, a Jane Thomas, Gweddw, ym mhlwyf Llandingad, mor gyflawn ag y mwynheir hwynt gan y personau a enwyd; i'w meddiannu gan y ddywededig Elizabeth, dros ei bywyd; ac ar ol ei marwolaeth, i'w hetifeddion o'i chorph, a genhedlir yn gyfreithlon dros byth; ac o ddiffyg y cyfryw etifeddion, i'm hetifeddion cyfiawn fy hun dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r ddywededig Elizabeth Manwaring, y swm o bedwar ugain punt, o arian cyfreithlon Lloegr, sydd gennyf ar wystl ar dir Evan ap Hugh, ym mhlwyf Llandingad, os ryddheir y cyfryw dir; ac o ddiffyg ei ryddhad yr wyf yn rhoddi y cyfryw dyddyn i'r ddywededig Elizabeth a'i hetifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r ddywededig

Elizabeth, y swm o bum' punt ar hugain, sydd gennyf yn wystl ar amryw ddarnau o dir y dywededig Evan ap Hugh, yn y plwyf a nodwyd, os rhyddheir y cyfryw ddarnau; ac os na ryddheir hwynt, yr wyf yn eu rhoddi iddi hi a'i hetifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r ddywededig Elizabeth y swm o chwech ugain a phump o bunnau, sydd gennyf yn wystl ar diroedd John Jones, Uchelwr, yr hwn a fu farw yn ddiweddar, ym mhlwyf Llandingad, os rhyddheir y cyfryw diroedd; ac os na ryddheir hwynt, yr wyf yn eu rhoddi iddi hi a'i hetifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r ddywededig Elizabeth y swm o gant a deugain punt, sydd gennyf yn wystl ar diroedd Evan Williams, ym mhlwyf Llandingad, os rhyddheir hwynt; ac os na ryddheir, yr ydwyf yn eu rhoddi iddi hi a'i hetifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r ddywededig Elizabeth y swm o gant a hanner o bunnau, sydd gennyf yn wystl ar diroedd Daniell Pritchard, a elwir Tyr kilvach yr heddwch, yn y plwyf a nodwyd, os rhyddheir hwynt; ac os na ryddheir, yr ydwyf yn eu rhoddi iddi hi a'i hetifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r ddywededig Elizabeth y swm o gan' punt, sydd gennyf yn wystl ar gaeau neu leiniau o dir a melin o eiddo Rees Prichard, Uchelwr, a elwir Melin Penydre, yn yr un plwyf, os rhyddheir y cyfryw gaeau a melin; ac os na ryddheir hwynt, yr wyf yn eu rhoddi iddi hi a'i hetifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi ac yn gadael i'r rhag-grybwylledig Gwenllian, fy ngwraig, y darn o dir, a elwir Dôl y Sarc, yn y plwyf a enwyd, dros ei bywyd; ac ar ei marwolaeth, i'r rhag-enwedig Roger Manwaring, a'i etifeddion o'i gorph dros byth; ac yn niffyg y cyfryw, i etifeddion y ddywededig Elizabeth Manwaring o'i chorph dros byth; ac o ddiffyg y cyfryw, i'm hetifeddion cyfreithlon fy hun dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'm brawd William yr holl dyddyn, a ddelir yn awr gan Rees Morgan Walter, ym mhlwyf Llandingad, i'w feddiannu ganddo ef a'i etifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'm brawd Morris, yr holl dyddyn hwnnw, ym mhlwyf Llandingad, a ddelir yn awr gan Mably Lewis, gweddw, mor gyflawn ag y prynais i ef gan Thomas Powel David ap Rees, i'w feddiannu ganddo ef a'i etifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'm brawd Richard y ty y mae yn byw ynddo yn awr, ynghyd a'r cae a elwir Kae'r Llydiad, a phob peth a berthyn iddynt, ym mhlwyf Llandingad, mor gyflawn ag y prynais i hwynt gan Evan David ab Evan Gwalter, i'w meddiannu ganddo ef a'i etifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'm brawd dywededig Richard, yr holl dyddyn a elwir Tir Kinyrddod, ym mhlwyf Llandingad, yn feddiant iddo ef a'i etifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i Thomas Powell D' ap Rees, y tŷ y mae efe yn byw ynddo, ynghyd â'r ardd sydd ynglyn wrtho, ym mhlwyf Llandingad, yn feddiant iddo ef a'i etifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i David Wm. David Richard, y tŷ yn yr hwn y mae efe yn byw, ynghyd â'r ardd sydd yn perthyn iddo, yn y plwyf dywededig, i'w meddiannu ganddo ef a'i etifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i David ap Richard, y tŷ a'r ardd lle y mae efe yn byw, yn y plwyf a enwyd, yn feddiant iddo ef a'i etifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi y tyddyn a elwir Eskeirwrach, yr hwn a ddelir yn awr gan Morgan Lewis, ym mhlwyf Llanvair ar y brynne, yn y swydd a nodwyd, a chwech tŷ, un ysgubor, a darn o dir, ynghyd â'r chwech gardd a berthynant i'r chwech tŷ hynny, yn y rhai yn awr y preswylia Thos. David Bevan, Edward Balloek, Margarett William, gweddw, Gwenllian David, gweddw, Catherin, gwraig Wm. Walt. Rees Parry, John Taylor, Elizabeth Bevans, Thos. David Walter, ac Owen David ap Evan Waith, ym mhlwyf Llandingad, i'r ddywededig Elizabeth Manwaring, fy wyres, dros ei bywyd; ac wedi ei marwolaeth, i Roger Manwaring, ei mab, a'i etifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i Gwenllian, fy ngwraig, yr holl anifeiliaid, yd, gwair, ac offer llafurwaith, sydd ar fy nau dyddyn, a drinir gan Richard Howell a Rees David ap Richard, ym mhlwyf Llandingad, dros ei bywyd yn unig.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i Samuell William, fy nai, y tŷ yn yr hwn yr oedd Rees ap John Thos. yn ddiweddar yn byw, ym mhlwyf Llandingad, yn feddiant iddo ef a'i etifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi fy nhri thŷ, ym mhlwyf Llandingad, ynghyd â'r gerddi, y perllannau, a'r cwbl a berthynant iddynt, i'r dywededig Roger Manwaring, dros ei fywyd, ac i'w etifeddion o'i gorph, wedi eu cenhedlu yn gyfreithlon, dros byth; ac yn niffyg y cyfryw etifeddion, i Elizabeth Manwaring, a'i hetifeddion o'i chorph, wedi eu cenhedl yn gyfreithlon, dros byth; ac o ddiffyg y fath etifeddion, i'm hetifeddion cyfiawn fy hun dros byth. Y tri hynny a ddelir yn awr gan Rees Goch, John ap John, a Margaret Evan, gweddw.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r ddywededig Eliz. Manwaring, y swm o ddeg punt, o arian cyfreithlon Lloegr, sydd gennyf yn wystl ar dai a thiroedd Rees David Beynon, yn Llanvair ar y bryn, yn y swydd a enwyd, os rhyddheir hwynt; neu os na chant eu

rhyddhau, yr wyf yn rhoi y tai a'r tiroedd a wystlwyd i mi felly gan Rees David, iddi hi a'i hetifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi ac yn gadael i Frances Prichard, fy merch-yng-nghyfraith, y tŷ a'r lle y mae John David Lawrence yn byw, dros ei bywyd; ac ar ol ei marwolaeth, i'r dywededig Roger Manwaring, a'i etifeddion o'i gorph dros byth; ac o ddiffyg y cyfryw etifeddion, i'r ddywededig Elizabeth a'i hetifeddion o'i chorph dros byth; ac yn niffyg y fath etifeddion, i'm hetifeddion cyfreithlon i dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r ddywededig Frances Prichard, y swm o hanner can' punt, sydd gennyf yn wystl ar diroedd Rees Gwyllim ap Rhythrh, yn Llanvair ar y bryn, os rhyddheir y cyfryw diroedd; neu os na ryddheir hwynt, yr wyf yn eu rhoddi iddi hi a'i hetifeddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r ddywededig Frances, yr holl anifeiliaid, ŷd, a gwair ar y tir lle y mae John David Lawrence yn byw, dros ei bywyd yn unig.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi, yn gadael, ac yn trefnu unarddeg o gaeau, neu ddarnau o dir, yn agos i Eglwys Llandingad, yn y swydd a enwyd, y rhai a ddelid yn ddiweddar gan David Rees ap Evan, yr hwn sydd yn awr wedi marw, mor llwyr a chyflawn ym mhob ystyr ag y prynais i hwynt gynt, gan Sir Charles Herbert, Marchog, y dywedig David Rhys ap Evan, Maer Bwrdeisdref Caerfyrddin ar y pryd, a Chynghor Cyffredin y dref ddywededig, a'u canlynyddion dros byth, er codi, a chynnal â'u hardreth blynyddol, Ysgol Rydd yn nhref Llanymddyfri, yn y swydd a nodwyd, dros byth. Yr Athraw bob amser i gael ei enwi a'i bennodi gan Ficeriaid Llangadog, Llandilo Fawr, a Llandingad, yn y swydd ddywededig, a'u dilynyddion dros byth.

Hefyd, yr wyf yn rhoddi i'r rag-ddywededig Gwenllian, fy ngwraig, un hanner o'm holl feddiannau, dodrefn, ŷd, gwair, ac offer, yr wyf fi a'm gwraig yn berchen arnynt, ag nad ydwyf wedi roddi o'r blaen yn yr ewyllys hon.

Hefyd, yr wyf yn enwi, yn pennodi, ac yn awdurdodi Elizabeth Manwaring, yn awr gwraig Thos. Manwaring, Uchelwr, fel unig Weinyddwraig hon fy Ewyllys ddiweddaf, i'r hon yr wyf yn gadael fy holl feddiannau nad wyf yma wedi eu rhoddi eisioes.

Hefyd, yr wyf yn erfyn ac yn dymuno ar fy nau Wir Barchedig Dad yn Nuw, Roger, Arglwydd Esgob Tŷ-Ddewi,* a Morgan, Arglwydd Esgob Llandaf,† i fod yn Olygwyr ar hon fy Ewyllys ddiweddaf, a mynnu ei gweled yn cael ei chyflawni ym mhob peth, yn ol ei hamcan a'i hystyr priodol."

Pa hyd y bu y Ficer byw, ar ol gwneuthur yr Ewyllys hon, nid yw hyspys; ond tebygol iddo farw yn lled fuan, oblegid dywed Anthony Wood i'w farwolaeth ddigwydd oddeutu mis Tachwedd, yn y flwyddyn a nodwyd, yn y 65 mlwydd o'i oedran; a meddyliai ef iddo gael ei gladdu yn Eglwys Llandingad. Peth hynod iawn ym mhen 38 o flynyddoedd wedi marwolaeth y Ficer, fod unrhyw amheuaeth ynghylch y lle y gorweddai ei weddillion; er hynny, dywedir fod gan yr Esgob Bull, (yr hwn oedd yn byw yn Abermarlais,) gymmaint o barch i gymmeriad Mr. Prichard, fel y dymunodd yn ei afiechyd olaf, yn 1709, gael ei gladdu gerllaw iddo; ac mai y rheswm a roddwyd dros beidio cyflawni dymuniad yr Esgob, ydoedd na ellid cael gafael ym medd y Ficer.‡ Nid oes hanes

* Dr. Mainwaring, gwel tudal. 313.

† Y Parch. Morgan Owen, o Lasallt, am yr hwn y crybwyllir yn nhu dalen 314, a dderchafwyd yn Esgob Llandaf, y 12ed o Fawrth, 1639, ac yr oedd yn un o'r Esgobion a wrthdystiasant yn erbyn trawsfeddiant y Senedd, am yr hyn y cafodd ei garcharu yn Nhwr Llundain, a chadwyd ef yno am oddeutu pedwar mis. Ar ol ei ryddhad aeth i Ddeheudir Cymru, lle y dioddefodd yn fawr am ei deyrngarwch a'i fod yn Esgob. Attafaelwyd yn ei balas yn Matherne, yn agos i Gasgwent, ac yn yr holl gyllidon, gan un Edward Green, o Gaerdydd, yr hwn yn 1650. a gafodd dalu £977 2s. am Faenorau Matherne a Llandocha. Llanwyd ei holl fywiolaethau gan bregethwyr henadurol. Ynghanol yr holl ofidiau hyn, enciliodd yr Esgob i fyw ar ei diroedd personol ei hun, sef i Lasallt, ger Llanymddyfri, lle y bu farw ym mis Ionawr, 1644-5, yn uniongyrchol ar ol clywed am dorfynyglu ei brif noddwr, yr Archesgob Laud, yr hyn a gymmerodd le ar y 10fed o'r mis hwnnw. Dywedir ei fod yn y gegin yn Lasallt. pan y cyrhaeddodd y newydd pruddaidd ef, ac iddo eistedd i lawr mewn cadair yn y fan, a marw yn dra buan ar ol hynny. Claddwyd ef ar yr ochr ogleddol i fwrdd y cymmundeb yn Eglwys Myddfai, lle yr oedd, yn ol yr hanes a roddir gan Browne Willis, yn 1718, gofadail allorawl, heb unrhyw argraff arni, ac mewn sefyllfa dra adfeiliedig; goruwch iddi yr oedd ei arfau wedi eu lliwio ar y mur, y rhai hefyd oeddynt wedi eu hanharddu yn fawr; meddianwyd ei diroedd gan ei nai, a thros gweddillion mab i hwn y mae bedd-lech yn llawr canghell ddeheuol Eglwys Myddfai, ar yr hon y dywedir yn gyfeiliornus mai ar y pummed o Fawrth 1644, y bu farw yr Esgob Owen. Gwaddolwyd Ysgol Rydd Caerfyrddin gan yr Esgob Owen, âg ugain punt yn y flwyddyn.

‡ Nid hyn oedd y rheswm gwirioneddol na chladdwyd Esgob Bull yn Llandingad. Dywed Mr. Nelson, yn ei "Hanes Bywyd Esgob Bull," argraphedig yn 1713, iddo ddeisyfu gael ei gladdu *yn* Eglwys plwyf Llanymddyfri, o herwydd bod Mr. Rhys Prichard, gynt Ficer y lle wedi ei gladdu yno. Ond ar daer ddymuniad ei wraig caniattaodd Dr. Bull gael ei gladdu yn Aberhonddu, am ei bod hi yn bwriadu treilio yr elw o'i dyddiau yn y dref honno, lle y gallasai ymweled â'i fedd yn fynych, ac o'r diwedd gael ei chladdu yn yr un man, yr hyn a gymmerodd le ym mis Tachwedd, 1712.

am un traddodiad ynghylch y fan lle y claddwyd ef; ac nid oes unrhyw sail i'r dyb mai yng nghangell Eglwys Llandingad y cafodd ei gladdu, amgen na bod sicrwydd i'w holl hiliogaeth lin-o-lin, o'i orwyr i lawr, gael eu claddu yno, er nad oes un gofadail na charreg i goffa un o honynt. Gall i'w fedd gael ei gelu yn fwriadol, oblegid bod y wlad y pryd hwnnw yn anrhaith i gynddaredd y Gwrthryfelwyr; ac y mae traddodiad i Eglwys Llandingad ei hun gael ei gwneuthur yn lletty i'r milwyr gan ganlynwyr Oliver Cromwell. Ond rhaid gadael i'r darllenydd farnu pa ham na buasid yn datguddio ei fedd ar ol adferiad Charles yr Ail; os na ellir barnu fod y man wedi myned yn hollol anhyspys yn nherfysg yr amseroedd.

Nid oes un sicrwydd pwy ganlynodd Mr. Prichard yn Ficeriaeth Llanymddyfri, o herwydd nad yw coflyfrau y plwyf yr amser hwnnw ar glawr. Gwelir yn Ewyllys y Ficer, bod un Evan Jones, Offeiriad, yn Llanymddyfri ar y pryd hynny, efallai mai Curad oedd, ac na phenodwyd Ficer yn ysbaid yr amser rhwng marwolaeth Mr. Prichard ac adferiad Siarls yr Ail, yn 1660, pan oedd John Griffiths yn Ficer Llanymddyfri, o achos y gwrthryfel; canys oddeutu naw mis cyn marwolaeth Ficer Prichard, syrthiodd tref a sir Gaerfyrddin i law Milwriad Laugharne, llywydd y llu Seneddol. Trowyd Esgob Mainwaring allan o'i Esgobaeth, a gorfu arno fyw ar ychydig o'i feddiannau personol hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymmerodd le yng Nghaerfyrddin, ar yr 16eg o Orphenaf, 1653; ac ni phenodwyd Esgob i'w ganlyn hyd 1660.

Y mae Mr. Walker yn ei lyfr a elwir "Sufferings of the Clergy" yn enwi Ficer Prichard fel un o'r Offeiriaid a ddioddefasant erledigaeth y blaid wrthryfelgar; ond nid oes sail ganddo am hyn, heblaw bod y Ficer yn Ganghellwr Tŷ-Ddewi, ac iddo ddioddef gyda'g eraill o Swyddogion Eglwys Gadeiriol Tŷ-Ddewi.*

Dywedir yn gyffredin, ar awdurdod Mr. Wood, i'r Ficer yn ei fywyd roddi tiroedd o werth ugain punt yn y flwyddyn, at gynnal Ysgol Rad yn Llanymddyfri, a thŷ i'w chadw ynddo; ond ymddengys fod y dywediad hwn yn gyfeiliornus, gan fod yr Ewyllys yn profi y bwriedid i'r tŷ gael ei godi, ac i ardreth y caeau fyned at gynnal yr Ysgol, ar ol marwolaeth y Ficer; er hynny gellir credu fod y rhan arall o'r hanes yn fwy cywir, gan fod Mr. Wood yn ei rhoddi ar awdurdod hyspysiad o Lanymddyfri, gan un a wyddai yn ddiammeu am gyflwr y Sefydliad pan yr oedd yn ysgrifenu: — "Wedi hynny meddiannwyd y tŷ gan bedwar Ysgolfeistr, a thelid yr arian iddynt. O'r diwedd Thomas Mainwaring, mab Roger gynt Esgob Tŷ-Ddewi, yr hwn a briododd Elizabeth, unig ferch Samuel, mab y dywededig Rees Prichard, a gadwodd, fel yr hyspyswyd i mi trwy lythyrau oddi yno, ac a gymmerodd feddiant o'r tiroedd, dan rith talu yr Ysgol-feistr mewn arian; yr hyn mewn canlyniad a wnaed am flwyddyn neu ddwy. Ond cyn pen nemmawr, fel y dywed fy hyspysydd i mi, torrodd yr afon Towy i'r tŷ, a chludodd ef ymaith; a'r tiroedd a berthynent iddo a ddelir yn awr (1682) gan Roger Mainwaring, mab ac etifedd y dywededig Thomas Mainwaring; ac felly y mae yr Ysgol mewn ystyr wedi ei llwyr anghofio."

Dywed traddodiad mai nid pell o'r lle y mae y *National and Infant Schools*, yn awr [1841] yr oedd yr Ysgoldy, yn y man yr oedd yr hen ffordd i Landilo trwy Benygeulan, a'r ffordd i Lanbedr heibio "Y Cerrig," yn cyfarfod â'u gilydd; ac y mae ol Towy yn yr amser gynt yn ddigon amlwg etto gerllaw y fan. Mor gryf oedd rhediad yr afon i'r ffordd hon, fel y bu iddi wedi hynny ddifrodi y rhan helaeth o Ganghell Llandingad; ac fe allai mai hynny a ysgubodd ymaith yn hollol bob arwyddion o gladdfa y Ficer.

Adroddir i bobl Llanymddyfri, drwy gynnorthwy un o foneddigion Glanbrân,

* Yr oedd un o blwyfolion y Ficer, sef Mr. Rhys Prytherch, yn ddyn ieuangc, yn byw ym mhlwyf Llanfairarybryn, ac, ond odid, cafodd argyhoeddiad dan weinidogaeth y Ficer, yr hwn a'i barchai yn fawr, ac yn ol traddodiad, a fedyddiodd un o'i blant. Pa un a bregethai Mr. Prytherch yn Eglwysi Llandingad a Llanfairarybryn yn amser y Gwrthryfel a'r Werin Lywodraeth nis gwyddir; ond ar ol adferiad Brenhin Siarls yr Ail, a sefydlu y gyfraith o unffurfiad, arferai Mr. Prytherch bregethu yn y lle a elwir Castell Craig-yr-wyddon, Rhandirisaf, ym mhlwyf Llanfairarybryn; a rhwng y creigiau a weiir yno ymgynnullai llawer o'r ardal i addoli yn ol trefn yr Annibynwyr; ym mysg y rhai hyn, oedd tylwythau Williams o'r Trallwm a Phenywaun, hynafiaid yr enwog Barch. William Williams o Bantycelyn, Awdwr yr Hymnau, a'r Parchedig William Jenkins o Benywaun a Llwydlo, gorhendad ysgrifenydd y Bywgraphiad hwn. Ar ol caniattad gan y gyfraith i adeiladu Capell Ymneillduwyr yn 1687, gan Brenhin Iago yr Ail, sefydlodd y rhai hyn Capel Cefnarthen, ar un o diroedd teulu Penywaun; ac urddwyd Mr. Prytherch yn Weinidog rheolaidd yno, ar y 25ain o Ionawr, 1688. Yr oedd enwogrwydd Mr. Prytherch mor fawr, fel yr achosai i laweroedd ddyfod o ardal Llanwrtyd i Gastell Craig-yr-wyddon i'w wrando. Pregethai Mr. Prytherch yn fynych yn Llanwrtyd a Throedrhiwdalar, ac yn achlusurol ger llaw y Gelli ac Aberhonddu. Sefydlodd Athrofa yn Ystradwallter, ym mha un dygwyd i fynu rhai o'r Gweinidogion enwoccaf ym mhlith yr Ymneillduwyr yr oes hono yn Nheheubarth Cymru. Yr oedd Mr. Prytherch yn ŵr duwiol, defnyddiol, a chymmeradwy, yn cael ei barchu gan bawb, yn enwedig gan Dr. William Thomas, Esgob Tŷ-Ddewi, yr hwn a gymhellai lawerodd o weithiau i gydffurfio a'r Eglwys Sefydledig. Cyhoeddwyd llyfr bychan, o waith Mr. Prytherch ar ol ei farwolaeth, gan D. Lewis, a Christmas Samuel, a elwir "Gemmeu Doethineb, neu ymadroddion doethion, wedi eu chwilio a'u trefnu mewn ffordd (nid anghynnefin yn hollawl) i ddysgu Wybodaeth i Ddynion, yn gantoedd ac yn ddegau. Hefyd holiadau buddiol, ac ymadroddion rhwng Gweinidog ac amryw Bechaduriaid. Argraphwyd yn y Mwythig, gan Thomas Durston, yn 1714." Ysgrifenwyd Rhagymadrodd i'r Llyfr hwn gan y Parch. William Evans, un o'r Gweinidogion a ddygwyd i fynu gan Mr. Prytherch, yn Ystradwallter, ac a symudodd i Gaerfyrddin, lle y gosododd Athrofa i fynu. Bu Mr. Prichard farw ar y 25ain o Ionawr, 1698, sef dydd Gwyl St. Paul, ar ba wyl y ganed ef, urddwyd ef, ac ymadawodd a'r fuchedd hon.

ymdrechu adennill gwaddol yr Ysgol; ond iddynt fethu llwyddo, oblegid i berthynas gwangcus ac anheilwng y Ficer, gymmeryd mantais o wendid cyfreithiol yr Ewyllys, gan iddi gael ei gwneuthur wedi i'r meddiant gael ei roddi ymaith o'r blaen drwy y Weithred a nodwyd. Darfu i'r rhan fwyaf o diroedd y Ficer, gyda rhai ychwanegiadau, barhau ym meddiant ei hiliogaeth, o'r enwau Mainwaring a Howorth, hyd o fewn cof rhai ag sydd yn fyw yn awr, pryd y gwerthwyd y cwbl wrth orchymmyn Llys yr Arglwydd Canghellwr, er budd gofynwyr E. M. D. Howorth, Ysw.

Er i Mr. Mainwaring, disgynydd anrasol ac annheilwng Ficer Prichard, trwy ei wangcusrwydd, ymddifadu ieuengctyd Llanymddyfri a'i chymmydogaeth o ysgol waddolog, yn nhrefn Rhagluniaeth, torrodd gwawr mwy dymunol, ar ol canrif a hanner o dywyllwch, ar addysgiaeth yr ardal; a hynny trwy sefydliad Ysgolion Cenhedlaethol yn yr hên Gadystorfa *(Depôt)* adfeiledig, yr hwn a adeiladwyd yn yr un man yn gymmwys a'r ysgoldy a sefydlwyd gan yr hên Ficer. A phan gyfodwyd adeilad mwy priodol, trwy haelioni trigolion y dref a'r ardal, er cynnal yr Ysgolion Cenhedlaethol, adgyweiriwyd ac addaswyd yr hên Gadystorfa drachefn, trwy radlonrwydd Thomas Phillips, o Bedryal Brunswic, Llundain, Yswain, at ddysg fwy uchel a chyffredinol: ac ar ddydd Gwyl Dewi, 1848, agorwyd ynddo yr Athrofa Gymreig, dan arolygaeth yr Ysgolhaig mwyaf medrus a doniol hwnnw, yr Hybarch John Williams, Archddiacon Ceredigion, ac yn dra buan cyrhaeddodd y sefydliad y fath enwogrwydd fel ag yr aeth y lle yn llawer rhy gyfyng gan nifer yr ysgolheigion, yr hyn a fu yn foddion i godi yr adeilad ardderchog presennol, yn yr hwn y cyfrenir yr addysg oreu i ugeiniau o fechgyn Cymru, gan y Parch. Wm. Watkins, A.C., a phedwar o feistri medrus eraill. Adeiladwyd yr athrofa Gymreig yn un o'r caeau a grybwyllir yn Ewyllys y Ficer, yr hwn a brynwyd at y diben, ag a roddwyd yn rhodd ac yn rhad gan yr Arglwyddes Llanofer, *(Gwenynen Gwent)* o Llanofer, Swydd Fynwy. Fel hyn, hyd yn nod o'r tiroedd hynny, a neillduwyd at ddibenion addysgiadol gan yr hên Ficer ei hun, adgyfododd y bendithion ag a fuant ar goll am lawer o flynyddoedd, o herwydd annghyfiawnder ei olafiaid; ond cyn i hyn gymmeryd lle, mewn ychydig genhedlaethau ar ol dydd yr hên Ficer, diddymwyd y rhan fwyaf o deulu Mainwaring oddiar wyneb y ddaear, gwerthwyd a gwasgarwyd eu meddiannau, ac oddeutu yr amser y sefydlwyd yr Ysgolion Cenhedlaethol yn yr hên Gadystorfa, gellid gweled Mr. Howorth, y diweddaf o'r teulu, yn rhodio oddeutu heolydd ei dref enedigol, yn grwydryn trist a digalon, gan ymddibynu ar gyfraniadau elusengar eraill am ei gynnaliaeth.

Rai blynyddau ar ol marwolaeth y Ficer, cafodd Mr. Evan Pugh, o'r Prenteg, ym mhlwyf Llandingad, afael mewn llawer o'i Ganau; y rhai a gyhoeddwyd trwy ddiwydrwydd tra chanmoladwy Mr. Stephen Hughes, Gweinidog yr Efengyl yn Abertawy.* Ar ol cyhoeddi Dwy Ran o'r gwaith, cyfyngwyd

* Yr oedd efe yn ddifynydd enwog, ac yn un o brif gymmwynaswyr ei genedl. Ganed ef yng Nghaerfyrddin, yn 1623. Nid ydys yn cael unrhyw grybwyllion am dano cyn 1650, pan oedd wedi ei wneuthur yn Ficer Meidrym, Swydd Gaerfyrddin; ac yr oedd mor defnyddiol fel Gweinidog, fel y gelwid ef yn apostol y rhan hynny o'r wlad. Ym mis Gorphenaf, 1660, yr oedd yn byw yn ei dref enedigol, sef Caerfyrddin, ac y dygwyd cyfraith arno yn Llys Bwrdeisdref Llanymddyfri, o flaen Beili'r dref, Rowland Gwynne, Ysw., o Lanbrân, gan un o'i blwyfolion, William Thomas o Feidrym, i'r diben o'i ddirywio ef i bum' cant o bunnau; efallai, o herwydd na chydffurfiai a'r gwasanaeth yr Eglwys, yr hon a ail-sefydlwyd ar adferiad Brenhin Siarls yr Ail, ym mis Mai flaenorol. Ond ar y 25ain o fis Medi ganlynol, rhyddhawyd ef o herwydd na ddaeth ei gyhuddwr ym mlaen i brofi ei achwyniad. Cyn pen dwy flynedd, sef Awst, 1662, cafodd Mr. Hughes ei dorri allan o Bywoliaeth Meidrym am Anghydffurfiaeth. Ym mhen rhyw amser ar ol hynny, ymbriododd a dynes barchus o Abertawy, yr hon a feddiannai rhyw gymmaint o gyfoeth, yr hyn a gyfranodd tuag at eu cynnaliaeth gysurus, ac at ei ddefnyddioldeb dyfodol ef. Yr oedd yn meddu hyawdledd a dwysder mawr fel pregethwr, ac yr oedd o olygiadau mor gymmedrol, fel ag i'w wneud yn dderbyniol iawn gan y dosparth ystyriol o foneddigion y wlad, a thrwy esgusodiad pa rai pregethai yn fynych yn yr Eglwysi, a phob amser ymgynnullai tyrfaoedd i'w wrando o'r plwyfydd cymmydogaethol. Arferai ddull tarawiadol iawn i ddynoethi natur bechadurus a pheryglus anwybodaeth, ac i ddangos defnyddioldeb, hawddgarwch, ac angenrheidrwydd gwybodaeth. Annogai bennau teuluoedd i ddysgu eu plant a'u gwasanaethwyr, ac i un cymmydog ddysgu y llall, ac ymrwymodd i ddysgu rhai oeddynt dros ddeugain mlwydd oed; er nad oedd ei gyfoeth yn fawr, defnyddiodd ef yn agos oll at ddibenion elusengar. Argraphodd amryw lyfrau yn Gymraeg ar ei draul ei hun, ac yn eu plith, yn 1672, Ganau Rhys Prichard, Ficer Llanymddyfri, y rhai a ddaethant yn rhyfeddol o boblogaidd, ac a fuant yn foddion i gannoedd ddysgu darllen Cymraeg. Cyhoeddodd hefyd gyfieithiadau o amryw o weithiau Baxter, ac enwogion eraill. Yn 1672, dygodd allan argraphiad o'r Testament newydd a'r Psalmau, trwy gynnorthwy Dr. Thomas, Deon Caerwrangon, ac amryw o offeiriaid o Ddeheudir Cymru, cydweithrediad a dylanwad pa rai gyda'r Esgobion Cymreig, er cael argraphiad newydd a chyflawn o'r Bibl Cymraeg, y mae yn erfyn yn y modd mwyaf taer, mewn llythyr cyhoeddedig gyda Chanau Ficer Llanymddyfri, dyddiedig yn Bartholomew Close, Mawrth 20ed, 1671. Ar ol ymdrechiadau diflino am danysgrifiadau, cyhoeddodd argraphiad newydd o'r Bibl Cymraeg yn 1678, gyda'r Llyfr Gweddi Cyffredin a'r Psalmau Cân Y mae'r argraphiad hwn yn hynod am ei gywirdeb argraphyddol, yn rhagori ym mhell ar yr un blaenorol, yn 1654, yr hwn sydd yn dra beius, yn gystal a'r argraphiad wythplyg, yn 1690. Cafodd ei gynnorthwyo yn fawr yn y gorchwyl yma trwy haelioni ac ymdrechion Mr. Gouge. Er i wyth mil o'r Bibl hwn gael eu hargraphu, cafodd y pleser o'u gweled oll wedi eu gwasgaru, a dechreuodd weithio yn ymdrechgar er cael argraphiad newydd drachefn, ond ni bu byw i weled ei orphen; cyhoeddwyd hwn yn 1690, dan arolygiaeth David Jones, gweinidog dysgedig oedd wedi ei droi allan o'r Eglwys. Gorphenodd Stephen Hughes ei yrfa wir ddefnyddiol a duwiol yn 1688.

rhyddid yr argraphwasg, a thrwy gynnorthwy caredig y Dr. William Thomas,* Deon Caerwrangon, y cafodd ganiattad i gyhoeddi y Drydedd Ran; at y rhai yr ychwanegodd Bedwerydd Rhan, pan ail-argraphwyd hwynt yn 1672.

Ymddengys nad yw cynnwysiad "CANWYLL Y CYMRY" ond rhan fechan iawn o Waith yr AWDWR hyglod; oblegid. er bod hanes i ddyn fod am ddau ddiwrnod yn llosgi ei ysgrifeniadau Wrth chwilio ei lyfrgell, yn 1771, cafwyd lliaws mawr o bregethau a chanau rhagorol, &c. Rhoddwyd y rhai hyn i Mr. Rhys Tomas, yr Argraphydd; yr hwn a'u cymmerodd gydag ef i'r Bontfaen; ac ar ei farwolaeth ef, aethant i feddiant y Parchedig John Walters, Llandocha, Awdwr y Geiriadur Saesoneg a Chymraeg; ac wedi iddo yntau a'i fab farw, pan aethom i chwilio am danynt, yn 1833, yr hanes a gawsom, oedd eu bod, ynghylch tri mis cyn hynny, wedi cael eu taflu allan i ochr clawdd, gyda hen bapyrau adfeiliedig eraill, a'u dryllio gan blantach!

O holl bregethau y Ficer, ni chyhoeddodd Rhys Tomas ond un: ac er mwyn rhoddi engraifft o'i ddull o lefaru, rhoir hi yma yn gyflawn, fel diweddglo i'r Hanes fer hon o fywyd un o'r pregethwyr rhagoraf a mwyaf poblogaidd a fagwyd erioed yng Nghymru; a Chyfansoddiadau prydyddol yr hwn, oblegid eu grym, eu heglurdeb, eu llithigrwydd, a'u duwioldeb, ydynt hyd yma wedi aros, yn ddigymmar, ac wedi bod yn ddiddanwch a budd i hen ac ieuangc, cyfoethog a thlawd, drwy yr holl Dywysogaeth.

* Mab ydoedd ef i Mr. John Thomas, genedigol o Gaerfyrddin, yr hwn a sefydlodd ei hun fel Llieinydd yng Nghaerodor. Ar farwolaeth ei dad, dygwyd ef i fynu gan ei dadcu, Mr. William Thomas, Cofrestrydd. *(Recorder)* Caerfyrddin, yr hwn a'i gosododd ef dan addysgiaeth y Parch. Morgan Owen, o Lasallt, Meistr Ysgol Caerfyrddin ar y pryd. Pan yn 16 oed aeth i Goleg St. Ioan, Rhydychain, ac yn 1629, symmudodd oddi yno i Goleg Iesu, lle y dewisiwyd ef yn aelod ac yn athraw. Urddwyd ef yn 1637, a chafodd Ficeriaeth Penbryn, yng Ngheredigion, a gwnaed ef yn gaplan i Iarll Northumberland, yr hwn a'i anrhegodd ef â bywioliaeth Lacharn, yn sir Gaerfyrddin. Yma yr arweiniodd fywyd rhinweddol a theilwng iawn, ond cafodd ei ymddifadu o'i fywioliaeth gan y senedd oddeutu 1644. Yn ystod y Werinlywodraeth, agorodd Mr. Thomas ysgol yn Lacharn, er cynnal ei wraig a theulu lliosog, y rhai yn aml oeddynt mewn eisiau angenrheidiau cyffredin bywyd. Ar adferiad Siarls yr Ail, ail-sefydlwyd ef yn ei fywioliaeth, a gwnaed ef yn Ganor Tŷ-Ddewi; ar ol hynny, cafodd bersoniaeth Llanbedr-Felfre, yn Sir Benfro, a gwnaed ef yn gaplan Dug Caerefrog; yn 1665, yn Ddeon Caerwrangon, pan yr ymadawodd â Lacharn, ac aeth i fyw i Hampton, lle yr arosodd hyd 1677, pan y derchafwyd ef i Esgobaeth Tŷ-Ddewi, ym mha sefyllfa yr oedd yn hynod o dderbyniol gan foneddigion ac offeiriaid yr Esgobaeth, gan ei fod wedi ei ddwyn fynu yn eu plith, ac yn hollol wybodus o'r Gymraeg, yn yr hon y pregethai yn dra mynych yng ngwahanol barthau o'r Esgobaeth. Bu yn offerynol iawn i gynnorthwyo Mr. Stephen Hughes i ddwyn allan argraphiad newydd o'r Bibl Cymraeg, ar ol ei dderchafu i'r gadair Esgobawl, yn gystal ag y bu i ddwyn allan GANWYLL Y CYMRY, pan yn Ddeon Caerwrangon. Ar ol bod yn Nhŷ-Ddewi chwech mlynedd trosglwyddwyd ef i Esgobaeth Caerwrangon, lle y symmudodd yn 1683, ac yno y bu hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymmerodd le Mehefin, 1689. Yr oedd yn hynod am ei dduwioldeb a'i radlonrwydd, a phob amser yn mawr garu lletya ac ymgeleddu y tlawd.

# Pregeth.

**Rhuf. vi. 23.—"Canys cyflog pechod yw marwolaeth."**

Am ddau beth y mae'r testun bychan hwn yn ymorawl, sef yn gyntaf am Bechod; ac yn ail, Y gyflog mae pechod yn ei haeddu.

Yn gyntaf am bechod; Ond rhyw un a ddywed, beth yw pechod? Pechod medd St. Ioan yw torriad y gyfraith, sef torriad cyfraith yr Arglwydd Hollalluog; pwy bynnag a dorro y gyfraith mewn un modd, mewn gair, mewn meddwl, neu mewn gweithred; mae hwnw yn pechu, ac am bechod yn haeddu marwolaeth, Canys cyflog pechod yw marwolaeth; ac er bychaned y byddo pechod yn ein golwg ni, ac er nas gwnelir ond unwaith, a'r unwaith hynny mewn meddwl yn unig; canys, mae y pechod lleiaf yn taro yn erbyn anfeidrol berffeithrwydd, ac yn haeddu cospedigaeth dragywyddol; er na wnelom ond un trosedd yn erbyn y gorchymmyn fel Adda, neu droi ein wynebau yn ol fel gwraig Lot, neu edrych i'r arch, fel y Bethsemesiaid, neu ddarnguddio peth o'n da ein hunain, fel Ananias, neu ddywedyd celwydd fel Saphira, neu edrych ar wraig ein cymmydog i'w chwennych hi, mae hynny yn haeddu marwolaeth, am fod cyfraith Duw yn gwarafun; ac od yw'r fath bechodau a hyn yn haeddu y fath ddialedd, dychymmygwch pa fath ddialedd mae y pechodau mawrion ag y'm ni beunydd yn eu gwneuthur yn haeddu; le yr ydym ni beunydd yn cablu Duw, o led y safn, heb wybod pa ham, na pha achos, ac yn tyngu cig a gwaed yr Arglwydd mawr, a'n prynodd ni â gwaed ei galon: ac yn dibrisio, ac yn dirmygu Efengyl ein Hiachawdwriaeth, ac yn halogi Sabboth sanctaidd yr Arglwydd, ac yn gweithio gwaith y cythraul ar ddydd Crist, yn cashau, yn cenfigennu wrth ein gilydd, fel gelynion, yn putteinio, ac yn halogi ein cyrph yn waeth na'r anifeiliaid direswm, yn enllibio, ac yn slandro ein cymmydogion gwirion, fel pobl a fyddai heb un Duw, nac un gyfraith ganddynt!

O pa fath ddial dychrynllyd ac ofnadwy yr ydym ni gan hynny yn haeddu. A foddodd Duw y byd cyntaf am butteindra yr anniweiriaid? A ddistrywiodd ef Sodom a Gommorrah â thân a brwmstan am bechod a ffieidddra? Ac a ddiangwn ni; onid yw Duw yn Farnwr cyfiawn, ac nid derbyniwr wyneb? A gliria efe yr euog? Ac a arbed efe yr annuwiol? Na wna, mae efe yn rhwym wrth ei swydd a'i alwad i gospi pechod, a dial ar bawb ar sydd heb adnabod Duw, ac ufuddhau i Efengyl Crist; na adewch eich twyllo, er iddo cyd-ddwyn â chwi cyhyd o flynyddau, a disgwyl o ddydd i ddydd i chwi droi ac edifarhau; etto efe a ddaw yn y diwedd â throed o wlan, ac â dwrn o blwm, ac a ddial ar bechaduriaid, hen a newydd, ar unwaith, ac nid ydym wedi oedi yn gwella ein buchedd, ond pentyrru pechod ar bechod, a dial ar ddial, erbyn y dydd digllon; gan hyny edifarhawn am ein pechodau tra mae Duw yn hir-ymaros, gwellhawn ein buchedd tra byddo yr amser yn caniattau: ac i'ch cyffroi i hyn yma, bydded i chwi ystyried y pethau canlynol:—

Yn gyntaf. Nid oes dim mor atgas a phechod; pechod yw'r unig wrthrych y mae holl anfeidrol ddigofaint Duw yn taro arno. Os nad yw Duw yn cashau dim ond pechod yn unig, ar bechod yn unig y mae holl ddigofaint yn edrych ac yn disgyn; ac nid oes pechod na b'o anfeidrol ddigofaint yn edrych arno er bychaned fyddo gennym ni, er na b'o ond bwriad drwg, gair ofer, golwg rhyfygus, chwedl ffol, neu ddymuniad anweddaidd; mae y lleiaf yn haeddu i anfeidrol ddigofaint yr Arglwydd aros arno. O! pa fath fedlemiaid allan o'u cof ydym ni gan hyny! Od awn ni yn ewyllysgar, a thrwy wybod i bechu yn erbyn yr Arglwydd, ac i dynnu digofaint tanllyd y fath Dduw galluog ar ein pennau; yr hwn a ddichon ein chwythu a'i anadl i waelod uffern i frwlian am ein pechodau; canys fe orfydd naill ai i Fab Duw ein rhyddhau ni trwy haeddedigaethau ei waed, ai i ni ein hunain fyned i frwlian yn nhân uffern yn dragywydd o'i blegid.

Yn ail. Nid oes dim mor anhygar a phechod, pe caem ni y wir olwg arno yn ei liw a'i lun ei hun; canys y mae efe yn anhygarach na'r cythraul ei hunan, canys pechod a wnaeth y cythraul mor anhygar ag yw, ac oni buasai pechod, fe fuasai y cythraul casaf mor garuaidd a'r Angel penaf; pechod a drodd yr Angel yn gythraul, ac a'i taflodd ef o'r nefoedd auraidd i uffern danllyd: gan hyny y mae pechod yn anhygarach na'r cythraul; a phe gallai y cythraul fwrw pechod ymaith, ni byddai dim ynddo ag a barai i Dduw ei gashau ef; canys nid yw yn cashau cythraul am ddim ond am bechod; gan hynny mae pechod yn waeth na'r cythraul.

Dadl. Os yw pechod mor gas a hyn, Paham mae'r holl fyd yn ei garu gymmaint? Paham y mae pob math o ddynion yn ei hoffi? Paham mae'r holl fyd yn pedwarcarnu am y cyntaf ar ei ol?

Rheswm. Am fod y diawl yn ei baentio ef â lliwiau teg o'r tu allan, heb adael y bobl ddwlion i weled beth ydyw o'r tu fewn, fel y bydd hen buttain ddigywylydd, yn paentio ei hwyneb ag amryw liwiau hygar o'r tu allan i hudo ffyliaid i ddyfod atti; felly y mae Satan yntau, yn paentio pechod ag amryw liwiau teg, i dwyllo ffyliaid i dramwyo atto; ond y rhai y mae Duw wedi agor eu llygaid, â goleuni ei air, maent hwy yn adnabod ei liw a'i lun, ac yn canfod cyn gased a chyn ffieiddied ydyw o'r tu fewn, ac fel y mae yn lladd â'i golyn sydd yn ei gynffon bob math o ddynion ag a'i harfero; gan hynny y maent hwy

yn cilio rhagddo, megis rhag gwiber, ac yn ei gashau fel y maent yn cashau angau, ac ymladd yn ei erbyn dan faner Crist, megis yn erbyn y gelyn pennaf a feddont, can' gwaeth na'r cythraul ei hun; canys nid yw'r cythraul yn gwneuthur drwg i neb ond trwy bechod: gan hynny y mae'n rhaid bod pechod yn waeth na'r cythraul.

Yn drydydd. Nid oes dim yn llygru, yn anurddo, ac yn anafu dyn fel mae pechod; gan hyny y mae'r Ysgrythyr yn ei gyffelybu ef i bydew, neu lacca brwnt, yn yr hwn y bydd moch yn ymdrybaeddu. 2 Pedr 2. 22. Ac i chwydiad ci, wedi bwytta gormod; gan hyny, y mae'r Yspryd Glân yn cyffelybu pechadur brwnt, neu ddyn a ddychwelo at ei bechod, i fochyn a dry o'r ffynnon i'r domen i ymdrybaeddu; ac i gi a dry at ei chwydfa, i fwytta yr ail waith yr hyn a chwydodd efe o'r blaen. Y mae Iago yn cyffelybu pechod i'r brynti bryntaf yn y byd. Iago 1. 21. Ac felly y dichon, canys y mae pechod yn fryntach nag un brynti bydol; nid yw brynti'r byd yn abl i anurddo yr enaid, canys y mae llygredigaeth pechod yn treiddio trwy'r croen a'r cig a'r esgyrn, ac yn myned i mewn i'r meddwl, a'r gydwybod medd St. Paul. Titus 1. 15. Halogedig yw hyd yn nod eu meddwl a'u cydwybod hwy; canys y mae pechod yn andwyo holl dufewnol bwerau enaid anfarwol dyn. Pa hyd y gallem ni daflu dom i'r awyr fel y gallem ddifwyno'r haul, a'r tom hwnw o hyd yn troi yn ei ol, ac yn disgyn ar ein pennau? Etto wrth daflu ein pechod a'n hynfydrwydd i fynu yn erbyn Duw, yr ydym ni yn tynnu y dialedd i waered ar yr enaid anfarwol, sydd yn annhraethadwy fwy gwerthfawr na mil o fydoedd: nage, y man cyntaf y cyffyrddo pechod ag enaid dyn, y mae ef yn ei anurddo yn y fath fodd ag nad ydyw dyfroedd yr holl fyd yn abl i'w lanhau ef; ac er bod y dwfr diluw dros yr holl fyd, etto nid oedd ef yn abl i olchi un pechod ymaith; ac er myned yr holl fyd yn danllwyth ar y dydd diweddaf, etto ni bydd y tân hwnw, er puro'r nef a'r ddaear, yn abl i buro un dyn annuwiol oddiwrth ei bechod; nage, ni bydd tân uffern, er ei fod ef yn llosgi ddydd a nos, a llosgi yn dragywyddol heb ddiffodd, er hyny, ni bydd efe yn abl puro na thynnu ymaith y pechod lleiaf a fyddo ar yr annuwiol; na dim a ellir ei enwi, ond gwaed yr Oen tirion Iesu Grist, a'r gwaed hwnw yn unig, yn awr yn amser gras, tra fo'm ni yn y bywyd hwn, canys yn awr yw'r amser cymmeradwy, heddyw yw dydd yr iachawdwriaeth, megis y mae yr Ysbryd Glân yn dywedyd, Heddyw os gwrandewch ar ei leferydd ef. Gan hyny cashawn bechod.

Yn bedwarydd. Nid oes dim mor afiachus ac mor llygredig a phechod, y mae yn taflu ei wenwyn marwol ym mhell ac yn agos, y tu ol a'r tu blaen, ac yn llygru pob peth; gan hynny, mae gair Duw yn ei gyffelybu ef i lefen, yr hwn sydd yn suro yr holl does, ac i ganger sydd yn bwytta bob yn ychydig, nes y goresgyno dros yr holl gorph; ac i bla y gwahan-glwyf, yr hwn sy'n anurddo dyn, ei ddillad, ei dŷ, y coed, a'r cerrig, Lef. xiv. ac y mae pechod yn llygru holl eppil dyn o oes i oes hyd ddiwedd y byd. Y pechod cyntaf oedd mor rymus i wenwyno, ac i lygru eneidiau dynion, ac ni adawodd yr un pechod hwnw un enaid o holl eppil Adda heb ei ladd a'i andwyo, ac ni edy ef neb hyd ddiwedd y byd, heb ei lygru a'i ddifwyno; nage, mae y pechod hwnw yn peri i'r nef a'r ddaear duchan dan ei bwysau, a griddfan gan ei wagedd ef.

Os bydd dyn yn hoffi ond un pechod, mae yr un pechod hwnw megis lefen yn suro ac yn anurddo yr holl ddyn, a phob peth sydd yn dyfod oddiwrth ddyn, ei feddyliau, ei ddymuniadau, ei eiriau, ei weithredoedd, ei waith yn prynu, yn gwerthu, yn rhoddi ac yn benthycca, ie, hyd yn nod ei aredig, canys aredig yr annuwiol sydd bechod. Diar xxi. 4. Y mae ei weddi, ei ddarllen, ei wrando, ei gymuno, a'i gwbl oll yn ffieidd-dod.

Yn bummed. Nid oes dim yn waeth ei effaith na phechod; mae ef yn yspeilio dyn o gariad Duw, a'r ffafr honno yn ffynnon o bob cysur a dedwyddwch, ac o'i ran a'i gyfran yn nyoddefaint a gwaed Crist, (diferyn lleiaf o hwn a dal fwy na phleser a hyfrydwch yr holl fyd,) ac o'r holl ddiddanwch a'r dedwyddwch sydd yn yr Yspryd Glân; ac o dadol ragwelediguaeth a chadwraeth y Duw gogoneddus, ac oddiwrth gadwraeth yr angylion sanctaidd, ac o gymdeithas pobl Dduw, ac oddiwrth goron y gogoniant a llawenydd teyrnas nef. Pwy gan hyny a'i gof ganddo, a ddilynai ac a garai bechod, yr hwn sydd yn anurddo, ac yn anafu, ac yn yspeilio dyn yn y modd hwn o'r fath ddoniau ysprydol! Pwy a'i gof ganddo, a fentrai bechu a thorri cyfraith Duw mor rymmus, Duw mor alluog, oblegid beth yw dyn i godi ffon, neu ddyrchafu ei feddwl yn erbyn yr Hollalluog Dduw, yr hwn sydd yn abl ein chwythu ni ar un anadliad i'r tân tragywyddol, neu beri i'r nefoedd wlawio tân am ein pennau, neu i'r ddaear ein llyngcu, gan hollti dan ein traed ni; neu i'n dwylaw ein hunain fod yn llofruddion ac yn fradychwyr arnom; pa wedd gan hyny bydd i abwydyn o ddyn, yr hwn sydd a'i fywyd yn ei ffroenau, ryfygu pechu yn erbyn yr Hollalluog; Yr hyn a'm tywys i at yr ail beth sydd yn y testun, sef marwolaeth.

Cyflog pechod yw marwolaeth.—Yn y rhan hyn o'r testun mae'r Yspryd Glân yn mynegu i ni, pa hur neu gyflog a gawn ni yn y diwedd ar law Duw, am wasanaethu pechod, a thorri sanctaidd gyfraith ein Duw, a byw yn ol ein trachwantau llygredig ein hunain, ac yn dywedyd na chawn ni am ein poen a'n gwasanaeth ond marwolaeth, a'r farwolaeth honno, nid dros dro i'r corph yn y byd hwn, ond marwolaeth dragywyddol i'r corph a'r enaid yn y byd arall; gan hyny y mae ef yn cynghori, ac yn rhybuddio pawb i ymgynnal ac i ymgadw rhag gwasanaethu pechod, o ran na chawn ond marwolaeth dragywyddol am y wasanaeth; canys y mae Duw wedi gwneuthur y fath gyfathrach, neu briodas rhwng pechod a marwolaeth, fel nad oes hun i un dyn bechu, na orffo arno farw o'i blegid; Yn y dydd y bwyttai, gan farw ti fyddi marw.

Pechod hefyd pan orphener, a esgor ar farwolaeth. Gen. 11. 17. Iago 1. 15. Hyn y mae ein llygaid ein hunain yn ei ddangos i ni, o ran ein bod ni yn gweled pawb yn marw yn ol eu gilydd, am fod pawb yn pechu; a hawdd fyddai i ni farw o ran y corph, oni bai gorfod arnom farw yn dragywyddol o ran corph ac enaid; canys fe wnaeth Duw enaid dyn yn anfarwol.

Nid yw yr holl wyr gwaedlyd sydd ar y ddaear, na'r holl gythreuliaid digasog sydd yn uffern yn abl lladd na diddymu enaid dyn; wedi i Dduw greu ef un waith, mae'n rhaid iddo fyw cyhyd ag y bo'r Creawdwr byw, o oes i oes heb ddiwedd byth; etto pechod yn unig sydd yn lladd yn farwol, yr enaid anfarwol mewn anfarwoldeb, ac yn anfarwol mewn eirias marwolaeth! Marw, heb farw byth; a byth mewn glaesion marwolaeth, a byth yn anfarwol! Fe orfydd ar yr enaid oddef gloes angeu, tra b'o Duw yn Dduw, h.y. byth heb ddiwedd! O pa ynfydrwydd gwenwynol gan hynny, yw i ddyn am ronyn o bleser a melusder pechod, yr hwn ni phery yn hwy nag y pery blas y ddiod tra b'o hi yn rhedeg o'r min i'r gwddf, ddodi yr enaid anfarwol hwn i oddef poenau tragywyddol yn nhân uffern, dros amser na dderfydd byth, am bleser cyn fyrred, yr hwn sydd yn darfod yn y weithred? Pa hyd y pery pleser meddwdod, ond hyd y bo'r ddiod yn rhedeg o'r genau i'r gwddf? Pa hyd y pery pleser godineb a phutteindra, ond tra b'o dyn yn y weithred; yna mae'r pleser yn darfod yn ddisymmwth, ond y cywilydd a'r brynti yn aros yn dragywydd.

Pa hyd y parhaodd pleser ac hyfrydwch Adda, oddiwrth y pechod cyntaf? Ond yr ennyd y bu efe yn bwytta afal, neu'r ffrwyth gwaharddedig. Pa hyd y parhaodd gwynfyd Cain wrth ladd Abel ei frawd? Ond tra y bu efe yn taro dyrnod. Pa hyd y parhaodd gwynfyd Gehezi yn derbyn y wobr? Ond yr hyd y bu ef yn arllwys o un llaw i'r llall, o'r cerbyd i'r coffr. Pa hyd y parhaodd gwynfyd Ahab, wrth dreisio Naboth? Ond hyd ag y bu ef yn derbyn y goresgyn annuwiol, a wnaeth iddo golli y frenhiniaeth, ac Ahazia ar ei ol. Gwnewch y pechod a fynnoch, nid yw ei bleser ef yn para ond megis munud awr, ac etto am y pleser darfodedig hwn, y mae'r dyn yn taflu ei enaid a'i gorph i boenau tragywyddol, heb drangc na gorphen, tra Duw yn Dduw! Pwy ond dyn maes o'i gof, am lwyaid o fêl, a yfai gerwynaid o fustl? Ac am awr o bleser, a oddefai oes o boen? O pa fath beth anhyfryd yw pechod, sydd yn peri i'r Hollalluog Dduw megis i flino dano gan ei bwysau a'i lygredigaeth, fel y dywed Esaiah 1. 14.

Yn ail. Pa fath beth anhyfryd yw pechod, pan y parodd ef i Dduw yr holl drugaredd ddigio mor danllyd ag y taflodd gynnifer myrddiwn o angylion, i frwlian mewn poenau, a allasai fod yn ei glodfori a'i foliannu yn y nef.

Yn drydydd. Gwelwn pa fath beth drwg yw pechod, pan y parodd ef i'r grasol Dad daflu holl feibion dynion o'i ffafr, am bechod Adda a'i eppil, a pharottoi iddynt gymmaint o flinderau ar y ddaear, a chymmaint o boenau yn uffern o'i herwydd. Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod, ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, am bechu o bawb.

Yn ddiweddaf. Gwelwn pa fath beth cas yw pechod, pan nad oedd dim yn yr holl fyd a allai ei ddileu, a'i dynnu ymaith, ond gwaed calon unig-anedig Fab Duw ei hunan, a hwnw wedi ei dynnu allan â phig gwaywffon, pan oedd Ceidwad y byd yn hongian ar groesbren wrth hoelion, nes i'r holl greadigaeth synnu a brawychu; yr haul a dywyllodd, y ddaear a grynodd, y creigiau a holltodd, y beddau a agorodd, llen y deml a rwygodd, o echryd gweled mab Duw yn dioddef y fath gystudd am bechod dyn; etto rhaid oedd naill i Fab Duw farw, neu i bob dyn byw farw yn dragywydd. Meddwl gan hynny, cyn pechu, beth yw'r pris orfu ef ei dalu, cyn maddeu dy bechod; pe canfyddai dyn pa mor gas yw pechod ger bron Duw, a pha faint yw'r draul a'r barnedigaethau trymion y mae pechod yn ei haeddu, a chymmaint yw'r poenau a'r arteithiau sydd yn uffern ar ei fedr, ni welai ddim yn rhy drwm iddo wneuthur a'i gyflawni, er ei allu, trwy iddo gael rhyddhad oddiwrth bechod a'i wneuthur yn gyfranog o drugaredd Duw yng Nghrist; ac ni cheidw Crist un dyn oddiwrth y farwolaeth dragywyddol hon, ond y cyfryw un a edifarhao am ei bechod o ddyfnder ei galon; ac a gredo yn ffyddlon ynddo ef trwy fywiol ffydd, a thrwy y ffydd honno a dynno ras oddiwrth Grist, i ladd, ac i groeshoelio pechod, ac i adnewyddu ei fuchedd, fel y gallo o hynny allan ymwrthod a phechod, ac ymddwyn fel y gweddai i un o blant Duw; canys y mae Crist ei hun yn dywedyd, Onid edifarhewch, fe'ch cyfrgollir oll. Luc 13. 3. Fel pe dywedai, Er i mi farw dros bechodau'r byd, etto ni bydd i un dyn ag a aroso yn ei bechod, ac heb edifarhau, ran na chyfran o'm haeddedigaethau; ond yn unig y sawl a edifarhao ac a gredo trwy fywiol ffydd; Canys yr hwn nid yw yn credu ym Mab Duw, ni wel fywyd, canys mae digofaint Duw yn aros arno ef. Ioan 3. 36. Dau beth gan hynny medd yr Efengyl, a orfydd ar bob un ei wneuthur, ag a edrycho am gael ei ryddhau oddiwrth bechod, a'r dialedd y mae pechod yn ei haeddu.

Yn gyntaf. Edifarhau am bechod. Ac yn ail. Credu yng Nghrist. O bydd neb gan hynny a fyn ei ryddhau oddiwrth y farwolaeth hon, fe fyddai yn dda i chwi ddilyn y gwersi hyn, y rhai y mae Duw yn ei ofyn ar law pawb, ag a edrycho am fod yn gadwedig; nid ydynt ond ysgafn ac ychydig o rifedi, a'r sawl a'i gwnel, a gaiff weled eu bod hwy yn boddloni Duw, trwy Grist, a bod Duw yng Nghrist yn barod i faddeu eu pechodau, a'u derbyn i'w nodded er mwyn ei wir Anwylyd.

Y cyntaf peth a ddylai dynion ddysgu a deall, yw fod pechod yn haeddu anfeidrol ddigofaint Duw, a damnedigaeth dragywyddol, Canys cyflog pechod yw marwolaeth, a'r

rhai hyn a ânt i gospedigaeth dragywyddol. Mat. 25. 46.

Yn ail. Nad oes dim a ddichon ryddhau dyn oddiwrth ddigofaint Duw a damnedigaeth, ond Iesu Grist, Canys nid oes iachawdwriaeth mewn neb arall.

Yn drydydd. Nid yw Crist yn rhyddhau neb oddiwrth eu pechodau, ond y sawl a fyddo yn wir edifeiriol, ac a gredo ynddo trwy fywiol ffydd; medd ef ei hun, Edifarhewch a chredwch yr Efengyl; ac oni chredwch mai myfi yw efe, fe'ch cyfrgollir yn eich pechodau. Yn awr, y modd y gallom edifarhau a chredu, mae yn rhaid i ni ddeall tri pheth oblegid Crist.

Yn gyntaf. Fod Crist wedi gwneuthur iawn a chyflawn daliad i'w Dad nefol, dros bechodau yr holl fyd, trwy offrwm ei hun yn aberth i Dduw, o arogl peraidd, Canys efe yw Oen Duw, sy'n tynu ymaith bechodau y byd. Ioan 1. 29. Eph. 5. 2.

Yn ail. Rhaid i ni ddeall fod Duw yn foddlon i iawn Crist drosom, ac nid yw ef yn edrych, nac yn gofyn am un boddlondeb amgen, Canys efe yw'r iawn dros ein pechodau ni. Hyn a dystiolaethodd Duw o'r nefoedd, pan y dywed ef, Hwn yw fy anwyl Fab yn yr hwn y'm boddlonwyd; a hyn a erfyn arnoch i heddychu â Duw yng Nghrist; am hynny yr ydym ni yn genhadau dros Grist, (ebe yr Apostol) megis pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni, yr ydym yn erfyn dros Grist, cymmodir chwi â Duw. Canys yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bech-aberth drosom ni, fel y gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef.

Yn drydydd. Mae yn rhaid i ni ddeall y gallwn ni yn gystal ag eraill, fod yn gadwedig trwy Grist, os arferwn wneuthur y cyfryw bethau ag y mae efe yn erchi i ni, ac o hyn y gallwn ni fod yn sicr ddigon, o ran bod yr Efengyl yn dangos i Grist dynu ymaith bechodau y byd, a bod Duw yn cynnyg heddwch a chymmod yng Nghrist i bob creadur o ddyn; Ac os pecha neb, fod i ni ddadleuwr gyda'r Tad, sef Iesu Grist y cyfiawn, ac efe yw r aberth dros ein pechodau ni, ac nid dros ein pechodau ni yn unig, ond dros bechodau'r byd. Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffel o hono fywyd tragywyddol. Oblegid ni anfonodd Duw ei Fab i'r byd i ddamnio'r byd, ond fel yr achubid y byd trwyddo ef. Ac a wnaethpwyd yn gydammod pobloedd, ac yn iachawdwriaeth hyd eithafoedd y ddaear.

Y tri pheth hyn sydd raid i ni graffu arnynt. Yn gyntaf, I Grist, meddaf, wneuthur cyflawn daliad dros ein pechodau. Yn ail, A bod Duw yn foddlon i'r taliad hwnw. Ac yn drydydd, Y gallwn ni fod yn gadwedig trwy Grist, os gnawn ni yr hyn y mae efe yn ei orchymmyn. Gan ei wneuthur ef yn Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo. Gwyn eu byd y rhai sydd yn gwneuthur ei orchymmyn ef, fel y byddo iddynt fraint ym Mhren y Bywyd.

1. Rhaid ymadael a phechod. Y neb a guddio ei bechod ni lwydda, ond y neb a'i haddefo, ac a'i gadawo, a gaiff drugaredd. Diar. 28. 13.

2. Rhaid troi o'r ffordd ddrwg, a dychwelyd. Dychwelwch, dychwelwch, oddi wrth eich ffyrdd drygionus, paham y byddwch feirw?

3. Rhaid bwrw ymaith weithredoedd y tywyllwch. Bwriwn oddi wrthym weithredoedd y tywyllwch, a gwisgwn arfau y goleuni; a rhodiwn yn onest megis wrth liw dydd, nid mewn cynnen a chenfigen; eithr gwisgwn am danom yr Arglwydd Iesu Grist, ac na wnawn rhagddarbod dros y cnawd er mwyn cyflawni ei chwantau ef.

4. Rhaid congero gelynion yr enaid. I'r hwn sydd yn gorchfygu, rhoddaf iddo ef eistedd gyda mi ar fy ngorseddfainge; megis y gorchfygais innau, ac yr eisteddais gyda'm Tad ar ei orseddfainge ef. Sefwch gan hyny, wedi amgylch wregysu eich lwynau a gwirionedd, a dwyfronneg cyfiawnder, ac am eich traed esgidiau parattoad Efengyl tangnefedd, a tharian y ffydd, a helm yr iachawdwriaeth, a chleddyf yr Yspryd, yr hwn yw gair Duw, gan weddio bob amser a phob rhyw weddi a deisyfiad yn yr Ysbryd Glân; ac i'ch cynnorthwyo i hyn yma, cewch ras ein Arglwydd Iesu Grist, nawdd Duw, a chyfathrach yr Yspryd Glân. Amen.

# DANGOSEG O DDECHRE'R CANAU.

# DANGOSEG O'R TESTUNAU.

HUGHES AND SON, WREXHAM.

